# LLAWLYFR MOLIANT:

CASGLIAD O

## EMYNAU A THONAU

AT WASANAETH

## Cynulleidfaoedd y Bedyddwyr;

DETHOLEDIG GAN

## GYMANFA ARFON

Y TONAU WEDI EU TREFNU A'U CYNGHANEDDU GAN

JOHN HENRY ROBERTS,
MUS. BAC. CANTAB.
(PENCERDD GWYNEDD).

---

*ARGRAFFIAD NEWYDD, WEDI EI AILDREFNU A'I HELAETHU*

---

Yr Elw i'w ddefnyddio gan Gynadledd y Gymanfa at wasanaeth yr Enwad.

---

LLUNDAIN
ARGRAFFWYD GAN NOVELLO, EWER & CO.,
1, BERNERS STREET, W.

1890.

# CYNWYSIAD.

# LLAWLYFR MOLIANT.

---

Argraffiad Newydd, wedi ei aildrefnu a'i helaethu.

PRISIAU :—Yn y SOL-FFA, mewn llian 1*s*. 6*c*.; mewn lledr, gydag ymylwaith aur, 2*s*. 6*c*., cludiad un copi, 4½*c*.

HEN NODIANT :—Mewn llian, 2*s*.; mewn lledr, gydag ymylwaith aur, 3*s*., cludiad un copi, 4½*c*.

ARGRAFFIAD BRAS O'R EMYNAU YN UNIG :—Mewn llian, 3*s*. 6*c*.; mewn lledr, gydag ymylwaith aur, 5*s*. 6*c*., cludiad un copi, 6*c*.

Rhoddir 13 yn y dwsin, a thelir cludiad gwerth punt ac uchod gyda'r Trën i unrhyw fan; ond rhaid cael blaendal gyda phob archeb yn ddieithriad.

Enwer yr Orsaf i ba un y bydd y sypyn i gael ei gyfeirio.

Pob archebion a thaliadau i'w hanfon i Ysgrifenydd y Pwyllgor—

MR. R. MEIGANT JONES,
"Llawlyfr Moliant" Office,
Carnarvon.

# RHAGDRAITH.

WRTH anfon allan argraffiad newydd o Lawlyfr Moliant, wedi ei aildrefnu a'i helaethu, y mae yn briodol i ni wneyd ychydig sylwadau eglurhaol.

Yn ngwyneb y derbyniad croesawus a roddwyd i'r gwaith yn ei ddiwyg cyntaf, a bod rhai yn teimlo nad oedd yn ddigon helaeth i ateb anghenion y cynulleidfaoedd, anfonasom gylchlythyrau i'r holl Eglwysi, i ofyn, yn mhlith pethau eraill, a oedd angen, yn ol eu barn hwy, am helaethu Llawlyfr Moliant; ac os barnent fod, pa un a'i ei helaethu trwy atodiad neu trwy ei aildrefnu a'i wneyd yn un cyfanwaith fyddai oreu.

Derbyniasom tuag wyth gant o atebion, ac yr oeddynt oll, gydag ychydig eithriadau, yn dyweyd fod angen am helaethu y llyfr; ac mai ei wneyd yn un cyfanwaith fyddai fwyaf dymunol. Ac mewn atebiad i gais neillduol oedd yn y cylchlythyrau, derbyniasom doraeth mawr o Emynau a Thônau i'w gosod yn yr argraffiad newydd, yn nghyda lluaws o awgrymiadau gwerthfawr; a chymerwn y cyfleustra hwn i ddychwelyd ein diolchgarwch mwyaf gwresog i bawb a roddasant i ni unrhyw gynorthwy yn ein hymgymeriad pwysig.

Diau bod y naw mlynedd, er pan mae y Llawlyfr Moliant ar y maes, wedi gweled graddau helaeth o welliant yn ngalluoedd a chwaeth y byd crefyddol gyda golwg ar ganiadaeth y Cysegr, ac yr ydym yn gweled yn llwyddiant anghymarol y llyfr reswm digonol dros roddi arno bob llafur o fewn ein gallu er ei wneyd mor eang a gorphenedig ag oedd yn ddichonadwy.

Gwelir bod y gwaith wedi chwyddo llawer o ran ei gynwysiad. Tra yr oedd ar y cyntaf yn cynwys 422 o Emynau, a 125 o Dônau, ac yn cael ei werthu am Swllt; y mae yn awr yn cynwys 1082 o Emynau, a 294 o Dônau, ond eto yn cael ei werthu am Ddeunaw Ceiniog, er mwyn iddo barhau i gyrhaedd dwylaw pawb, a meithrin canu cyffredinol yn ein cynulleidfaoedd.

Am y cynwysiad, gallwn ddyweyd i ni ddethol, yn ol ein gallu, y goreuon —yn Emynau a Thônau—o holl lenyddiaeth y byd crefyddol.

Dosbarthwyd y mesurau ar yr egwyddor gorfanol, trwy eu cyfleu oll ar eu corfanau priodol, ac yn ol hyd y llinellau, gan ddechreu gyda'r byraf ac esgyn at yr hiraf. Fel graddau o eithriad i'r rheol hon gellir ystyried y pedwar mesur a ddygant enwau rhywogaethol, sef y Byr, y Cyffredin, y Salm, a'r Hir. Y mae dosbarthu Emynau ar yr egwyddor gorfanol yn beth newydd yn ein Emynyddiaeth, ond nid oes egwyddor arall ar ba un y gellir eu dosbarthu gyda chysondeb, a chredwn y cymeradwya y dosbarthiad hwn ei hun i farn y cyhoedd. Ceir yr Emynau, yn ol ansawdd eu mydryddiaeth, yn dri dosbarth mawr ar y tri chorfan arferedig, sef y Gwastad, y Rhywiog, a'r Cloff. Ar y Corfan Gwastad, ceir 167 o Dônau, ar y Corfan Rhywiog 95, ar y Corfan Cloff 18, ac ar y Corfanau Cymysg 14. Y rheol a ddilynwyd ydoedd dethol yr Emynau goreu a ellid gael yn yr iaith, ar bob pwnc ymarferol, a'r nifer

mwyaf ar y mesurau mwyaf arferedig, y rhai hefyd ydynt y mwyaf cyfoethog o farddoniaeth ganadwy; ac wrth ddethol y Tônau, ymdrechwyd darparu ar gyfer ansoddau arbenig yr amrywiol Emynau, ac hefyd ar gyfer amrywiaeth galluoedd a chwaeth y cynulleidfaoedd. Gwelir yma ddosbarth o Dônau neillduol, y rhai ydynt yn dra phoblogaidd yn mysg cenhedloedd eraill, ond a ymddangosant yn awr am y waith gyntaf wedi eu priodi â geiriau Cymreig. Ar ddymuniad lled gyffredinol rhoddwyd i mewn hefyd nifer o hen Dônau Cymreig poblogaidd.

Er cynorthwyo y cynulleidfaoedd i lywodraethu grym y llais, nodwyd yr Emynau ag Arwyddion Mynegiant. Bwriedir yr arwyddion hyn, fel y nodau cerddorol, i fod yn gynorthwy i ganu mawl gyda theimlad a phwyslais gweddus i'r geiriau, ac hefyd i arbed i'r arweinydd a phawb arall wneuthur unrhyw ystum neu ymddangosiad anghydweddol â'r symledd a'r duwiolfrydedd a hawlir gan yr addoliad Dwyfol.

Ar ddechreu pob Tôn gwelir ffugyrau y *Metronome* yn dynodi amser y gerddoriaeth. Er fod yr offeryn hwn dros gant oed, dyma y waith gyntaf iddo gael ei ddwyn i wasanaeth mewn llyfr Tônau Cynulleidfaol Cymreig, a dyma y casgliad Cymreig cyntaf yn mha un y mae yr Emynau yn dwyn Arwyddion Mynegiant.

Gan y bydd lluaws o'r Tônau hyn, o angenrheidrwydd, yn ddieithr i'r cynulleidfaoedd am beth amser, da fyddai bod dealldwriaeth rhwng yr arweinydd canu a'r pregethwr, neu y sawl a fyddo yn rhoddi yr Emynau allan, yn nghylch yr Emynau a'r Tônau i'w canu yn mhob oedfa; ac am y Tônau newyddion, gofaler bod y gynulleidfa wedi eu dysgu cyn eu dwyn i'r gwasanaeth cyhoeddus.

Yn y gwasanaeth cyhoeddus, noder yn gyntaf rif yr Emyn, ac enw y Dôn, os myner; yna darllener y penillion a fwriedir eu canu; lle yr arferir offeryn cerdd, chwareuer y ddwy linell gyntaf yn unig; cyfoded y gynulleidfa, darllener llinellau cyntaf yr Emyn; yna cychwyner trwy gyd-daro y nodyn cyntaf, a chaner yn gerddgar a soniarus: caner â'r ysbryd a chaner â'r deall hefyd. Dymunwn gydnabod gyda diolchgarwch diffuant y boneddigesau a'r boneddigion a roddasant i ni, mor ewyllysgar, bob cynorthwy gyda'r gwaith pwysig hwn; rhai trwy ganiatau i ni ddefnyddio Emynau a Thônau o'u heiddo, ac eraill trwy gyfansoddi Emynau a Thônau ar ein cais, enwau pa rai a welir wrth y cynyrchion a berthynant iddynt.

Fel perchenogion Emynau, diolchwn i Mrs. Richards, Porthmadog, am eiddo y Parch. William Ambrose (Emrys); i Mr. Hugh Humphreys, Caernarfon, am eiddo Cynddelw; i Mr. William Roberts (Gwilym Cowlyd), am eiddo Ieuan Glan Geirionydd; ac i Mr. Ebenezer Rees, Liverpool, a Mr. William Hughes, Dolgellau, am Emynau o waith Dr. William Rees (Gwilym Hiraethog).

Am Dônau, cydnabyddwn yn gyntaf ei Grasusaf Fawrhydi y Frenhines, am ganiatad i argraffu y Dôn "Gotha," a gyfansoddodd ei Uchelder Brenhinol, y diweddar Dywysog Cydweddog; hefyd Mrs. Roberts, gweddw y diweddar Ieuan Gwyllt am amryw Dônau o eiddo ei phriod; y Meistri Novello, Ewer a'u Cwmni, am ganiatad i ddefnyddio amryw Dônau o'u heiddo hwy; a'r Meistri Nisbet a'u Cwmni am eiddo Syr Henry Smart; ac i Syr George J. Elvey, a Wesley, am y Tônau a welir ar eu henwau hwythau. Yr ydym dan rwymau neillduol i gydnabod lluaws mawr o gerddorion Cymreig am Dônau yn nghyda llawer o awgrymiadau gwerthfawr, yn arbenig y rhai canlynol, y Parch. William Harris, Mr. David Lewis, Mr. William Owen, Prysgol; Mr.

D. Emlyn Evans, Alaw Ddu; Mr. Thomas Price, Mr. William Davies, Oxford; Mr. R. S. Hughes, Mr. H. Jones, Mr. W. S. Samuel, Mr. Phillip Morgan, Alaw Afan; a Mr. J. H. Roberts, Mus. Bac. Priodol hysbysu yma fod Tônau Mr. W. Owen, yn ymddangos yn y ffurf y maent ar ei ddymuniad penodol ef ei hunan.

Os ydym wedi defnyddio eiddo neb heb ganiatad y perchenogion, neu heb gydnabod yr awdwyr, erfyniwn ar i'r cyfryw dderbyn ein hesgusawd, gan mai mewn amryfusedd y gwnaed hyny.

Yn yr argraffiad hwn fel y rhai blaenorol, mae y Pwyllgor yn dra dyledus i Mr. J. H. Roberts, Mus. Bac., am ei lafur fel Golygydd. Hyderir y bydd ei waith o nodi y Tônau â ffugyrau y *Metronome*, a'r Emynau ag arwyddion Mynegiant yn rhoddi boddlonrwydd cyffredinol, ac yn profi yn wasanaeth gwerthfawr i'r cynulleidfaoedd.

Priodol yw hysbysu bod yr holl Emynau newyddion, y Tônau newyddion, a'r Cynghaneddion newyddion, a welir yn y gwaith hwn, yn eiddo y cyhoeddwyr, oddiwrth y rhai y bydd yn ofynol cael caniatad cyn y gellir ailargraffu dim o honynt. Y mae y cyhoeddwyr hefyd wedi prynu dau lyfr Emynau y Parch Robert Jones, Llanllyfni, sef "Casgliad o Emynau at wasanaeth, &c., 1851," a "Llais y Durtur"; felly y maent yn meddu hawl i'r cwbl ag oedd yn eiddo iddo ef yn y gweithiau uchod.

Gyda hyn o nodiadau yr ydym yn anfon allan y Llawlyfr Moliant yn ei ddiwyg newydd, gan gwbl gredu y llwydda yr Arglwydd ei genadwri i fod yn fendith i filoedd, ac yn ogoniant i'w enw mawr. Amen.

PWYLLGOR CYMANFA BEDYDDWYR ARFON.

CAERNARFON, *Ionawr*, 1890.

---

# RHAGYMADRODD I'R ARGRAFFIAD CYNTAF.

YR amcan mewn golwg wrth gyhoeddi y llyfr hwn oedd rhoddi yn nwylaw ein cynulleidfaoedd gasgliad o'r Emynau a'r Tonau goreu a arferir yn Nghymru; a hyderwn fod ei ansawdd a'i bris y fath ag a sicrhâ ei lwyddiant.

Wrth ei gyflwyno i'r Eglwysi, anturiwn roddi awgrym yn nghylch y ffordd y carem iddo gael ei ddefnyddio yn y gynulleidfa. Bydded i'r pregethwr, neu pwy bynag fyddo yn rhoddi yr Emyn allan, nodi ei rif: yna darllened y nifer o benillion a fwriada gael eu canu, wedi hyny rhodded hwynt allan bob yn benill yn llawn, a chaner y penill trwyddo. Tybiwn y bydd y drefn hon yn fanteisiol i'r gynulleidfa, ac yn foddion i enyn ysbryd mawl.

Cymerodd y Pwyllgor eu rhyddid i wneyd ychydig gyfnewidiadau yn ngeiriadaeth rhai o'r Emynau, pan y byddai y corfan, yr odl, neu burdeb iaith yn galw am hyny.

Mae nifer mawr o'r Emynau a'r Alawon yn feddiant y cyhoedd, a'r rhai nad ydynt felly, yr ydym naill ai wedi eu prynu neu wedi cael caniatâd eu hawdwyr i'w defnyddio, am yr hyn y dychwelwn iddynt ein diolchgarwch mwyaf diffuant. Os ydym wedi defnyddio eiddo personol, heb ganiatâd yr awdwr, dymunem i'r cyfryw dderbyn yn garedig ein hesgusawd; gan mai mewn amryfusedd y gwnaed hyny, a bydd yn dda genym gywiro unrhyw wall yn y cyfeiriad hwn yn yr argraffiad nesaf, os gelwir ein sylw ato.

Sicrhaodd y Pwyllgor wasanaeth Mr. J. H. Roberts, A.R.A. (Pencerdd Gwynedd), i drefnu y cynghaneddion, ac y mae ei enw ef yn ddigon o wystl am deilyngdod y rhan hono o'r gwaith, eithr y Pwyllgor sydd yn gyfrifol am y detholiad, ac eiddo y Pwyllgor yw yr holl gynghaneddion a welir yn y llyfr, gydag, ychydig eithriadau, am y rhai y dymunwn gyflwyno ein diolchgarwch i Meistri Hughes and Son, Wrexham, am Rhif. 5, 72, 74; Mr. W. Hughes, Dolgelley; Mrs. David Roberts, Alawydd; a Mr. Monk, am y rhai a ddefnyddiwyd o'u heiddo hwythau.

Gyda hyn o eiriau cyflwynwn ein llafur i'r Eglwysi, gan ddeisyf arno fendith "yr Hwn sydd yn cyfaneddu yn moliant Israel."

Y PWYLLGOR.

Caernarfon, *Gor.* 10*fed*, 1880

---

# YR AIL ARGRAFFIAD.

Edrychai y Pwyllgor ar y ffaith ddihafal bod yr Argraffiad Cyntaf o Bum Mil o'r llyfr hwn wedi ei werthu mewn llai na mis, gydag archebion am rai miloedd yn ychwanegol wedi dyfod i law, yn brawf eglur eu bod wedi llwyddo i gyfarfod ag angen a chwaeth yr Eglwysi, ac yn alwad wresog arnynt i ddwyn allan Ail Argraffiad; yr hyn a wnawd mewn gwychach diwyg, gan ystrydebu yr holl waith.

Wrth ddarparu yr Ail Argraffiad, gwelwyd rhai pethau ag y buasai yn ddymunol eu cyfnewid. Er engraifft, buasai yn ddymunol gosod i mewn Emynau mwy cydnaws ag ysbryd y Dôn a elwir "Hiraeth"; ond wrth ystyried yr anhwylusdod a fuasai unrhyw gyfnewidiad felly yn achosi, penderfynwyd mai gwell oedd gadael y gwaith fel yr oedd; gan ymfoddloni ar yn unig gywiro yr ychydig wallau oedd yn yr Argraffiad Cyntaf, gosod enwau yr awdwyr wrth yr Emynau, a gwneyd Mynegai cyflawn o'r llinell gyntaf o bob penill, yr hyn, yn ddiau a fydd yn llawer o hwylusdod i'r cynulleidfaoedd.

Wrth ail anfon allan hyn o lafur cariad, parhawn i ddeisyf arno fendith yr Arglwydd.

Y PWYLLGOR.

Caernarfon, *Hyd.* 15, 1880

# Y PUMED ARGRAFFIAD.

MAE y ffaith ein bod wedi cyhoeddi 30,000 o'r gwaith hwn, mewn llai na dwy flynedd o amser, yn brawf diymwad ei fod i fesur helaeth yn cyfarfod âg angen ein cynulleidfaoedd. Tybia rhai ei fod yn rhy fychan i fod o wasanaeth parhaus i ganiadaeth y cysegr; ond dylid cofio mai un o brif amcanion y Pwyllgor oedd darparu llyfr a fuasai yn debyg o fyned i ddwylaw pawb, a thrwy hyny, meithrin canu cyffredinol yn ein cynulleidfaoedd; er mwyn cyrhaedd yr amcan hwn, yr oedd yn rhaid cadw y pris yn isel. Heblaw hyny, y mae ffeithiau beunyddiol yn profi y bydd yn rhaid ychwanegu Attodiad, mewn amser, at bob llyfr o Emynau, a Thônau cynulleidfaol, gan nad beth fydd ei faint ar y cychwyn, felly mantais yn y diwedd fydd bod wedi dechreu gyda llyfr gweddol fychan. Mae y Pwyllgor yn talu sylw manwl a diolchgar i bob gwelliantau sydd yn cael eu hawgrymu, ond yn ngwyneb fod y llyfr eto yn newydd, a chynifer o hono wedi ei wasgaru yn ei ffurf bresenol, credwn mai ei adael fel y mae yw y goreu am beth amser; eithr pan ddaw yr adeg briodol, ni arbedir na thraul na thrafferth i gyfaddasu y gwaith i gyfarfod angenion amrywiol ein caniadaeth grefyddol.

Y PWYLLGOR.

CAERNARFON, *Mai*, 1882.

# YR ARWYDDION MYNEGIANT A'U HYSTYR.

*P.* (tyner), *mp.* (lled dyner), *pp.* (tra thyner), *f.* (cryf), *mf* (lled gryf), *ff* (tra chryf), *dim.* (gwanhau yn raddol), *cres.* (cryfhau yn raddol), *rall* (arafu yn raddol).

D.S.—Y mae effaith pob arwyddnod yn parhau nes i'w le gael ei gymeryd gan arwyddnod gwahanol.

Gofaler rhag anadlu ar ganol gair na brawddeg; i'r amcan hwnw cymerer mantais ar yr atalnodau.

Na aroser ar ddiwedd y llinellau yn hwy nag amser priodol y nodyn a ddefnyddir; eithr pan na byddo i sain olaf Tôn ond un curiad, gellir yn y fan hono ddal yn hwy na'r amser priodol, er rhoi gorpheniad boddhaol i'r penill.

# YR EMYNAU YN OL EU MATERION:

# GYDA'R LLINELL GYNTAF O BOB EMYN.

(*Gweler y Mynegai i'r llinellau cyntaf o'r Penillion ar y diwedd.*)

---

### Am yr Ysgrythyrau.



### Am Dduw mewn Creadigaeth, Rhagluniaeth, a Gras.



### Am yr Arglwydd Iesu.

#### *Ei Ymgnawdoliaeth a'i Enedigaeth.*



#### *Ei Enwau a'i Deitlau.*

*Ei Gariad a'i Ras.*



*Ei Ddyoddefaint, ei farw, a'i Iawn.*

*Ei Llwyddiant.*



AM YR EGLWYS.



ADDOLIAD CYHOEDDUS.



DYDD YR ARGLWYDD.



BEDYDD A DILYN IESU.

Emyn



### Swper yr Arglwydd.



### Diolchgarwch am y Cynauaf.



### Am y Saint.

*Eu Hedifeirwch, a'u llef am Faddeuant.*



Emyn



*Eu Gweddïau.*



*Gwir Grefydd eu helw penaf.*



*Eu sanctaidd Ddymuniadau.*



Emyn



*Eu Pererindod a'u Harweiniad.*

*Eu Ffydd, en Gobaith, a'u Gwroldeb.*



*Eu Cysuron mewn Gorthrymderau.*





*Eu Marwolaeth.*





Yr Adgyfodiad a'r Farn Ddiweddaf.



Am y Nefoedd.

# ENGLISH HYMNS.

# MYNEGAI I'R TONAU.



B

Rhif 1. AWSTIN. M.B.

*Doh* G. M. 66. J. S. BACH, 1685–1750.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S, | d :r | m :r | d :— | — :M | s :s | f :m | r :— | — |
| :S, | l, :t, | d :t, | d :— | — :D | r :d | d :d | t, :— | — |
| :M | m :s | s :s.f | m :— | — :S | s :m | f :s | s :— | — |
| :D | l, :s,.f, | m,.f, :s, | d, :— | — :D | t, :d | l, :d | s, :— | — |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | d :f | m :r | d :d | r :R | m :f | m :r | d :— | — |
| :T, | l, :d | d :t, | l, :fe, | s, :T, | d :d | d :t, | d :— | — |
| :M | m :l | s :f | m :d | t, :S | s :l | s :f | m :— | — |
| :Se, | l, :f, | d :s, | l, :l, | s, :S, | d :f, | s, :s, | d, :— | — |

1 *Trefn Gras.*

*mf* GRAS! O'r fath beraidd sain,
I'm clust hyfrydlais yw;
Hwn bâr i'r nef ddadseinio byth,
A'r ddaear oll a glyw.

*mf* Gras gyntaf drefnodd ffordd
I gadw euog ddyn;
Llaw gras a welir yn mhob rhan
O'r drefn ryfeddol, gun.

*mf* Gras ddaeth a'n traed yn ol
I lwybrau'r nefoedd wen;
A chymorth newydd rydd bob awr,
I ddwyn y daith i ben.

*f* Gras a gorona'r gwaith,
Draw mewn anfarwol fyd;
A chaiff y clod a'r moliant byth,
Gan luoedd nef yn nghyd.

CYF. GOMER.

2 *Perffaith Iawn.*

*mf* GWNAETH Iesu berffaith Iawn,
Brydnawn ar Galfari;
Yn ei gyfiawnder pur dilyth,
Mae noddfa byth i ni.

*mf* Anfeidrol ydyw gwerth,
A rhin ei aberth mawr,
I achub rhyw aneirif lu
O deulu gwael y llawr.

*mf* Y rhai, yn berffaith lân,
A beraidd gân i gyd,
I'r bendigedig unig Oen,
*f* Yn iach o boen y byd.

PEDR FARDD.

3 *Mawl i'r Arglwydd.*

*f* RHOWCH fawl i'n Harglwydd glân,
Mewn newydd gân hyd nef:
Gorchfygodd ei elynion llym
A grym deheulaw gref.

*mf* Hysbysu ini wnaeth
Ei iachawdwriaeth fawr;
Dadguddiodd ei gyfiawnder pur
I euog deulu'r llawr.

*mf* Fe gofia'i amod hedd,
Ei hen drugaredd wiw;
*f* Caiff holl genhedloedd daear gaeth
Wel'd iachawdwriaeth Duw.

HIRAETHOG.

4 *Puro drwy'r Gwaed.*

*mf* MI welaf noddfa glyd
Yn nghlwyfau Iesu gwiw;
Fy ninas gadarn yn y byd
*f* Yw cariad pur fy Nuw.

*p* Yn ystlys Iesu mawr
Agorwyd ffynon rad,
*mf* I'n llwyr lanhau ni ar y llawr
*f* Trwy rinwedd mawr ei waed.

*p* Cymhwysa'th haeddiant cu,
Nes puro'r brwnt yn lân,
*mf* A throi'n gweddiau'n hyfryd fawl,
*f* A gorfoleddus gân.

WESLEY—CYF.

# ST. MICHAEL. M.B.

*Doh* **A.** M. 66. G. FRANC, 1520—1570.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S, | d :m | r :r | m :— | — :S | f :m | r :r | d :— | — |
| :S, | s, :l, | l, :s, | s, :— | — :D | t, :d | d :t, | d :— | — |
| :M | m :d | d :t, | d :— | — :S | s :s | l :s | m :— | — |
| :D | d :l, | f, :s, | d :— | — :M, | r, :d, | f, :s, | d :— | — |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D | t, :l, | s, :d | d :r | m :M | r :d | d :t, | d :— | — |
| :D | s, :f, | m, :s, | m, :l, | se, :L, | l, :m,.f, | s, :s, | s, :— | — |
| :M | m :d | d :d | m :r | t, :D | d :d | r.m :f | m :— | — |
| :L, | m, :f, | d, :m, | l, :f, | m, :D, | f,.s, :l, | s, :s, | d, :— | — |

**5** *Rhinwedd Eiriolaeth Crist.*

*mf* AETH adre'r Meichiau mawr
Mewn hedd i lys ei Dad;
Taenellodd orsedd danllyd nef
A'i bur gymodlawn waed.

*mf* Aeth heibio dyrfau'r ddeddf,
Diffoddai'r mellt i gyd;
Ac yn eu lle cawn wenau'r nef,
*f* A hedd a leinw'r byd.

*mf* Ein mawl a'n gweddi wael
A beraroglir mwy,
Trwy rin eiriolaeth Iesu'n Pen,
*f* Ar sail ei farwol glwy'.

GOMER.

**6** *Deled dy Deyrnas.*

*f* YMLEDA teyrnas gras
Trwy'r ddaear las fwy fwy,
Pob gwynt a thòn sy'n gyru hon
At fyrdd ga'dd farwol glwy'.

*cres.* Uwch, uwch o hyd yw sain
Yr udgorn arian pur,
Y delwau tlawd a'r llyfrau gau
Bob dydd sy'n colli tir.

*cres.* Yn mlaen mae'r sain yn myn'd,
Y meirw'n clywed sydd,
A'r deillion, druain, 'nawr sy'n gwel'd
Goleuni nefol ddydd.

*ff* Allorau duwiau gau
A'n ddrylliau mân i gyd,
A chrefydd bur ar fyr a dd'wed
Mai' heiddo hi yw'r byd.

GOMER.

**7** *Ffynon yr Iachawdwriaeth.*

*f* CAED ffynon ar y bryn
A ylch yn wyn a glân,
Oddiwrth bechodau mwya'n bod,
Rifedi'r tywod mân.

*mf* Mae rhinwedd yn y gwaed,
I olchi beiau mwy
Nas dichon neb o gôr y nef
Byth, byth, eu rhifo hwy.

*cres.* Mi welaf dyrfa lon,
A'u gynau'n ganaid wyn;
Fe'u golchwyd oll yn ngwaed yr Oen
*p* Fu farw ar y bryn.

*mf* O! na bawn gyda hwy
*cres.* Yn chwyddo'r hyfryd gân;
O fawl dilyth i'r Iesu mwy,
*f* Mewn gwir hosana lân.

*mf* 'Does diwedd byth na thrai
Ar ffrwythau angeu loes;
*f* Fe genir â thelynau aur
Am rinwedd gwaed y groes!

W. W.

# SILCHESTER. M.B.

*Doh* E♭. M. 72. Rev. Dr. Malan, 1787—1864.

| | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | s :m.f | s :l | s :— | — :S | l.d' :t.l | s :f | m :— | — |
| :M | m :d.r | m :d | d :— | — :D | d :d | t, :r | d :— | — |
| :S | s :s.f | m :f | m :— | — :M | f :f | r :s | s :— | — |
| :D | d :d | d :f, | d :— | — :D | f, :f, | s, :s, | d :— | — |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D' | d' :t.l | s :f | m.f :s.l | s :S | l :l | t :t | d' :— | — |
| :M | r :r.d | t, :r | d :t, | d :D | d :f | r :r | m :— | — |
| :L | fe :fe | s :s | s :s | s :D' | l :l | s :s | s :— | — |
| :L, | r :r | s, :s, | s :f | m :M | f :r | s :s, | d :— | — |

8 *Mawl i Dduw.*

*f* DUW Abr'am! molwch Ef,
Yr Hwn sydd Frenin fry—
Yr Hen Ddihenydd ddaeth o'r nef
I'r byd i'n prynu ni.

*f* Jehofah mawr yw Ef,
Trwy nef a daear lawr;
Bendithio wnaf â llafar lef
Ei werthfawr enw mawr.

*mf* Mi wela'r hyfryd wlad
'Rwyf am fyn'd iddi i fyw;
Trigfanau hyfryd tŷ fy Nhad,
Fy etifeddiaeth wiw.

*mf* Mae yno dorf ddirif
Yn moli 'r Tri yn Un;
*f* O! rhoddwn ninau 'i glod ar led
Am ffordd i wared dyn.

*mf* Caf wel'd ei wyneb-pryd
'Rol myn'd o'r babell hon,
*cres.* A chanu am ei ras o hyd
Yn hyfryd ger ei fron.

Oliver-Cyf.

9 *Gogoniant Duw.*

*mf* MAE 'r nefoedd faith uwch ben
Yn dadgan mawredd Duw;
Mae 'r haul, a'r lloer, a'r sêr i gyd
Yn d'weyd mai rhyfedd yw.

*mf* Fe draetha dydd i ddydd,
A nos i nos o hyd;
Yn mhob rhyw iaith, yn mhob rhyw le,
Am Grëwr doeth y byd.

*mf* Ond yn ei gyfraith lân
Y dengys Duw ei hun,
Mewn cymod trwy ei anwyl Fab,
A gwael golledig ddyn.

*f* O! boed fy ngeiriau oll,
A'm calon, O fy Nuw!
Yn gymeradwy ger dy fron,
Tra byddwyf yma 'n byw.

An.

10 *Dim gofid yn y Nef.*

*mf* PAN y cyrhaeddaf draw,
I'r hyfryd nefol wlad,
Caf lonydd byth gan boen a braw,
*cres.* A gwledda yn nhŷ fy Nhad.

*mf* Fe lenwir f' enaid pur
A syndod hyfryd iawn,
Wrth gofio mawredd gras fy Nuw
*f* A'm nerthodd fore' a nawn.

*cres.* Yn beraidd seiniaf glod
Am Geidwad llwch y llawr;
Ei gariad Ef yn achub dyn
*ff* Byth dania 'r dyrfa fawr!

An.

11 *Diolchgarwch am y Cynauaf.*

*mf* O ARGLWYDD! derbyn Di,
Ein moliant ni yn awr,
Am lanw'n tir a'n tai â maeth,
Drwy dy ragluniaeth fawr.

*f* Rhoist eto'r flwyddyn hon
O dan ei choron lawn!
O'th fawr haelioni, Arglwydd da!
Wyt glodforadwy iawn.

Teganwy.

Rhif 4. **SARAH.** M.B.

*Doh* B♭. M. 72. S. ARNOLD, Mus. Doc., 1739—1802.

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| :D | m :r :d | r .m :f :m | r :— :M | f :m :r | m :— :r | d :— |
| :$S_1$ | $s_1$ :$f_1$ :$m_1$ | $l_1$ :$f_1$ :$s_1$ | $s_1$ :— :$S_1$ | $f_1$ :$s_1$ :$l_1$ | $s_1$ :— :$f_1$ | $m_1$ :— |
| :M | d :$t_1$ :d | $l_1$ :-.$t_1$ :d | $t_1$ :— :D | $l_1$.$t_1$ :d .:d | d :— :$t_1$ | d :— |
| :$D_1$ | d :$s_1$ :$l_1$ | $f_1$.$m_1$ :$r_1$ :$d_1$ | $s_1$ :— :$D_1$ | $r_1$ :$m_1$ :$f_1$ | $s_1$ :— :$s_1$ | $d_1$ :— |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | m :— :m | f :— :r | r :— :r | m :— :M | m .d :r .m :f .m | r :d :$t_1$ | d :— |
| :$S_1$ | $s_1$ :— :$ta_1$ | $l_1$ :— :$s_1$ | $s_1$ :— :$s_1$ | $s_1$ :— :$S_1$ | $s_1$.$m_1$ :$f_1$.$s_1$ :$l_1$.$s_1$ | $f_1$ :$m_1$ :$r_1$ | $m_1$ :— |
| :D | d :— :d | d :— :$t_1$ | $t_1$ :— :$t_1$ | d :— :D | d :— :d | $l_1$ :$s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :— |
| :D | d :— :d | $f_1$ :— :$s_1$ | $s_1$ :— :$s_1$ | $d_1$ :— :D | d :— :d | $f_1$ :$s_1$ :$s_1$ | $d_1$ :— |

12 *Cariad ac Iawn Crist.*

*mf* CYDUNED Seion lân
Mewn cân bereiddia'i blas,
*cres.* O fawl am drugareddau'r Iôn,
Ei roddion Ef a'i ras.

*mf* P'le gwelir cariad fel
Ei ryfedd gariad Ef?
*cres.* P'le bu cyffelyb iddo erioed?
Rhyfeddod nef y nef!

*mf* Fe'n carodd cyn ein bod,
A'i briod Fab a roes,
Yn ol amodau hen y llw,
*p* I farw ar y groes.

*mf* Gwnaeth Iesu gymod llawn,
Dyoddefodd angeu loes:
*f* Y clod didrai, y mawl dilyth,
Fo byth am waed y groes.
J. H., LL.

13 *Diogelwch Defaid Crist.*

*mf* LLAIS mwyn y Bugail da,
A rydd im' hedd dilyth;
*cres.* 'Does delyn yn y nef all wneyd
Peroriaeth gystal byth.

*mf* Adnabod mae ei braidd,
Mae'r defaid yn ei law:
*cres.* Cânt oll feddianu bywyd pur
Yn nhragwyddoldeb draw.

*f* Ant bawb o nerth i nerth,
Nes cyrhaedd Seion lân;
*cres.* Gogoniant pur gorona'u pen,
*ff* Tragwyddol fydd eu cân.
GOMER.

14 *Gras y Cyfoeth Goreu.*

*mf* PE meddwn aur Peru,
A pherlau'r India bell,
*cres.* Mae gronyn bach o ras fy Nuw
*f* Yn drysor canmil gwell.
W. L.

*mf* Pe cawn y ddaear gron,
A'i holl bleserau hi,
*cres.* Mae heddwch Duw o dan fy mron,
*f* Yn ganmil gwell i mi.
AN.

15 *Y Dyrfa Ddedwydd*

*mf* O! WELE dyrfa lon
Ger bron yr orsedd lân;
*cres.* Cyduno maent i foli'r Iôn
Yn gyson fawr a mân.

*mf* Tarawant yn gytun
Bob telyn yn y lle;
*cres.* Gan beraidd byncio'r newydd gân
O foliant iddo 'Fe.

*mf* Beth bynag fu eu rhan
Tra yn yr anial fyd,
*cres.* Un testyn heddyw sydd i'r gân—
Un gwaith i'r dyrfa i gyd.

*mf* Nesâu mae'r ddedwydd awr
Cawn ninau fyn'd i'w plith:
*f* I seinio'r anthem yn ddiboen,
I Dduw a'r Oen dros byth.
AN.

Rhif 5. GERMANY. M.B.

*Doh* A♭. M. 72. G. F. HANDEL, 1685–1759.

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| :D | m :r :d | s :f :m | r :—:S, | d :r :m | l, :— :t, | d :— |
| :M, | s, :-.f, :m, | s, :— :s, | s, :—:R, | s, :— :s, | f, :— :f, | m, :— |
| :D | d :t, :d | r :— :d | t, :—:T, | d :t, :d | d :r :r | d :— |
| :D, | d :s, :l, | t, :— :d | s, :—:S,.f, | m, :r, :d, | f, :r, :s, | d, :— |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | s :f :m | m :r :d | t, :—:d | r :—:M | f :s :l | m :—:r | d :— |
| :S, | d :-.t, :d | t, :— :s, | s, :—:s, | s, :—:S, | d :—:d | d :—:t, | d :— |
| :S | s :— :s | s :— :d | r .m :f :m .d | t, :—:D | d :m :r | s :—:f | m :— |
| :D | m :r :d | s, :-.f, :m, | f,.m, :r, :d,.m, | s, :—:D.t, | l, :s, :f, | s, :—:s, | d, :— |

16 *Ymorphwys ar Dduw.*

*mf* FY mywyd wyt fy Nuw!
A'm Cyfaill gwiw digoll;
Ac hebot Ti nis gallaf fyw—
*cres.* Ti yw fy oll yn oll!

*mf* Dy wên, a'th hawddgar bryd,
Mor hoff, mor hyfryd yw!
Dewisol baradwysaidd wledd
Yw bod yn hedd fy Nuw.

*cres.* Dy ras, digonol yw
Tra byddwyf byw 'n y byd;
*f* Am hyny pwysaf ar fy Naf,
A'i garu wnaf o hyd.

AN.

17 *Ymffrost y Credadyn.*

*mf* FY enaid gofia mwy
Gyfiawnder Iesu gwiw;
Ei waed sy'n ffynon a'm glanhâ,
Fe 'm golcha 'n wyn fy lliw.

*mf* Ei fywyd sanctaidd Ef
A'i angeu yn fy lle,
A fydd fy ymffrost yn mhob man,
A'm sylfaen is y ne'.

*p* A'i ddwyfol waed gwnaeth Iawn,
A thaliad llawn i'w Dad;
*cres.* Agorodd ffordd i'r euog gwael
I gael maddeuant rhad.

*p* Trwy aberth mawr y groes,
Trwy angeu Calfari,
*cres.* Y cafwyd cymod a rhyddhad
*f* Yn rhyfedd rad i ni.

J. J., LL.

18 *Mawl yn Seion.*

*f* O! CENWCH fawl i Dduw,
Tra gweddus ydyw 'r gwaith;
Am ei drugaredd ryfedd rad,
Pob llwyth, a gwlad, ac iaith.

*mf* Pan ddwg ei blant ynghyd,
Yn hyfryd fe 'u hiachâ;
Gan rwymo 'r ysig galon friw—
Mab Duw sydd Feddyg da.

*f* O Seion! canmol di
Y Duw sy'n rhoddi hedd,
A phob cysuron iti ynghyd,
Nes myn'd trwy'r byd i'r bedd.

*f* I'r Drindod, heb wahân,
Rhown fawl ar gân i gyd;
Sain Haleliwia fo 'n mhob man
Drwy bedwar bàn y byd.

T. W., B.

19 *Diolch am Roddion Duw.*

*mf* O'TH flaen, yr uchel Dduw!
Y plygwn o un fryd;
I ddiolch am dy roddion gwiw
I ni, drigolion byd.

*mf* Ar dy ddaioni Di
Yr ydym oll yn byw;
O'th law haelionus daw i ni
Fendithion o bob rhyw.

*f* Am ddoniau rif y gwlith,
Diolchwn i Ti 'n awr,
A boed ein bywyd yn ddilyth
Er clod i'th enw mawr.

W. W., T.

Rhif 6. DENNIS. M.B.

*Doh* G. M. 72. G. NAGELI, 1768—1836.

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | m :d :m | r :$t_1$ :r | d :— :D | d :$l_1$ :d | d :$s_1$ :d | $t_1$ :— |
| :D | d :— :d | $t_1$ :$s_1$ :$t_1$ | d :— :$Ta_1$ | $l_1$ :— :$l_1$ | $s_1$ :— :$fe_1$ | $s_1$ :— |
| :S | s :m :s | f :r :f | m :— :M | f :d :f | s :— :r | r :— |
| :D | d :— :d | $s_1$ :— :$s_1$ | $l_1$ :— :$S_1$ | $f_1$ :— :$f_1$ | $m_1$ :— :$l_1$ | $s_1$ :— |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :R | r :$t_1$ :r | d :m :s | s :r :f | m.,f:s :L | s :m :f | m :d :r | d :— |
| :$T_1$ | $t_1$ :$s_1$ :$t_1$ | d :$s_1$ :d | r :— :$t_1$ | d :— :D | d :— :d | d :$s_1$ :$t_1$ | d :— |
| :S | s :r :f | m.,f:s :m | r :s :s | s.,f:m :F | s :l :l | s :m :f | m :— |
| :$S_1$ | $s_1$ :— :$s_1$ | d :— :d | $t_1$ :— :$s_1$ | d :— :$F_1$ | $m_1$ :$l_1$ :$f_1$ | $s_1$ :— :$s_1$ | d :— |

## 20 *Iachawdwriaeth ddigonol.*

*mf* MAE'R iachawdwriaeth rad
Yn ddigon i bob rhai;
*cres.* Agorwyd ffynon er glanhad
Pob pechod cas a bai.

*mf* Daw tyrfa rif y gwlith
Yn iach trwy rin y gwaed;
Pwy wyr na fyddaf yn eu plith,
Yn lân o'm pen i'm traed?

*mf* Er gwaethed yw fy mhla,
Er dyfned yw fy mriw,
*cres.* Y balm o Gilead a'm hiachâ
*f* Mae Iesu'n Feddyg gwiw.

*p* Dan bwys euogrwydd du,
Edrychaf tua'r groes,
*cres.* Lle llifodd gwaed fy Ngheidwad cu,
*f* Anfeidrol Iawn a roes.

PEDR FARDD.

## 21 *Anthem Calfaria.*

*mf* YR iachawdwriaeth rad
A gaed trwy waed yr Oen,
Yw cân fy enaid gwan o hyd
Yn nghanol byd o boen.

*mf* Bydd canu per am hon
Yn Salem lon cyn hir,
Pan una nuoedd nef a llawr
I chwyddo 'r anthem bur.

*f* Yr anthem fydd i gyd
O hyd am Galfari,
*cres.* A'r iachawdwriaeth fawr ei dawn
Ddaeth un prydnawn i ni!

AN.

## 22 *Mawl am Faddeuant.*

*f* FY enaid! deffro di
Ar dân i foli Duw,
Bendithia 'i enw am ei ddawn—
Dy ddyled gyfiawn yw.

*mf* Yr Hwn sy'n maddeu 'th fai,
Ac yn iachau dy glwy';
Gwaredu 'th fywyd, amlhau
Ei ddoniau 'n fwy na mwy.

*mf* Diwallu d' angenrhaid
Bob dydd, heb baid, y bu;
Corona 'th oes o hyd â hedd
Ei rad drugaredd gu.

*mf* Trugarog, ac yn llawn
O ras a dawn, yw Duw:
*cres.* A pharod iawn i faddeu bai
I'r rhai sy'n ddrwg eu rhyw.

HIRAETHOG.

## 23 *Afon y Bywyd.*

*mf* MI welaf afon bur
O ddyfroedd dysglaer iawn;
Maent fel y grisial gloyw, clir,
Foreuddydd a phrydnawn.

*mf* Mae hon yn tarddu maes
O dan orseddfainc Duw;
Hi gâna fel yr eira gwyn
Yr Ethiop dua'i liw.

*mf* Mae mil o filoedd maith
Ar ben eu taith yn llon,
*cres.* Yn moli'r Oen yn ngwlad yr hedd,
Am ryfedd rinwedd hon.

AN.

## Rhif 7. SHAWMUT. M.B.

*Doh* D. M. 92. L. Mason, 1792—1872.

M:– |m :m | s :– |s :– | m :– |–:– | M:– |l :l | l :– |se :– | l :– |–:–
D :– |d :d | d :– |$t_1$:– | d :– |–:– | D :– |m :m | m :– |r :– | d :– |–:–
S :– |s :l | r :– |s :– | s :– |–:– | S :– |$d^1$:$d^1$ | $d^1$:– |t :– | l :– |–:–
D :– |d :$l_1$ | $s_1$:– |$s_1$:– | d :– |–:– | D :– |$l_1$:d | m :– |m :– | $l_1$:– |–:–

M:– |m :m | m :– |m :– | s :– |s :– | m :– |–:– | M:– |m:r | d :– |r :– | m:– |–:–
D :– |d :d | r :– |d :– | d :– |$t_1$:– | d :– |–:– | D :– |d:$t_1$ | $l_1$:– |$t_1$:– | d:– |–:–
S :– |s :s | se:– |l :– | r :– |s :– | s :– |–:– | S :– |s:s | m :– |s :– | s:– |–:–
D :– |d :d | $t_1$:– |$l_1$:– | $s_1$:– |$s_1$:– | d :– |–:– | D :– |d:$s_1$ | $l_1$:– |$s_1$:– | d:– |–:–

### 24 *Yr Adgyfodiad.*

*p* DEFFROIR fy nghysglyd lwch
Pan genir udgorn Duw;
*mf* Daw carcharorion angeu du
I gyd i fyny 'n fyw.

*p* Mewn galar, neu mewn hedd,
Caf dd'od o'r bedd i'r lân;
Pa un ai gwynfyd pur, neu boen,
Fydd fy nhragwyddol ran!

*mf* O Dduw! dod imi le
Yn mysg y dyrfa fawr,
*cres.* I'th foli byth yn nheyrnas ne',
Mewn gwisgoedd fel y wawr!

W. E.

### 25 *Trefn y cadw.*

*p* TOSTURI dwyfol fawr
At lwch y llawr sy'n bod,
Pan gymerth Duw achubiaeth dyn
A'i glymu 'n un â'i glod.

*p* Pan ddaeth y Mab o'i fodd
I farw yn ein lle,
*cres.* Agorodd ffordd i'n dwyn at Dduw:—
Ein Ceidwad yw Efe.

Mae Iesu 'n fawr ei fri,
*cres.* A'i glod yn llenwi 'r nef;
A holl hyfrydwch pur y plant
Yw ei ogoniant Ef.

I. ab Rhisiard.

### 26 *Oen Duw.*

*p* DEWCH, gwelwch wir Oen Duw
Yn marw ar y pren,
Ac yn aberthu ei hun o'i fodd
*cres.* I'n dwyn i'r nefoedd wen.

*p* Ein beiau mawr i gyd
A roddwyd arno Ef,
O danynt hwy fe deimlodd bwys
Melldithion deddf y nef.

*mf* Hedd a maddeuant sydd
Yn llifo trwy ei waed;
*cres.* Ac iachawdwriaeth gyflawn-gawd
I'r euog tlawd yn rhad.

An.

### 27 *Mynwes Iesu.*

*mp* O! AM gael d'od yn nes
I fynwes Iesu glân!
Bydd yn ei glwyfau loches glyd
Pan 'r elo'r byd yn dân.

*p* Pwy ddeil fy mhen i'r lan
*cres.* Pan gryno 'r ddaear gref?
*p* O Arglwydd! cuddia f' enaid gwan
O fewn ei fynwes Ef.

An.

### 28 *Gorphwys ar Iachawdwriaeth Duw.*

*mf* O IACHAWDWRIAETH wiw!
Ti yw fy nghân i gyd;
*cres.* Rhinweddau nefol hyfryd hon,
A'm deil mewn anialfyd.

*mf* Fy enaid! dyro 'th bwys,
A gorphwys arni mwy;
*cres.* A'th holl ymddiried yn ddilyth,
Fo byth mewn marwol glwy'.

An.

# DUNBAR. M.B.

*Doh* E♭. M. 72. A. Corelli, 1653—1713.

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :L | l :— :l | l :se :se | l :— :L | t :— :t | d' :— :d' | d' :t | |
| :D | m :— :l, | d :t, :t, | d :— :D | r :— :r | d :m :r | r :— | |
| :M | d :-.r :m.f | m :— :m | m :— :M | s :— :s | s :— :fe | s :— | |
| :L, | l, :-.t, :d.r | m :— :m, | l, :— :L, | s, :s :f | m :d :l, | s, :— | |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :L | l :— :l | l :se :se | l :— :L | t :— :t | d' :— :t | l :— :se | l :— |
| :D | m :— :l, | d :t, :m | m :— :D | m :— :m | m :— :r | d :— :t, | d :— |
| :M | d :-.r :m.f | m :— :t | l :— :L | se :— :se | l :— :f | m :— :m | m :— |
| :L, | l, :-.t, :d.r | m :— :r | d :— :F | m :— :m | l, :— :r | m :— :m, | l, :— |

## 29 *Am Farw.*

*p* AI marw raid i mi,
A rhoi fy nghorph i lawr?
*cres.* A raid i'm henaid ofnus ffoi
*p* I'r tragwyddoldeb mawr?

*p* Tu draw i angeu du
Y byddaf yn y man,
*cres.* Pa un ai nos ai bythol ddydd,
*p* O f' enaid! fydd fy rhan?

*mf* Pan gesglir dynol ryw
Gerbron y Barnwr mawr,
*cres.* Pa olwg welir ar fy ngwedd
*p* Yn d'od o lwch y llawr?

*mf* Pan rana Mab y Dyn
Y dyrfa fawr ddiri',
*cres.* Pa un ai'r dde ai'r aswy law
A fydd fy nghartref i?

Wesley—Cyf.

## 30 *Gweddi am ymwared.*

*mp* TI, Iesu, Brenin nef!
F' Anwylyd a fy Nuw!
Yn eithaf-pell o dŷ fy Nhad,
Mewn anial wlad 'rwy'n byw.

*p* Mewn ofnau'r wyf a braw,
Bob llaw gelynion sydd;
O anwyl Iesu! saf o'm rhan,
*cres.* A thyn y gwan yn rhydd.

*mf* Sefydlog fyddo'm bryd,
A'm cariad arno Ef,
Nes cael cymundeb perffaith lawn
*cres.* O fewn i furiau'r nef.

Gomer.

## 31 *O! Aros gyda ni.*

*mf* O! AROS gyda ni,
Ein Iôr a'n Ceidwad cu!
Os cawn dy wedd, nid ofnwn fraw—
*p* O! aros gyda ni.

*mf* Y nos sydd yn nesâu,
Ac oriau'r t'wyllwch du;
I Ti, un wedd yw dydd a nos—
*p* O! aros gyda ni.

*mf* Chwenychu'r ym yn fawr
Dy bresenoldeb Di,
I'n cynorthwyo dan bob croes—
*p* O! aros gyda ni.

*mf* Pan ddaw'n gelynion cas
I'n herbyn megys llu,
Diogel fyddwn dan dy nawdd—
*p* O! aros gyda ni.

*mf* Rho in' bob awr o'n hoes
Ddyddanwch oddi fry;
*cres.* Yn angeu ac yn nydd y farn—
*f* O! aros gyda ni.

An.

## 32 *Ymdeithydd ydwyf.*

*p* O IESU! 'r ffordd i'r nef,
A'r pur wirionedd cu,
Tra ar ein taith i arall fyd,
*cres.* Ein bywyd ydwyt Ti.

*mf* Ymddiried ynot wnaf,
Gorphwysaf yn dy hedd;
O! boed i'r Duw a'm cadwodd c'yd
*cres.* Fy nghadw hyd y bedd.

An.

# AYLESBURY. M.B.

*Doh* B♭. M. 66. M. GREENE, Mus. Doc., 1696–1755.

| | | | | | | | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :L, | m | :r | d | :t, | l, | :— | — | :M | s | :f | m | :r | m | :— | — | | |
| :M, | m, | :l, | l, | :se, | l, | :— | — | :S, | s, | :l, | s, | :s, | s, | :— | — | | |
| :D | l, | :f | m | :r | d | :— | — | :D | d | :d | d | :t, | d | :— | — | | |
| :L, | d, | :r, | m, | :m, | $l_2$ | :— | — | :D, | m, | :f, | s, | :s, | d, | :— | — | | |

| | | | | | | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D | t, | :l, | m | :d | r | :d | t, | :T, | m | :r | d | :t, | l, | :— | — | |
| :M, | m, | :l, | se, | :l, | se, | :l, | se, | :S, | s, | :f, | m, | :m, | d, | :— | — | |
| :M | m | :l,.r | t, | :d .m | m | :m | m | :R | d | :l, | l, | :se, | l, | :— | — | |
| :L, | s, | :f, | m, | :d, | $t_2$ | :d,.r, | m, | :S, | d, | :r, | m, | :m, | $l_2$ | :— | — | |

**33** *Pechadur wrth borth trugaredd.*

*mf* FY ngrasol, nefol Iôr!
Gwel yma wrth dy draed,
Yn ofni dyfod at dy ddôr,
Yr adyn duaf gaed.

*mf* Er hyn, anturio 'r wy'
Drwy farwol glwy' yn mlaen,
I'r fan lle llwyddodd myrdd, a mwy,
Ger bron dy orsedd lân.

*mf* Duw cariad ydwyt Ti!
Griddfanau f' enaid clyw;
Dwg fi o rwymau 'r gelyn du,
I wel'd dy wedd, a byw.

AN.

**34** *Adnabod Crist.*

*mf* WEL dyma 'r Ceidwad mawr
A ddaeth i lawr o'r nef,
I achub gwaeledd, llwch y llawr:—
*f* Gogoniant iddo Ef!

*p* Bu farw yn ein lle
Ni, bechaduriaid gwael;
*cres.* Mae pob cyfiawnder ynddo 'Fe
Sydd arnom eisieu gael.

J. T.

**35** *Dyoddefaint Crist.*

*p* AI am fy meiau i
Dyoddefodd Iesu mawr,
*cres.* Pan ddaeth yn ngrym ei gariad Ef
O entrych nef i lawr?

*mf* Cyflawnai'r gyfraith bur,
Cyfiawnder gafodd Iawn,
*f* A'r ddyled fawr, er cymaint oedd,
A dalodd Ef yn llawn.

*p* Dyoddefodd angeu loes
Yn ufudd ar y bryn,
*mf* A'i waed a ylch yr Ethiop du
Yn lân fel eira gwyn.

*mf* Bu'n angeu i'n hangeu ni
Wrth farw ar y pren,
*cres.* A thrwy ei waed y dygir llu,
*f* Trwy angeu, i'r nefoedd wen.

J. E.

**36** *Buddugoliaeth Crist.*

*p* PAN grymodd Iesu ei ben,
Wrth farw yn ein lle,
*cres.* Agorodd ffordd, pan rwygai 'r llen,
I bur drigfanau 'r ne'.

*mf* Gorchfygodd uffern ddu,
Gwnaeth ben y sarph yn friw;
O'r carchar caeth y dygir llu,
Trwy ras, i deulu Duw.

*f* Gorphenodd Ef y gwaith,
Ac esgyn wnaeth i'r nef;
Lle mae yr holl nefolaidd lu
Yn canu iddo Ef. J. E.

**37** *Iesu yn lloches.*

*mp* YN mh'le, mewn dyrys fyd,
Caf loches glyd rhag loes,
Ond yn y person dwyfol glân,
Fu 'n griddfan ar y groes?

*mf* Efe yn ffyddlon fydd
I'm noddi ddydd a ddaw,
Pan ddelo mewn gogoniant mawr
Ar gymyl dirfawr draw.

*mf* Tra byddo nef a'i gwawl,
Mi dalaf fawl i Ti,
Gan roddi uchel, ddwyfol werth
Ar aberth Calfari. AN.

Rhif 10. **ST. BRIDE.** M.B.

*Doh* C. M. 66. S. HOWARD, Mus. Doc., 1710—1782.

```
:L  |m  :l  |d' :t  |l  :—  |—  :D' |s  :d' |m' :r'  |d' :—  |—
:M  |m  :r  |m  :m  |d  :—  |—  :M  |r  :m  |s  :-.f |m  :—  |—
:D' |t  :l  |l  :se |l  :—  |—  :L  |r' :d' |d' :t   |d' :—  |—
:L  |s  :f  |m  :m  |l, :—  |—  :L  |t  :l  |s  :s   |d  :—  |—

:M' |r' :d' |t  :l  |s  :f  |m  :M' |l  :r' |d' :t   |l  :—  |—
:S  |s  :m  |m  :d  |m  :r  |t, :M  |m  :r  |m  :r   |d  :—  |—
:D' |t  :l  |s  :d' |d' :l  |se :L  |l  :l  |l  :se  |l  :—  |—
:D' |s  :l  |m  :f  |d  :r  |m  :D  |f  :f  |m  :m   |l, :—  |—
```

## 38 *Gweddi am Iachad.*

*p* O! GWRANDO weddi'r tlawd,
Hyfrydaf Frawd a gaed
I'r rhai cystuddiol, clwyfus, gwan,
Sy'n 'mofyn am iachad.

*mp* Ti wyddost am fy mhla,
Fy ngofid a fy nghroes;
*mf* Ac nid oes ond d'anfeidrol rym,
All symud dim o'm loes.

*mf* Af ato fel yr wyf
I 'mofyn am iachad;
A'm holl bechodau addef wnaf
Yn isel wrth ei draed.

W. W.

## 39 *Tangnefedd yn Nghrist.*

*mf* BOED Iesu imi o hyd
*cres.* Yn dŵr a tharian gref,
*f* Rhag dyfais Satan a'i holl lid,
A'i saethau tanllyd ef.

*mf* Yn yr Iorddonen ddu,
*cres.* Boed yno 'n mlaenaf gŵr—
Yn Archoffeiriad anwyl im
*f* I dori grym y dŵr!

*mf* Ein Iesu ar y groes
*cres.* A wnaeth y ffordd yn rhydd:
*f* Mae rhyddid heddyw i fyn'd yn mlaen
I wlad y bythol ddydd.

AN.

## 40 *Cyfamod Disigl.*

*p* O ARGLWYDD! clyw fy llef,
'Rwy'n addef wrth dy draed,
Im' fynych wrthod Iesu cu—
Dirmygu gwerth ei waed.

*mf* Ond gobaith f'enaid gwan,
Wrth nesu dan fy mhwn,
*f* Yw haeddiant mawr ei aberth drud,
Fy mywyd sydd yn hwn.

*mf* A thrwy ei angeu drud,
Gall pawb o'r byd gael byw;
*cres.* Am hyn anturiaf at ei draed,
Fy anwyl Geidwad yw.

*f* Ni wrthyd neb a ddaw,
Ei air sydd yn ddilyth;
Er symud o'r mynyddoedd draw,
Saif ei gyfamod byth.

AN.

## 41 *Gweddi am Gywirdeb.*

*p* RHAG bod rhyw bechod cudd
Yn llechu dan fy mron,
*cres.* O! chwilia nghalon, Iesu cu!
A llwyr sancteiddia hon.

*mf* Yn Isräeliad gwir
Gwna fi, heb dwyll na brâd;
*cres.* Boed fy hyfrydwch yn fy Nuw,
*f* A'm cân am gariad rhâd.

AN.

# TY FY NHAD. M.B.D.

*Doh* A. M. 84. I. B. WOODBURY, 1819—1858.

:S, | s, :s, | m :-.r | d :— | — :D | r :-.r | d :r | m :— | — || M | f :-.f | f :r
:M, | m, :m, | s, :f, | m, :— | — :S, | t, :-.t, | l, :t, | d :— | — || S, | l, :-.l, | l, :s,
:D | d :d | d :t, | d :— | — :D | f :-.f | m :s | s :— | — || D | d :-.d | d :t,
:D, | d, :d, | s, :s, | d, :— | — :M, | s, :-.s, | l, :s, | d :— | — || D | f, :-.f, | f, :s,

| m :-.m | m :D | r :r | m :r | d :— | — || D | r :-.r | d :r | m :— | — :M
| s, :-.s, | l, :M, | l, :l, | s, :f, | m, :— | — || D | t, :-.t, | s, :t, | d :— | — :D
| d :-.d | d :D | d :d | t, :t, | d :— | — || M | s :-.s | m :s | s :— | — :S
| d :-.d | l, :L, | f, :f, | s, :s, | d, :— | — || D | s, :-.s, | s, :s, | d :— | — :D

| m :-.m | r :m | f :— | — || F | m :s | s :m | m :d | d :L, | s, :d | m :-.r | d :— | — ||
| d :-.s, | s, :s, | l, :— | — || S, | s, :d | d :d | s, :s, | l, :F, | m, :s, | d :t, | d :— | — ||
| s :-.d | t, :d | d :— | — || T, | d :m | s :s | d :d | d :D | d :m | s :f | m :— | — ||
| d :-.d | s, :d | f, :— | — || S, | d :d | m :d | m, :m, | f, :F, | s, :s, | s, :s, | d, :— | — ||

*ad lib.*

| m :-.r | d :— | s :-.f | m :s | l :f | m :— | r :— | d :— | — :— ||
| d :-.t, | d :— | s, :-.s, | s, :d | d :d | d :— | t, :— | s, :— | — :— ||
Dros - om ni Dros - om ni, I fa - rw dros - om ni.
Tŷ fy Nhad, Tŷ fy Nhad, Yn nes i dŷ fy Nhad.
| s :-.f | m :— | r :-.r | d :d | d :f | s :— | s :f | m :— | — :— ||
| s, :-.s, | d :— | t, :-.t, | d :m, | f, :l, | s, :— | s, :— | d, :— | — :— ||

## 42 *Cariad Crist.*

*mf* RHYFEDDWN gariad mawr,
Gwaredwr dynolryw,
Yn rho'i ei fywyd pur i lawr,
Er mwyn i ni gael byw!
*cres.* O'i fodd, daeth ini'n Frawd,—
Gadawai'r nef a'i bri,
Ac ymddangosodd yn y cnawd,
*p* I farw drosom ni!

*mf* Cydganed daear lawr,
Ei felus foliant Ef;
Mae ffordd agored ini'n awr,
Drwy haeddiant Crist, i'r nef;
*cres.* Cawn yno fythol oes,
Yn mhlith y saint diri!
I foli'r Iesu aeth i'r groes,
*p* I farw drosom ni!

M.

## 43 *Tŷ fy Nhad.*

*mf* MOR agos ambell waith
I dreiddgar olwg ffydd,
Yw tŷ fy Nhad, a phen fy nhaith,
A thoriad nefol ddydd!
*p* Wyf yma heb fy Naf,
Yn mhell o'm nefol wlad—
*mf* Er hyn, bob nos, fy mhabell wnaf
Yn nes i dŷ fy Nhad.

*mf* Pan rwygo 'r llèn yn ddwy,
O dan fy olaf chwyth,
*cres.* Nid angeu fydd fy angeu mwy,
Ond bywyd bery byth;
*p* Wyf yma heb fy Naf,
Yn mhell o'm nefol wlad—
*mf* Er hyn, bob nos, fy mhabell wnaf
Yn nes i dŷ fy Nhad.

AN.

Rhif 12. AMANA. M.B.D.

*Doh* F. M. 80. J. H. ROBERTS, Mus. Bac., 1880.

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D | s :f :m | r :m :f | m :— :D | f :— :l | s :— :m | r :— | |
| :S, | s, :— :s, | t, :— :t, | d :— :D | d :— :d | d :— :d | t, :— | |
| :M | r :— :m | s :— :s | s :— :M | f :— :f | m :— :s | s :— | |
| :D | t, :— :d | s, :— :s, | d :— :D | l, :— :f, | d :— :d | s, :— | |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :R | r :—:m | f :—:r | m :—:f | s :—:D' | t :-.l:s | l :—:l | s :— |
| :T, | l, :—:de | r :—:t, | d :—:t, | d :—:M | re :— :m | m :—:r.d | t, :— |
| :S | l :—:s | f :—:s | s :—:s | s :—:L | fe :— :s | s :—:fe | s :— |
| :S | f :—:m | r :—:s, | d :—:r | m :—:L, | t, :— :m | d :—:r | s, :— |

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | r :— :de | r :— :m | f :— :R | m :— :l | l :— :se | l :— |
| :T, | l, :— :l, | l, :— :l, | l, :— :S, | s, :— :d | t, :— :t, | d :— |
| :R | r :— :m | f :— :de | r :— :R | d :— :m | m :— :m | m :— |
| :S, | f, :— :m, | r, :— :l, | r :— :T, | d :— :l, | m :— :m, | l, :— |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :L | d' :—:l | s :— :m | s :—:m | r :—:L | s :—:m | r :m :r | d :— |
| :D | d :—:d | d :—:d | d :—:d | t, :—:D | d :—:d | t, :—:t, | d :— |
| :F | l :—:f | m :—:s | s :—:s | s :—:L | d' :—:s | f :s :f | m :— |
| :F, | f, :—:f, | d :—:d | m :—:d | s :—:F | m :—:d | s, :—:s, | d :— |

## 44 *Anthem Calfaria.*

*f* MI gana' am waed yr Oen,
Er maint fy mhoen a 'mhla;
Ni cheisiai'n wyneb calon ddu,
Ond Iesu'r Meddyg da:
*mf* Fy mlino ge's gan hon,
A'i throion chwerwon chwith,
*f* Ond sail fy ngobaith am lanhad—
Yw'r cariad bery byth.

*f* Byth boed maddeuant rhad,
Trwy werthfawr waed yr Oen,
Yn destyn moliant yn mhob man,
I mi sydd dan fy mhoen;
*cres.* Yr anthem faith ei hyd,
Fo i gyd am Galfari,
A'r iachawdwriaeth fawr ei dawn ,
Ddaeth un prydnawn i ni.

W. W.

## 45 *Cefnogaeth i fyned yn mlaen.*

*mf* MI welaf fyrdd dan sêl,
Fu'n ofni fel fy hun,
Oll wedi dringo'r creigiau serth,
I gyd trwy nerth yr Un;
Yn canu'r ochr draw,
Heb arnynt fraw na phoen,
*f* Ganiadau hyfryd Calfari,
Dyoddefaint addfwyn Oen!

*mf* Cyflawnir gair fy Nuw,
A deued fel y dêl,
Can's holl amcanion nefoedd fry
Bob sillaf sy' dan sêl;
Ac ar ei air a'i nerth,
A dwyfol werth ei waed,
*f* Trwy bob gelynion, af yn hyf
I mewn i dŷ fy Nhad.

W. W.

## 46 *Henffych i'r Messiah.*

*mf* BLANT ffyddlon Seion, dewch,
A llawenhewch i gyd;
Yn mlaen â chwi fel milwyr da,
Yn llon, er gwaetha'r llid:
*cres.* O! hyfryd ddedwydd awr,
Messïa mawr a gaed!
*f* Henffych i'r dydd a'r boreu daeth
Yr iachawdwriaeth rad.

*p* Er ini golli 'r hedd,
Gynt yn Mharadwys wiw,
A bod yn fyr o gadw 'r fraint—
Myn'd dan ddigofaint Duw;
*cres.* Ni gawsom Had y Wraig
Yn gadarn graig i'n traed—
*f* Henffych i'r dydd, &c.

*f* Wel, dyma 'r newydd da
A lawenycha 'r trist—
Mae'r ddraig a Satan, er ein mwyn,
Mewn cadwyn gan ein Crist:
*cres.* Ysigodd Ef ei siol,
Enillodd nefol wlad—
*ff* Henffych i'r dydd, &c.

W. W.

## 47 *Awyddfryd y Cristion.*

*mp* O IESU! 'm nerth a'm nawdd!
Fy nghymorth hawdd ei gael,
Mewn hyder deuaf atat Ti,
Gwrandâwr gweddiau 'r gwael:
*cres.* Dysgwyliaf wrth dy borth
Am gymorth yn ddi-feth,
I allu gwneuthur yn ddi-lys
D' ewyllys yn mhob peth.

*mf* Mae arnaf eisieu'n wir
Cael golwg glir yn glau,
A gwel'd y drwg oddi yma draw,
Pan fo ger llaw'n nesâu:
*cres.* Nerth hefyd i barhau
Yn ffyddlawn ddyddiau f' oes,
I ddyoddef pobpeth er dy fwyn,
Heb rwgnach dwyn dy groes.

D. J.

## 48 *Ffrwyth Angeu Crist.*

*p* ER trengu ar y groes
Ein Meichiau mawr o'r nef,
*cres.* Fy Mrenin mwyn, fy Mhrynwr mawr,
A'm Duw yn awr yw Ef;
*mf* I'r lan y trydydd dydd
*cres.* Yn gadarn daeth o'r bedd,
*f* A gwenu mae cyfiawnder pur
Yn awr mewn cyflawn hedd.

*mf* Ar hyfryd Seion fryn,
Bydd·torf âg uchel lef,
*cres.* Dros oesoedd tragwyddoldeb maith
Yn canu "Iddo Ef!"
Yn ddysglaer fel y wawr,
Oll wedi eu cânu 'n wyn,
*f* Bydd priodasferch, gwraig yr Oen,
Yn ddedwydd iawn pryd hyn.

AN.

## 49 *Gobaith am y Nef.*

*mf* MAE 'm gobaith, er yn wan,
Gael d'od i'r lan ryw bryd,
At Iesu fry, i Seion fryn,
A'm gwisg yn wen i gyd—
*cres.* I blith y dyrfa fawr,
Sy'n canu 'n awr heb boen,
*f* A'u gynau wedi 'u cânu 'n wyn
Yn ngwaed yr addfwyn Oen.

*mf* Er treulio yn y gwaith
Ryw oesoedd maith yn mlaen,
Nid oes dim blino yn eu plith—
Melusach fyth yw 'r gân:
*cres.* Cân newydd fydd o hyd,
Mewn bywyd pur, diboen,
*f* O fawl i Dduw am gariad rhad,
A gwerthfawr waed yr Oen.

W. L.

## 50 *Cynaliaeth y Pererin.*

*mf* MAE 'r manna wedi ei gael
Mewn dyrys anial dir;
Ymborthi gaf, ond myn'd yn mlaen,
Ar ffrwythau 'r Ganaan bur;
*cres.* Mae yno sypiau grawn
Yn llawn o fewn i'r lle:—
*f* O Ffrynd troseddwyr! moes dy law,
A thyn fi draw i dre'!

*mf* Wrth feddwl am y wlad
A ragbar'toed i'r plant,
A chyflawn degwch tŷ fy Nhad,
Mae ar fy nghalon chwant
*cres.* I lanio uwch y nen,
Tu draw 'r Iorddonen gre':—
*f* O Ffrynd troseddwyr! &c.

*mf* 'Rwy'n gweled, trwy fy Nuw,
Y concraf fyd a chnawd;
O dan ei aden gwnaf fy nyth,
Ni byddaf byth yn dlawd;
*cres.* Mae 'm hetifeddiaeth wych
O fewn i entrych ne':
*f* O Ffrynd troseddwyr! &c.

W. W.

Rhif 13. GOBAITH. M.B.D.

*Doh* A. M. 72. THOS. PRICE, A.C.—Merthyr, 1888.

```
:D  | r :m |s, :l,  | s, :— |— :D  | r :m |l, :t,   | l, :— |— || F   | f :m |r :d
:M, | f, :s,|s, :f, | m, :— |— :M, | f, :s,|l, :se, | l, :— |— || L,  | s, :s,|s, :s,
:D  | d :d |d :d    | d :— |— :D   | d :t,|d :m.r   | d :— |—  || R.d | t, :d |d.t, :d
:D, | d, :d,|m, :f, | d, :— |— :L, | l, :s,|f, :m,  | l, :— |— || R,  | s, :d,|r, :m,
```

```
t, :d |r :M    | l, :d |t, :l,   | s, :— |— || S, | r :t, |l, :s, | d :— |— :M
s, :s,|s, :S,  | fe, :s,|s, :fe, | s, :— |— || M, | f, :f,|f, :m, | f, :— |— :Ta,
r :d |t, :D    | d :d |r :-.d    | t, :— |— || D  | r :r |d :d    | d :— |— :D
f, :m,|r, :D,  | r, :m,|r, :r,   | s, :— |— || D  | t, :s,|d :ta,  | l, :— |— :S,
```

```
f :r |d :r     | m :— |— || S | s :f |m :f    | f :m |r :M    | f :s |d :r     | d :— |—
l, :la,|s, :t, | d :— |— || D | de :r |l, :l, | t, :d |s, :S, | l, :s,|m, :f,  | m, :— |—
d :r |m :s     | s :— |— || S | l :l |s :f    | s :s |f :M    | d :d |d :t,    | d :— |—
f, :f,|s, :s,  | d :— |— || M | l, :t,|de :r  | s, :l,|t, :D  | f, :m,|l, :s,  | d, :— |—
```

**51** *Y Pererin.*

*p* FY ngweddi, dos i'r nef,
Yn union at fy Nuw,
*mf* A dywed wrtho Ef yn daer,
*p* "Attolwg, Arglwydd, clyw!
*mf* Yn ol dy addewid wych,
Dwg fi i'th nefoedd wen;
*f* Yn Salem fry par'to fy lle
Mewn llys o fewn i'r llen!"

*p* Pererin llesg a llaith,
Dechreuais daith oedd bell,
*mf* Trwy'r holl elynion mawr eu brad,
Gan geisio gwlad sydd well;
*cres.* Iachâ bob clwyf a brath
A dail y bywiol bren,
*f* Yn Salem fry par'to fy lle
Mewn llys o fewn i'r llen.

*mf* Mae 'mrodyr uwch y nen,
Yn canu ar ben eu taith,
A minau oedais lawer awr
Ar yrfa fawr a maith;
*cres.* Ond bellach tyn fi'n ddwys,
Ar Grist dod bwys fy mhen,
*f* Yn Salem fry par'to fy lle,
Mewn llys o fewn i'r llen.

W. W.

**52** *Duw drosom.*

*mf* Y DUW sy'n llywydd fry,
A'r bydoedd ger ei fron,
Yn marchog ar y gwyntoedd cry',
*p* Ac yn tawelu 'r dòn:—
*mf* Mae Hwn yn awr i ni
Yn Gyfaill, ac yn Dad;
*cres.* Ei luoedd ddenfyn oddi fry
*f* I'n dwyn i'r nefol wlad.

*f* De'wch chwi, sy 'n caru Duw,
A llawenhewch yn awr;
Cydseiniwch bêr ganiadau gwiw
O gylch ei orsedd fawr:
*mf* Os byddant hwy yn fud,
Sydd heb ei 'nabod Ef,
*cres.* Datganer mawl â llawen fryd
*f* Gan weision Brenin nef.

AN.

## LEOMINSTER. M.B.D.

*Doh* E. M. 72. G. W. Martin, 1825–1881.

```
:M | m :m | m :m | f :— | — :F | r :r | r :m | r :— | — || R | m :m | s :s
:D | d :d | d :d | d :— | — :D | d :d | d :d | t, :— | — || T, | d :d | r :r
:S | s :s | s :s | l :— | — :L | l :l | l :l | r :— | — || S | s :s | s :r
:D | d :d | d :d | f, :— | — :F, | f, :f, | fe, :fe, | s, :— | — || S, | d :d | t, :t,

d' :d' | d' :D | d :m | m :r | d :— | — || D | f :-.f | f :d | m :— | — :M
d :ta, | l, :L, | s, :d | t, :t, | d :— | — || D | d :-.d | d :d | d :— | — :D
m :m | f :R | m :s | s :f | m :— | — || M | l :-.l | l :f | s :— | — :S
l, :s, | f, :Fe, | s, :s, | s, :s, | d :— | — || D | f, :-.f, | f, :l, | d :— | — :D

l :-.l | l :m | s :— | — || S | d' :-.d | d' :t | t :l | s :F | m :-.d | m :r | d :— | — ||
m :-.m | m :m | m :— | — || F | m :-.m | r :r | r :d | de :R | d :-.d | t, :t, | d :— | — ||
d' :-.d' | d' :l | t :— | — || T | d' :s | se :se | se :l | l :L | s :-.m | s :f | m :— | — ||
l, :-.l, | l, :d | m :— | — || R | d :-.d | m :m | f :f, | l, :R | s, :-.s, | s, :s, | d :— | — ||
```

**53** *Dilyn y Praidd.*

*p* PERERIN wy'n y byd,  
Ac alltud ar fy hynt,  
*cres.* Yn ceisio dilyn ôl y praidd—  
Y tadau sanctaidd gynt;  
*mf* Gan 'mofyn gwlad sydd well,  
*cres.* Er bod yn mhell yn ol,  
*f* Trwy gymhorth gras, yn mlaen mi af,  
Dilynaf finau 'u hôl.

*p* Os rhaid ymdrechu dro,  
Milwrio, a chario 'r groes,  
*cres.* A myn'd dan ŵg a gwawd y byd,  
Dros enyd fer fy oes,  
*mf* Caf goron gyda'r saint—  
*cres.* Tragwyddol fraint sy'n ol;  
*f* Trwy gymhorth gras, yn mlaen mi af,  
Dilynaf finau 'u hol.

D. J.

**54** *Hyder yn Nuw.*

*mp* FY enaid! dos ymlaen,  
'Dyw 'r bryniau sydd ger llaw  
*cres.* Un gronyn uwch, un gronyn mwy,  
Na hwy a gwrddaist draw;  
*p* Dy anghrediniaeth caeth,  
*cres.* A'th ofnau maith eu rhi',  
*mf* Sy'n peri it' feddwl rhwystrau ddaw  
Yn fwy na'r rhwystrau fu.

*mf* Yr un yw nerth fy Nuw,  
A'r un yw geiriau 'r nef,  
*cres.* 'R un gras, a'r un ffyddlondeb sy'  
'N cartrefu ynddo Ef;  
A thrwy ei air a'i nerth,  
A gwerth y dwyfol waed,  
*f* Af drwy fy holl elynion hyf,  
I mewn i dŷ fy Nhad.

W. W.

**55** *Pererin ar Daith.*

*p* PERERIN wyf ar daith,  
A'm ffordd yn faith, a phell,  
Yn ceisio myn'd, a minau 'n wan,  
Tua gwlad a chartref gwell;  
*cres.* Mae rhwystrau bron fy nal,  
A'm hatal weithiau 'n ol,  
*f* O! tyn fi—tyn fi, Iesu da!  
Mi a redaf ar dy ol.

*mp* O! brysia, Arglwydd! mwy—  
Dyddysgwyl'rwyf bob dydd,  
A thôr fy holl gadwynau câs—  
Gwna fi â'th ras yn rhydd;  
*cres.* Nid wyf am orphwys mwy  
Nes byddwyf yn dy gôl,  
*f* O! tyn fi—tyn fi, Iesu da!  
Mi a redaf ar dy ol.

An.



C

# FRENCH. M.C.

Doh F. M. 60. G. Franc, 1520—1570.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D | m :f | s :d | r :m | f :M | r :d | d :$t_1$ | d :— | — |
| :$S_1$ | d :d | d :$l_1$ | $t_1$ :d | d :D | $t_1$ :$l_1$ | $l_1$ :$s_1$ | $s_1$ :— | — |
| :M | s :l | s :m | s :s | l :S | s.f:m | f.m:r | m :— | — |
| :D | d :$f_1$ | $m_1$ :$l_1$ | $s_1$ :d | $f_1$ :D | $s_1$ :$l_1$ | $f_1$ :$s_1$ | d :— | — |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | d' :t | l :s | s :fe | s :M | r :d | d :$t_1$ | d :— | — |
| :D | m :r | r :r | m :r | $t_1$ :D | $t_1$ :$l_1$ | $l_1$ :$s_1$ | $s_1$ :— | — |
| :M | s :s | d' :t | l :l | s :S | s.f:m | f.m:r | m :— | — |
| :D | d :$s_1$ | $l_1$ :$t_1$ | d :r | $s_1$ :D | $s_1$ :$l_1$ | $f_1$ :$s_1$ | d :— | — |

## 56 *Awdurdod Crist.*

*f* DEWCH, gorfoleddwch blant y nef,
Teyrnasa Crist eich pen;
Mae pob awdurdod yn ei law,
Trwy'r byd a'r nefoedd wen.

*f* Ei deyrnas fawr a bery byth,
Fe biau gorsedd nef;
Mae agoriadau'r byd a ddaw
'Nawr wrth ei wregys Ef.

*mf* Fe egyr byrth y nef o'ch blaen,
Rhydd heddwch dan eich bron;
Llawenydd o seraphaidd ryw
A leinw'ch mynwes lon.

*f* Mewn gobaith gorfoleddwch 'nawr,
Eich priod anwyl ddaw
I farnu'r byd, a nol ei blant;
Mae pen y daith gerllaw.

Gomer.

## 57 *Yr Iachawdwriaeth Gyflawn.*

*f* MAE'R iachawdwriaeth fel y môr,
Yn chwyddo byth i'r lan;
Mae ynddi ddigon, digon byth,
I'r truan ac i'r gwan.

*mf* Doed y trueiniaid yma 'nghyd,
Yn lluoedd heb un rhi';
*f* Cânt eu diwallu oll yn llawn,
O ras y nefoedd fry.

*f* Ni chaiff fod eisieu byth, na thrai,
Tra seren yn y nef,
Ar neb o'r rhai a roddo'u pwys
Ar ei gyfiawnder Ef.

W. W.

## 58 *Yr Efengyl.*

*mf* EFENGYL, anadl Duw yw hon,
Yn ail fywhau y byd;
Mae anfarwoldeb yn ei gwedd,
A'i geiriau'n wir i gyd.

*cres.* Goleuni yw—gorthrecha'r nos,
Gŷr d'wyllwch du ar ffo;
Ei llewyrch ddengys lwybrau Duw,
Trwy'r byd i'r freiniol fro.

*f* Mynegfys Iôr—hi ddengys nef
I'r pererinion mad;
Arweinia i'r baradwys fry,
Tywysa at y Tad.

An.

## 59 *Angeu'r Groes.*

*mf* MI dafla maich i lawr yn llwyr,
Trwy rinwedd dwyfol loes;
Euogrwydd fel mynyddau'r byd
Dry'n ganu wrth y groes.

*mf* Mae angeu'r groes yn awr yn hy'
Yn dadleu dros y gwan;
Ac angeu fy Iachawdwr cu,
Cyn hir, a'm cwyd i'r lan.

W. W.

## 60 *Dyfodiad Crist i'r Byd.*

*mf* MESSIA gaed, daeth ini'n Frawd,
Fe geidw rif y gwlith;
Y dwyfol Air a wnaed yn gnawd,
Pabellodd yn ein plith.

*mf* I'r byd fe ddaeth Tywysog nef,
Gwaredwr dynolryw;
Yn Bethlehem y ganwyd Ef,
A Christ yr Arglwydd yw!

*f* Boed y gogoniant, trwy 'r nef fry,
Byth, byth, i'r Tri yn Un;
Trwy 'n Ceidwad gwiw tangnefedd sy',
A gras i euog ddyn.

PEDR FARDD.

## 61 *Golwg ar groes Crist.*

*mf* 'DOES neb ond Ef—fy Iesu hardd!
A ddichon lanw 'mryd;
Fy holl gysuron byth a dardd
O'i ddirfawr angeu drud.

*mf* 'Does dim yn gwir ddifyru f' oes
Helbulus yn y byd,
Ond golwg mynych ar y groes,
Lle talwyd Iawn mewn pryd.

*f* Mi welaf le mewn marwol glwy'
I'r euog guddio 'i ben;
Ac yno llechaf nes myn'd trwy
Bob aflwydd is y nen.

*cres.* Yr Iawn a dalwyd ar y groes
Yw sylfaen f' enaid gwan;
Wrth bwyso arno ddydd a nos
'Rwy'n dysgwyl d'od i'r lân.

W. W.

## 62 *Ni bydd eisieu arnaf.*

*mf* FY Mugail, fy niwallu wna,
Fy rhan, Jehofah yw:
Mewn porfa fras ymborthi ca'
Wrth ffrydiau dyfroedd byw.

*mf* Dwg f'enaid crwydrol yn ei gol
Yn ol i'w gorlan wiw;
Er mwyn ei enw mawr dilys
Fe 'm tywys tra f'wyf byw.

*mf* Doed arlwyadau hael fy Nuw,
Tra byddwyf byw, i'm rhan;
*cres.* O! am gartrefu yn dy dŷ,
A'th foli yn mhob man.

*mf* Haelioni'th ras a'th gariad pur
Rydd gysur dan bob loes;
A phiol lawn gaf yn ddiau
Tra pery dyddiau f'oes.

*p* Pan rodiwyf ddyffryn angeu du,
Ti ddeli 'mhen i'r lan;
*cres.* Un gair o'th enau chwal yn glau,
*f* Holl ofnau f'enaid gwan.

AN.

## 63 *Etifeddiaeth y Saint.*

*mf* BENDIGAID byth f'o enw Duw,
A'n cododd ni â'i ras,
*cres.* Sef codi'r enaid marw'n fyw,
O feddrod pechod cas.

*mf* I obaith bywiol cododd ni,
Trwy godiad Crist o'r bedd,
*cres.* I etifeddiaeth nefol fri,
Yn ngwlad tragwyddol hedd.

*mf* Un anllygredig ydyw hi,
Dihalogedig yw;
Diddiflanedig, uchel fri,
Yn nghadw gyda Duw.

*f* Mae'r etifeddion ar y liawr,
Trwy allu Duw o'u tu,
Mor sicr a'r etifeddiaeth fawr,
Sydd yn ddiogel fry.

R. J.

## 64 *Yr Olchfa Ddwfr.*

*mf* DERBYNIWYD ni, trwy'r "olchfa ddwfr,"
I deulu Duw, a'i dŷ:
A dwyn yr ydym Enw Crist—
Braint nefol yw i ni.

*p* Drugarog Dad, dy braidd ŷm ni,
Dysg ini ufuddhâu,
A chadw'th air, yr hwn a wna
I'n calon lawenhâu.

*mp* Bendithia 'n Bedydd er lleshâd
I'th ffyddlon blant i gyd;
*cres.* A hardded ffrwythau Ysbryd gras
Ein buchedd yn y byd.

AN.

Rhif 16. **ST. ANNE. M.C.**

Doh D. M. 66. W. Croft, Mus. Doc., 1677—1727.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | m :l | s :d' | d' :t | d' :S | d' :s | l :fe | s :— | — |
| :M | d :d | d :m | r :r | m :R | d :r | m :r | $t_1$ :— | — |
| :D' | s :l | d' :d' | l :s | s :S | m :s | d' :l | s :— | — |
| :D | d :f | m :l | f :s | d :$T_1$ | $l_1$ :$t_1$ | d :r | $s_1$ :— | — |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :T | d' :l | r' :t | d' :l | t :S | l :d' | r' :t | d' :— | — |
| :R | d :d | f :r | m :r | r :R | f :s | f :r | m :— | — |
| :S | s :f | l :s | s :fe | s :T | d' :s | l :s | s :— | — |
| :S | m :f | r :s | d :r | $s_1$ :S | f :m | f :s | d :— | — |

**65** *Iachawdwriaeth fawr.*

*p* ER maint yw angeu enaid tlawd,
A grym euogrwydd cas,
*cres.* Mwy ydyw haeddiant Crist ein Brawd
*f* A rhinwedd golud gras.

*mf* Nid yw pechodau dua'r byd,
Yn ormod i'w glanhau ;
*cres.* Mae haeddiant llawn ei Aberth drud,
A'i effaith yn parhau.

*f* Anfeidrol lawnder gras fy Nuw,
'Does terfyn iddo byth ;
Mae'n fwy nag eisieu dynol ryw,
Yn wleddoedd pur dilyth.

*f* O ! doed preswylwyr nef y nef,
A phawb is awyr las,
Yn unol mewn hyfrydol lef,
I ganmol golud gras.

I. Lleyn.

**66** *Deuwch i'r Dyfroedd.*

*mf* AWN bechaduriaid at y dŵr
A darddodd ar y bryn ;
Ac ni gawn yfed byth, heb drai,
*cres.* O'r ffrydiau gloywon hyn.

*mf* Mae yma drugareddau'n rhad,
I'r tlawd a'r llariaidd rai ;
A rhyw fendithion maith yn 'stor
*cres.* Sydd fythol yn parhau.

*f* 'Does yma eisieu byth yn bod,
Trysorau gras yn llawn,
Er maint yw'r yfed a'r glanhau,
Sydd foreu a phrydnawn.

W. W.

**67** *Mawrygu Cariad Duw.*

*mf* UWCH pob rhyw gariad is y nef
Yw cariad pur fy Nuw ;
Anfeidrol foroedd dyfnion maith,
Heb fesur arno yw.

*mf* Dechreuodd draw cyn creu y byd,
Fe bery byth yn mlaen ;
Heb un cyfnewid, ac heb drai,
Pan elo'r byd yn dân.

*f* O ! deuwch, gwelwch, chwiliwch ef,
Anfeidrol gariad mawr,
Ag sydd yn maddeu miloedd myrdd
O feiau yn yr awr.

W. W.

**68** *Erfyn am arddeliad Dwyfol.*

*mf* O ! FRENIN nef a daear lawr
Mor werthfawr yw dy wedd,
Rho ini brawf ar hyn o bryd,
O'th nefol hyfryd hedd.

*mf* Goleua Di ein deall gwan
Yn mhob rhyw ran o'th waith ;
Datguddia 'nawr i'th anwyl blant
Dy fawr ogoniant maith.

*mp* Anwylaf Dad ! O ! arddel Di
Y genadwri hon,
*cres.* Nes llanwo gwir wybodaeth glau
Holl gyrau'r ddaear gron.

R. ab G. Ddu.

69 *Croeshoeliad Crist.*

*mp* BODDLONODD pawb, trwy 'r nef a'r llawr
Groeshoelio'r Oen ar bren;
*cres.* Mae'r 'wyllys genyf finau'n awr
*f* 'Roi'r goron ar ei ben.

*f* Mae canu uchel am ei waed
Yn nghanol nefoedd fry;
A nofio yn ei gariad rhad
Y mae aneirif lu.

AN.

70 *Noddfa a nerth.*

*f* DUW sydd yn nerth a noddfa i ni,
Yr Arglwydd hylwydd hael;
Yn mhob cyfyngder clyw ein cri,
Mae'n gymhorth hawdd ei gael.

*f* Am hyn nid ofnwn ar fy nhaith,
Dan aden gref fy Iôr,
Pe treiglid y mynyddau maith
I eigion dwfn y môr.

*p* Er rhuo a therfysgu 'nghyd
Ei ddyfroedd hyd y nef,
Nes cryno holl fynyddau'r byd
Gan rym ei ymchwydd ef.

*f* Mae afon fawr a'i ffrydiau sydd
Yn lloni dinas Duw;
Diogelwch bythol yno fydd,
Preswylfa'r Arglwydd yw.

R. J.

71 *Yr afael sicraf fry.*

*p* DYWEDWYD ganwaith na chawn [fyw
Gan anghrediniaeth hy';
*cres.* Ond ymddiriedaf yn fy Nuw—
*f* Mae'r afael sicraf fry!

*mf* Cyfamod Duw, a'i arfaeth gref,
Yn gadarn sydd o'm tu;
*cres.* Anghyfnewidiol ydyw Ef—
*f* Mae'r afael sicraf fry!

*p* Er beiau mawrion, rif y dail,
A grym euogrwydd du,
*cres.* Iawn ac eiriolaeth Crist yw'm sail—
*f* Mae'r afael sicraf fry!

*mf* Fy ngobaith mewn trugaredd rad,
Fel angor deil yn gry';
*cres.* A diogel wyf yn llaw fy Nhad—
*f* Mae'r afael sicraf fry!

72 *Ail Ran*

*mf* MI äf yn mlaen, o nerth i nerth,
Er maint y rhwystrau sy';
*cres.* Crist yw Preswylydd mawr y berth—
*f* Mae'r afael sicraf fry!

*mf* Rhagluniaeth fawr y nef, o'm plaid
Ei holl olwynion try;
*cres.* Agorai 'r môr, pe byddai raid—
*f* Mae'r afael sicraf fry!

*mf* Caf floeddio concwest yn y man,
Pob gelyn draw a ffy;
*mp* Can's er nad ydwyf fi ond gwan,
*cres.* Mae'r afael sicraf fry!

*f* Fy Iesu 'n iach a'm dwg i'r lan
O'r hen Iorddonen ddu;
*cres.* Byth, byth, caf sefyll yn fy rhan—
*ff* Mae'r afael sicraf fry!

PEDR FARDD.

73 *Coronau lawer.*

*mf* CLODFORWCH enw Mab Duw Ion
Angylion gwynion gwawr;
*cres.* O! deuwch a choronwch Ef
*f* Yn Llywydd nef a llawr!

*mf* Seraphiaid nef, pob un â'i dant,
Dan ganu moliant mawr,
*cres.* O! deuwch a choronwch Ef
Yn Llywydd nef a llawr!

*mp* Ei chwerwaf angeu, byth na bo
I'w saint anghofio 'r awr;
*cres.* O! deuwch a choronwch Ef
*f* Yn Llwydd nef a llawr!

*f* Pob llwyth ac iaith, hil Adda i gyd,
Trwy 'r holl gwmpasfyd mawr,
*cres.* O! deuwch a choronwch Ef
*ff* Yn Llywydd nef a llawr!

J. H., LL.

74 *Cyflawnder Crist.*

*mf* PAN sycho'r moroedd dyfnion maith,
Pan syrthio sêr y nen;
Yr Hwn fu farw ac sydd fyw,
Ar Seion fydd yn ben.

*mf* Bendithion rif y tywod mân,
A gwlith y bore wawr,
*cres.* Yn nghadw i'r ffyddloniaid sydd,
*f* Byth yn eu Harglwydd mawr.

*ff* Aed enwau'r byd i gyd yn ddim,
Dyrchafer Brenin nef;
Mae pob cyflawnder, gras, a grym,
Yn trigo ynddo Ef.

M. R.

# BROOKLYN. M.C.

*Doh* B♭. M. 52. L. Mason, 1792—1872.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| :S, | s,.d :m :r | d .l, :s, :S, | s,.d :m :d | r :— |
| :M, | m,.s, :s, :f, | m,.f, :m, :M, | s,.s, .m, :m, | s, :— |
| :D | d .m :d :t, | d .d :d :D | d .m :d :d | t, :— |
| :D, | d,.d, :d :s, | l,.f, :d, :D, | m,.d, :d :l, | s, :— |

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| :F | m .r :d :r | m .d :l, :S, | s,.d :m :r | d :— |
| :L, | s,.f, :m, :s, | s,.s, :f, :R, | m,.m, :s, :f, | m, :— |
| :D | d .t, :l, :t, | d .d :d :T, | d .d :d :t, | d :— |
| :F, | d .s, :l, :s, | d,.m, :f, :S, | m,.l, :s, :s, | d, :— |

75 *Hyfrydwch yn Nghrist.*

*f* IESU! difyrwch f'enaid drud,
Yw edrych ar dy wedd;
Ac mae llyth'renau'th enw pur
Yn fywyd ac yn hedd.

*mf* O dan dy aden dawel-bur
'Rwyf yn dymuno byw,
Heb ymbleseru fyth mewn dim,
Fel cariad at fy Nuw.

'Does genyf ond dy allu mawr
I'm nerthu fyn'd yn mlaen;
*cres.* Dy iachawdwriaeth yw fy ngrym,
Fy nghoncwest a fy nghân.

*mf* Melusach nag yw'r diliau mêl,
Yw mynyd o'th fwynhau;
Ac nid oes genyf bleser sydd,
Ond hwnw yn parhau.

W. W.

76 *Cyfeillion ymadawedig.*

*mf* MAE pererinion draw o'm blaen
Yn canu'r anthem bur;
Ac heddyw'n edrych fel o bell,
Ar dd'rysni'r diffaeth dir.

*mf* Maent hwy'n rhyfeddu'r dwyfol ras
A'u nerthodd ar eu taith;
A chanu cariad addfwyn Oen,
Yn ddibaid yw eu gwaith.

*cres.* O! nertha finau i edrych draw,
Heb wyro o un tu;
Nes imi gyrhaedd mewn i byrth
Caersalem newydd fry.

*f* Rho'r delyn euraidd yn fy llaw,
Ac yn fy ysbryd dân;
Ac yn mheryglon anial dir,
Erfyniau pur a chân.

W. W.

77 *Crist yn gado'r byd dan fendithio.*

*mf* DAETH Iesu Grist o'r nefol dir
A llon'd ei galon fwyn
O gariad at drigolion llawr,
*p* A marw er eu mwyn.

*mf* 'Rol gorphen ar ei boenus waith,
Esgynodd fry mewn hedd,
Gan lwyr fendithio'r plant oedd drist,
A bywyd yn ei wedd.

*mf* Coleddu a bendithio'r saint
Yw ei hyfrydaf waith;
*f* Ni threulia' stor y fendith fawr,
I dragwyddoldeb maith.

GOMER.

78 *Iawn y Cyfryngwr.*

*mp* DAN bwys ein bai yn dyoddef poen
Bu'r Oen ar Galfari;
Gwnaeth i gyfiawnder, dan ei gur,
*cres.* Iawn yn ein natur ni.

*mp* A thrwy yr Iawn, mae'r Ysbryd Glân,
Yn puro'r aflan rai;
*cres.* Trwy'r Iawn, bydd myrdd ar ben eu taith
Yn berffaith heb un bai.

*mf* Ar sail yr Iawn, mae Crist ei hun
Yr eiriol yn y nef;
*f* Wel dyma Iawn, na thraetha neb
*cres.* Ei anfeidroldeb ef!

GWILYM PADARN.

## Rhif 18. TOTTENHAM. M.C.

Doh G. M. 60.

```
S  :s .f |m  :d  |l  :l  |s  :S  |f  :r  |m  :f .r |d  :— |t,  :— ||
D  :r .t,|d  :s, |l,.t,:d .r |m  :De |r  :t, |d  :l,  |s, :— |—   :— ||
M  :r .r |d  :s  |f  :f  |m  :M  |f  :s  |s  :l .f |m  :— |r   :— ||
D  :t,.s,|d  :m, |f,.s,:l,.t,|d  :L, |r  :s, |d  :f,  |s, :— |—   :— ||

S, :l,.t,|d  :d  |r  :m  |f  :L  |s  :f .r|d  :t,  |d  :— |—   :— ||
R, :m,.s,|s, :m, |s, :s, |f, :D  |d  :l, |s, :s,  |s, :— |—   :— ||
T, :d .r |d  :d  |t, :d  |d  :D  |s  :l .f|m  :r   |m  :— |—   :— ||
S, :s,.f,|m, :l, |s, :d  |l, :F, |m, :f, |s, :s,  |d, :— |—   :— ||
```

### 79 *Moliant i'r Oen.*

*f* CYDUNWN a'r angylion fry,
Ein tanau yn gytûn ;
*cres.* Deng mil o filoedd yw eu cân,
Er hyn nid yw ond un.

*mf* Os ydyw'r Oen fu farw'n sail
Eu holl ganiadau hwy,
*cres.* Mae'n haeddu am farw drosom ni
*f* Ein mawl fil filoedd mwy.

*mf* Efe yn unig biau'r mawl,
Drwy ddwyfol hawl ddilyth,
A chlod uwch law a allwn ni
Ei roddi iddo byth.

*f* Cyduned pob creadur byw,
Uwchlaw ac is y nen,
I roddi ynghyd, can s teilwng yw,
Y goron ar ei ben.

WATTS—CYF.

### 80 *Teilwng yw'r Oen.*

*f* DEWCH, unwn ein caniadau pêr
A'r côr o gylch y fainc ;
Myrdd, myrdd dafodau sy iddynt hwy,
Ond un yw'r nefol gainc.

*f* Teilwng yw'r Oen, yw'u testyn hwy
'Gael grym dyrchafiad cân ;
Teilwng yw'r Oen, yw'n hateb ni,
Dros ddyn bu farw'n lân.

*f* Teilwng yw'r Iesu mawr o glod,
A dwyfol barch uwch nen ;
A chlodydd mwy nas gallwn roi
Goronant fyth ei ben.

*f* Yr holl greadigaeth, uno mae
Mewn per-lewygol dôn,
I foli 'r Hwn sydd ar y fainc,
A gwir ddyrchafu 'r Oen.

WATTS—CYF.

### 81 *Duw, Cariad yw.*

*f* CYDUNED yr angylaidd gôr
A llwythau dynolryw,
*cres.* I ganu 'n llon â llafar lef—
Mai Cariad ydyw Duw.

*mf* Eglura gwirioneddau 'i air
Ei drugareddau gwiw,
*cres.* Ac angeu Crist dros euog ddyn—
*f* Mai Cariad ydyw Duw.

*mf* Dwyn rhyfedd waith ei ras yn mlaen
Mewn calon ddrwg ei lliw,
*cres.* A ddengys trwy 'r eglwysi oll—
*f* Mai Cariad ydyw Duw.

*mf* Fy enaid clwyfus, na lesgha,
Mae modd i wella 'th friw ;
*cres.* Ti gefaist achos da i ddyweyd—
*f* Mai Cariad ydyw Duw.

GOMER.

Rhif 19. ST. STEPHEN. M.C.

*Doh* A. M. 66. Parch W. Jones, 1726–1800.

```
:D  |s   :m    |d   :r.d    |t,  :d      |r   :M.f   |s   :d.r   |m   :r   |d   :—  |—  ||
:S, |s,  :s,   |l,  :l,     |s,  :s,.fe, |s,  :S,    |s,  :l,    |d   :t,  |d   :—  |—  ||
:M  |r   :d    |m   :f.m    |r   :d      |t,  :D     |d   :m.f   |s   :f   |m   :—  |—  ||
:D  |t,  :d    |l,  :f,     |s,  :l,     |s,  :D     |m,  :l,    |s,  :s,  |d,  :—  |—  ||

:M  |f   :r    |m   :f      |s   :r.d    |t,  :L,    |s,  :d.r   |m   :r   |d   :—  |—  ||
:S, |l,  :s,   |s,  :d      |d   :l,     |s,  :F,    |m,  :m,.f, |s,  :f,  |m,  :—  |—  ||
:D  |d   :t,   |d   :d      |d   :f.m    |r   :D.r   |m   :d     |d   :t,  |d   :—  |—  ||
:D  |f,  :s,   |d   :l,     |m,  :f,     |s,  :L,.t, |d   :l,    |s,  :s,  |d,  :—  |—  ||
```

**82** *Anogaeth i foli.*

*f* DEWCH, bawb sy'n caru enw'r Oen,
Deffrown alluoedd cân ;
I Frenin calon saint rhown fawl,
Ymgrymwn oll o'i flaen.

*mf* Ein Brenin yw, a'n Ceidwad mawr,
Ein Priod mwyn dilyth ;
Ei bur ogoniant leinw'r nef,
Ei deyrnas bery byth.

*f* Doed holl dafodau'r byd a chlod
Dibaid i'n Brenin glân ;
Pan byddo Crist yn destyn mawl,
Pwy ddichon wrthod cân ?

Gomer.

**83** *Myned yn hyf at Orsedd Gras.*

*mf* MAE pyrth y nef o led y pen,
Mi welaf fôr o waed,
Lle gallwyf fi'r ffieiddiaf ddyn,
Yn hollol gael iachad.

*mf* Mae'r orsedd fawr yn awr yn rhydd,
Gwrandewir llais y gwan ;
*cres.* Wel, cyfod bellach, f' enaid prudd,
Anadla tua'r lan.

*mf* 'Nawr anfon eirchion aml ri'
I mewn i byrth y nef ;
*cres.* Gwrandewir pob amddifad gri
Yn union ganddo Ef.

W. W.

**84** *Etifeddiaeth y plant.*

*mf* PLANT ydym eto dan ein hoed,
Yn dysgwyl am y stâd,
*cres.* Mae'r etifeddiaeth i ni'n do'd
*f* Wrth Destament ein Tad.

*mf* Mae gwlad o etifeddiaeth deg,
Yn aros pawb o'r saint ;
Ni ddichon dyn nac angel byth,
Amgyffred gwerth eu braint.

*f* Cydetifeddu gaiff y plant
A Christ—Etifedd nen ;
Cânt balmwydd gwyrddion yn eu llaw,
A choron ar eu pen.

W. W.

**85** *Hiraeth y Cristion am y nef.*

*mf* HIRAETHU'R wyf ar lawer tro,
Wrth ddringo Nebo'n awr ;
Am gael o draw rhyw oleu drem,
Ar furiau Salem fawr.

*mp* Os mwy yw'r galar nag yw'r gân,
Yn awr mewn anial fyd,
*cres.* Fe fydd y canu yn y man
Yn fwy na'r gwŷn i gyd.

*mf* 'Rol cyrhaedd caerau Salem bur,
Y rhôd fydd wedi troi ;
*f* Ceir yno wynfyd yn lle gwae,
A galar wedi ffoi.

An.

86 *Y Gair.*

mf MOR werthfawr yw y gair a ddaeth
Trwy ysbrydoliaeth Duw ;
Athrawiaeth hwn sy'n ddidwyll oll ;
Ein llusern digoll yw.

mf Ei brophwydoliaeth gu, heb goll,
Sy'n gywir oll i gyd ;
Tystiolaeth Iesu ger ein bron
Yw ysbryd hon o hyd.

mf Holl addewidion Duw, a'i waith,
Er oesoedd maith a fu ;
Ac athrawiaethau mawrion gras,
Sy'n addas iawn i ni.

AN.

87 *Mawl i'r Gwaredwr.*

f O! AM dafodau fil mewn hwyl,
I seinio gyda blas,
Ogoniant mawr fy Mhrynwr gwiw,
A rhyfeddodau 'i ras.

mf Fy ngrasol Arglwydd a fy Nuw!
Rho gymorth, er dy glod,
cres. I ddadgan mawl i'th enw gwiw,
f Trwy bob man is y rhod.

mf Dy enw Di, O Iesu mad!
A lawenycha 'n gwedd,
Pêr sain yn nghlust pechadur yw,
Mae'n fywyd ac yn hedd.

WESLEY—CYF.

88 *Helaethiad teyrnas Crist.*

mf O! DOED teyrnasoedd byd yn rhwydd
Yn eiddo'n Harglwydd ni ;
cres. Trwy'r ddaear caner heb nacâu
Am angeu Calfari.

f Gwregysa 'th gleddyf ar dy glun
O gadarn Un! yn awr ;
cres. Mewn llwyddiant marchog is y rhod,
Ti wyt i fod yn fawr.

R. E.

89 *Gwynfyd y nef.*

mf MOR ddedwydd yw y dyrfa fawr,
Sydd yn y gwynfyd draw,
Mewn gynau gwynion fel y wawr,
A'u palmwydd yn eu llaw!

f O ffrydiau'r afon yfant byth,
Bwytânt o ffrwyth y pren :
A'u gwynfyd bery yn ddilyth,
Tra pery'r nefoedd wen.

WESLEY—CYF.

90 *Duw yn unig gymhorth.*

f O! RHODDWCH fawl i Frenin nef,
Molienwch Ef ynghyd ;
Fy enaid! mola 'r Arglwydd Dduw,
Tra byddwyf yn y byd.

mf Mae 'n barnu 'r gorthrymedig oll,
Mae'n gymhorth digoll, da ;
Rhyddhäwr y caethion yw Duw Iôn,
Goleuo 'r deillion wna.

mf Cynaliwr gweiniaid euog, gwael,
Yw 'r Arglwydd hael o hyd ;
cres. Yr holl genhedloedd is y nef,
f Molienwch Ef ynghyd!

AN.

91 *Haul o'r uchelder.*

f LLEWYRCHED pur oleuni 'r nef
Dros wyneb daear faith ;
Ac aed efengyl gadarn, gref,
At bob rhyw lwyth ac iaith.

f Doed deau, gogledd, dwyrain faith,
Gorllewin o un fryd,
I edrych ac brydferthwch gwaith
Iachawdwr mawr y byd.

J. H. D.

92 *Daioni Duw.*

mf GWAITH hyfryd yw clodfori'r Iôn,
Ei ras a'i hedd di-lyth ;
O oes i oes ei fawl a rêd,
Mewn sain gorfoledd byth.

mp A'i fawr haelioni llenwi mae
Drigfanau pur y nef,
A llwythir euog blant y llawr
A'i ddoniau gwerthfawr Ef.

mf Am fawr ddaioni Brenin nef
Dyrchafwn uchel glod,
Can's ynddo'r ydym oll yn byw,
Yn symud, ac yn bod.

p Ond wrth roi 'i Fab i angeu'r groes
Dros ddeiliaid gwae a'r bedd,
cres. Dadguddir ei ddaioni pur
Yn ei ddysgleiriaf wedd.

p O Dduw! pa beth a dalwn ni
Am dy annhraethol ddawn?
cres. Rhy fach yw mawl holl luoedd nef
I draethu 'th glod yn llawn.

GOMER.

Rhif 20. ST. LEONARD. M.C.

Doh C. M. 72. H. Smart, 1812—1879.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | s :m | l :s | l :t | d' :R' | m' :d' | t :l | s :— | — |
| :M | m :d | d :d | f :f | m :S | s :l | s :fe | s :— | — |
| :D' | d' :s | f :s | f :f | s :T | d' :m' | r' :d' | t :— | — |
| :D | d :d | f :m | r :r | d :S | d :d | r :r | s :— | — |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :R' | t :s | d' :r' | m' :d' | l :R' | s :d' | d' :t | d' :— | — |
| :S | s :r | s :s | s :s | d :F | m :m | r :r | m :— | — |
| :T | r' :t | d' :t | d' :s | l :L.t | d' :d' | l :s | s :— | — |
| :S | s :s.f | m :s | d' :m | f :R | m :l | f :s | d :— | — |

93 *Dydd yr Arglwydd.*

*f* MOLIANWN enw Iesu mawr,
Ar ei sancteiddiaf ddydd;
Daeth Ef, ar doriad boreu wawr,
O rwymau angeu'n rhydd.

*mf* Mae'r beddrod tywyll, prudd, yn awr,
Yn oleu i deulu Duw,
*f* Tywyna drwyddo nefol wawr,
Mae'r Ceidwad eto'n fyw!

*mf* Ei adgyfodiad Ef o'r bedd,
Yw'r fuddugoliaeth sydd,
Yn gadarn sail tragwyddol hedd,
Holl etifeddion ffydd.

*mf* Yr Iawn anfeidrol roddodd Ef
Drwy ei farwolaeth ddrud,
A lwyr foddlonodd hawliau'r nef
Ar ran colledig fyd.

*cres.* Doed dylanwadau'r Ysbryd Glan,
Sancteiddied ni i gyd,
I seinio gorfoleddus gân,
Am goncwest bena'r byd.

M.

94 *Duw, cariad yw.*

*mf* DOED dynol ryw dros dir a môr,
A'r nef mewn clodydd byw,
*cres.* I ganu'n beraidd yn un côr,
*p* Mai cariad ydyw Duw.

*mf* Mae hanes dyoddefiadau'r groes,
Yn achub dynol ryw,
*cres.* Yn dweyd yn uchel wrth bob oes,
*p* Mai cariad ydyw Duw.

*mf* Caniadau'r nefoedd fawr dros byth,
Mewn moliant o iawn ryw,
*cres.* A gydfynegant yn ddilyth,
*p* Mai cariad ydyw Duw.

*mf* Mewn cariad boed i ninau i gyd
Ddyrchafu'i enw gwiw;
*cres.* A thaenu hefyd dros y byd,
*f* Mai cariad ydyw Duw.

R. J.

95 *Enw Iesu.*

*mf* YR Iesu glan, ein Prynwr ni,
Yw bywyd nef y nef,
*f* Anrhydedd, golud, parch a bri,
Geir yn ei enw Ef.

*p* Euogrwydd sydd fel mynydd mawr,
Yn cuddio gwenau'r nef,
*f* Ond tawdd yn llwyr, mewn mynyd awr,
Dan haul ei enw Ef.

*p* Pan fo'r pererin ar ei daith,
Mewn anial gwag o dref,
*f* Cwyd ffynon fywiol ar ei waith,
Yn cofio'i enw Ef.

*mf* Mae'r cread oll fel telyn fwyn,
A rydd beroriaeth gref,
Dim ond i'r tànau gael eu dwyn
I gwrdd a'i enw Ef.

Cernyw.

## 96 *Y dyrfa waredigol.*

*mf* O DDUW! rho imi aden ffydd,
I 'hedeg uwch y nen;
A gwel'd y gwynfyd yno sydd,
Gan seintiau'r nefoedd wen.

*mp* Galarwyr fuont fel nyni,
Yn myd yr anial maith;
A chaled iawn yr ymdrech fu,
Ac ofni lawer gwaith.

*mp* Gofynaf, O ba le y daeth
Y goncwest iddynt hwy?
*f* Atebant, "Buddugoliaeth gaed
Trwy rinwedd marwol glwy'."

*f* Dilyn a wnaethant ol ei droed,
Yn ffyddlon yn y byd;
A pherffaith ddedwydd fyddant byth,
Yn yr orphwysfa glyd.

An.

## 97 *Gallu Duw.*

*mf* O! RYFEDD nerth y cadarn Iôr,
Plyg anian ger ei fron;
*mp* Ei air yw deddf yr eang fôr,
A'i amnaid ddofa'r dòn.

*p* Wrth sŵn ei draed mynyddoedd ffy,
Y bryniau gryma'u pen;
Gan ryfedd rym ei gorwynt cry'
Y sigla seiliau'r nen.

*mf* Ymbwysa, f' enaid, ar ei nerth,
Yn mhob rhyw 'storm a ddaw;
*cres.* Fe'th arwain dros y rhiwiau serth
*f* I Salem yn ei law.

An.

## 98 *Cynaliaeth digonol o Ras.*

*mf* MAE 'ngolwg acw tua'r wlad
Lle mae fy heddwch llawn;
*cres.* Ac 'rwyf am brofi 'i gwleddoedd pur
O foreu hyd brydnawn.

*mf* 'Ddiffygiaf ddim, er c'yd fy nhaith,
Tra paro gras y nef;
Ac er mor lleied yw fy ngrym,
*f* Mae digon ynddo Ef.

W. W.

## 99 *Mawl i Dduw.*

*mf* YN wresog unwn oll yn awr,
Mewn pêr soniarus iaith,
I ddadgan clod ein Lluniwr mawr,
Can's gweddus yw y gwaith.

*mf* Mae pob creadur yn ei ryw,
Yn uchel ddweyd yn nghyd,
Mai yr anfeidrol fywiol Dduw
Yw'r Bôd a wnaeth y byd.

*mf* Awn at ei borth—am danom gŵyr,
Gofynwn am ei ddawn;
Ei lid sydd golledigaeth lwyr,
Ei ras sydd fywyd llawn.

R. E.

## 100 *Haeddiant Crist.*

*mf* NIS gall angylion pur y nef,
A'u doniau aml hwy,
Fyth osod allan haeddiant llawn
Anfeidrol farwol glwy'.

*p* Dyoddefodd angeu, dygn boen,
A gofir tra bo 'r nef;
*cres.* Fy nerth, fy nghyfoeth, a fy mraint,
*f* A'm noddfa lawn yw Ef.

*mf* Mae yn ei haeddiant bethau mwy
Na fedd y byd yn un;
*f* A phrawf o'i gariad ydyw 'r fraint
Oruchaf gafodd dyn.

*mp* Gad imi brofi 'th nefol hedd
Yn mhob anadliad pur;
Ac felly myn'd o'r byd i'r bedd
Mewn hûn nefolaidd wir.

W. W.

## 101 *Dysgwyl wrth yr Arglwydd.*

*mf* MAE addewidion, melus wledd,
Yn gyflawn ac yn rhad,
Yn y cyfamod pur o hedd,
Tragwyddol ei barhâd.

*mf* 'Rwyf finau yn dymuno d'od;
I'r wledd ddanteithiol fras;
*cres.* Ac felly mi gaf seinio clod
Am ryfedd rym ei ras.

*mf* O! rhwyma fi wrth byst dy byrth,
I aros tra bwyf byw,
I edrych ar dy wedd a'th wyrth,
A'th foli Di, fy Nuw!

*mf* Tydi fo'm cymhorth parod iawn,
I'm cynal ar fy nhaith;
*cres.* A Thi dy hun fo 'm trysor llawn
I dragwyddoldeb maith!

T. J.

Rhif 21. **WILTSHIRE.** M.C.

*Doh* B♭. M. 76. Sir G. T. SMART, 1776—1867.

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :$S_1$ | $s_1$:—:d | d :$t_1$ :d | f :m :r | m :—:$S_1$ | $s_1$:—:$s_1$ | $s_1$ :m :d | d :$t_1$ |
| :$M_1$ | $s_1$:—:$s_1$ | $s_1$:—:$m_1$ | $l_1$:$s_1$ :$s_1$ | $s_1$:—:$M_1$ | $f_1$:$m_1$ :$r_1$ | $s_1$ :— :$m_1$ | $s_1$:— |
| :D | d :—:m | m :r :d | d :—:$t_1$ | d :—:D | r :d :$t_1$ | d :— :d | r :— |
| :$D_1$ | $m_1$:—:$d_1$ | $s_1$:—:$l_1$ | $f_1$:$s_1$ :$s_1$ | $d_1$:—:$D_1$ | $t_2$:$d_1$ :$f_1$ | $m_1$ :$d_1$ :$l_1$ | $s_1$:— |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :R | d :—:$t_1$ | d :—:r | m.d:f :m | m :r :M | $l_1$:—:r | $t_1$ :-.$l_1$:$t_1$ | d :— |
| :$S_1$ | $s_1$:—:$s_1$ | $m_1$:—:$s_1$ | $s_1$ :—:$s_1$ | $s_1$:—:$S_1$ | $f_1$:—:$l_1$ | $s_1$ :— :$s_1$.$f_1$ | $m_1$:— |
| :$T_1$ | d :—:r | d :—:$t_1$ | d :r :d | d :$t_1$ :D | d :—:$l_1$ | r :— :r | d :— |
| :$S_1$ | $m_1$:—:$s_1$ | $l_1$:—:$s_1$ | d :$t_1$ :d | $s_1$:—:$D_1$ | $f_1$:—:$f_1$ | $s_1$ :— :$s_1$ | $d_1$:— |

## 102 *Y Morwr ysbrydol.*

*mf* RWY'N morio tua chartre'm Nêr,
Rhwng tonau maith yn byw;
Fy neges benaf dan y sêr
Yw 'mofyn am fy Nuw.

*p* Mae'r gwyntoedd yn fy nghuro i'n ol,
A finau 'dwyf ond gwan;
O! cymer, Iesu fi'n dy gol,
Yn fuan dwg fi'r lan.

*cres.* Na âd ar aswy nac ar dde
I'm redeg o dy flaen;
Ond dilyn llwybrau Brenin nef,
Trwy ddyfnder dw'r a thân.

W. W.

## 103 *Tyred gyda ni.*

*mf* YMDEITHIO 'r ym wrth arch ein [Tad,
I'r Ganaan nefol fry;
*cres.* A ddeui dithau i'r un wlad?
*p* O! tyred gyda ni.

*mf* Gwlad ydyw hon sy'n llifo'n hael
O laeth a mêl yn lli';
*cres.* 'Does ynddi neb yn glaf na gwael,
*p* O! tyred gyda ni.

*mf* Cei ar dy daith ymgeledd glau,
O ffrydiau Calfari,
*cres.* A'th geidw'n llon rhag llwfrhau,
*f* O! tyred gyda ni.

R. E.

## 104 *Mordwyo mewn hyder.*

*mf* AR fôr tymhestlog teithio'r wyf,
I fyd sydd well i fyw;
*cres.* Gan wenu ar ei 'stormydd oll—
*p* Fy Nhad sydd wrth y llyw.

*mf* Er cael fy nhaflu o dòn i dòn,
Nes ofni bron cael byw;
*cres.* Diangol ydwyf hyd yn hyn—
*p* Fy Nhad sydd wrth y llyw.

*mp* Ac os oes 'stormydd eto'n ol,
Yn nghadw gan fy Nuw,
*cres.* Wynebaf arnynt oll yn hy'—
*p* Fy Nhad sydd wrth y llyw.

*mp* O fewn y porthladd tawel, clyd,
O swn y 'storm a'i chlyw,
*cres.* Y caf fynediad llon ryw ddydd—
*f* Fy Nhad sydd wrth y llyw.

I. G. GEIRIONYDD.

## 105 *Testyn mawl.*

*mf* MOLIANU Duw sydd hyfryd waith,
A'n dyled benaf ni;
A chalon bur, a nefol iaith,
Rhown iddo Ef ei fri.

*mf* Daeth cariad Duw a gras a hedd,
I euog lwch y llawr;
*f* Rhagorach testyn mawl ni fedd
Trigolion nef yn awr.

R. E.

## Rhif 22. ST. PETER. M.C.

*Doh* E♭. M. 66. A. R. Reinagle, 1799—1877.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | d' :t | l :s | s :f | m :M | r :d | f :m | r :— | — |
| :D | m :m | d :d | r :$t_1$ | d :D | $l_1$ :$s_1$ | $t_1$ :d | $t_1$ :— | — |
| :M | s :s | f :s | s :s | s :S | f :s | s :s | s :— | — |
| :D | d :m | f :m | $t_1$ :$s_1$ | d :D | f :m | r :d | $s_1$ :— | — |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | f :m | l :s | s :f | m :D | m :r | d :$t_1$ | d :— | — |
| :D | d :d | d :d | r :r | d :$L_1$ | d :$l_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :— | — |
| :S | l :s | f :s | l :t | d' :M | s :f | m :r | m :— | — |
| :D.$ta_1$ | $l_1$ :d | f :m | r :$s_1$ | $l_1$ :$L_1$ | $m_1$ :$f_1$ | $s_1$ :$s_1$ | d :— | — |

### 106 *Undeb y Gwaredigion.*

*mf* MAE brodyr imi aeth yn mlaen,
Yn holliach a chytûn;
*cres.* Deng mil o filoedd yw eu cân,
Er hyn nid yw ond un.

*mf* Mae pawb o'r brodyr yno'n un,
Heb neb yn tynu'n groes,
Yn moli'r Duwdod yn y dyn,
*mp* A chofio'i angeu loes.

*mf* Ni theimlir yno unrhyw boen,
Ni chwynir gan un clwy';
*f* Ond pawb mewn hwyl yn moli'r Oen,
I dragwyddoldeb mwy.

D. M.

### 107 *Y Newydd am y Gwaed.*

*mf* MAE clywed newydd am y gwaed
Yn llifo ar Galfari,
*cres.* Yn un o'r pethau mwya'u gwerth
A fedd ein daear ni.

*mf* Fe ddaw'r blynyddoedd pur i ben
Pan d'wyno efengyl gras,
Fel haul dysgleirwyn yn y nen,
Yn gylch i'r ddaear las.

*f* Ac mi ddysgwylia'r hyfryd awr,
Boreuddydd Jubili;
Pan ddelo holl dylwythau'r byd
I deithio i Galfari.

W. W.

### 108 *Crefydd mewn ieuenctyd.*

*mf* YR olwg harddaf dan y nef
Yw gwel'd ieuenctyd lu,
Yn codi 'r groes a dilyn Crist,
Yn llwybrau 'r nefoedd fry.

*mp* Pob awr o oedi, ie'nctyd hardd,
Awr dost o golled yw;
*cres.* Mwy gwerth yw crefydd bur na'r byd,
Wrth farw ac wrth fyw.

Gomer.

### 109 *Ei ffyrdd sydd yn y môr.*

*mf* TRWY ddirgel ffyrdd mae'r Arglwydd [Iôr
Yn dwyn ei waith i ben,
Ei ystafelloedd sy'n y môr,
Mae 'n marchog gwynt y nen.

*mf* Dyfnderoedd anchwiliadwy oll
Yw cûdd fwriadau Duw,
Cyflawna 'i arfaeth yn ddigoll—
Yr Hollalluog yw.

*mf* Y saint, un niwed byth ni chant,
Cymylau dua'r nen
Sy'n llawn trugaredd, gwlawio wnant
Fendithion ar eu pen.

*mf* Na farna Dduw a'th reswm noeth,
Crêd yn ei gariad rhad:
Tu cefn i lèn rhagluniaeth ddoeth
Mae gwenau gwyneb Tad.

*f* Goruchel amcan arfaeth gras
Ar fyr addfeda 'n llawn,
*mf* Er fod i'r blodau chwerw flas,
*f* Ffrwyth melus fydd y grawn.

Cowper—Cyf.

# FARRANT. M.C.

Doh G. M. 66. R. FARRANT, 1530—1581.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D | d :r | m :r | d :f | r :R | m :s | s :fe | s :— | — |
| :S, | l, :t, | d :t, | l, :d | t, :T, | d :t, | r :-.d | t, :— | — |
| :M | m :s | s :s | m :l | s :S | s :s | l :l | s :— | — |
| :D | l, :s, | d :s, | l, :f, | s, :S, | d :m | r :r | s, :— | — |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D | f :f | m :r | d :r | t, :M | l, :d | d :t, | d :— | — |
| :D | l, :s, | s, :t, | l, :l, | s, :S, | f, :m,.f, | s, :s, | s, :— | — |
| :M | r :r | m :s | m :f | r :D | d :d | r :r | m :— | — |
| :D | d :t, | d :s, | l, :f, | s, :D, | f, :l, | s, :s, | d :— | — |

## 110 *Yn agos ato Ef.*

*mf* MOLIANWN ein Gwaredwr mawr,
A gorfoleddus lef,
*cres.* A choder ein serchiadau'n awr,
Yn agos ato Ef.

*mf* O'i ras fe'n carodd cyn ein bod,
Gadawodd orsedd nef,
*p cr.* I farw, fel y gallem ddod
Yn agos ato Ef!

*mf* Rhag maglau temtasiynau'r byd,
A saethau uffern gref,
*cres.* Mae diogelwch llawn o hyd,
Yn agos ato Ef.

*mf* Er maint yr anhawsderau gawn,
Drwy'n gyrfa tua'r nef,
*cres.* Fe lwyr orchfygwn, os parhawn
Yn agos ato Ef.

*p* Wrth deithio drwy gysgodau'r glyn,
Yn swn yr afon gref,
*cres.* Mor felus fydd cael bod pryd hyn
Yn agos ato Ef!

*f* A phan derfyna'n dyrys daith,
O! fendigedig nef,
Fydd treulio tragwyddoldeb maith
Yn agos ato Ef!

M.

## 111 *Ffynon wedi ei hagor.*

*mf* MAE ffynon hyfryd lawn o waed,
A redodd ar y bryn;
Y pechaduriaid duaf gaed
A olchir ynddi 'n wyn.

*mf* Bu 'r lleidr aflan un prydnawn
Yn edrych arni 'n llon;
*cres.* A minau olchir, sydd yn llawn
Mor frwnt ag ef, yn hon.

D. C.

## 112 *Yr Iachawdwriaeth.*

*mf* A GAIR, fe greodd Duw y byd,
A bydoedd fyrdd fel hn; [fûd,
*p* Ond Ef, mewn cnawd, fu 'n chwysu'n
Uwch iachawdwriaeth dyn.

*mf* Fe chwiliodd holl oriclau 'r nef
Am ei defnyddiau hi;
*cres.* Fe'u cafwyd yn ei galon Ef—
Ein Brawd, ein Iesu ni.

*mf* Fe'i gwnaeth i ddenu 'r dall, â chain
Brydferthwch ei gwên fyw,
*p* I swyno 'r byddar, gyda sain
Peroriaeth, fel llais Duw.

*mf* Mae 'n cynyg croesaw i ti, dlawd!
Ac ar ei gwefus lân,
*cres.* Mae anadl bywyd i bob cnawd,
A ddiffydd angerdd tân.

*f* O Iachawdwriaeth! hanfod wen,
Er wedi 'th eni o waed!
Cymhlether odlau gylch dy ben,—
*ff* Mae Satan dan dy draed.

GOLYDDAN.

## 113 *Afon Duw.*

*mf* AM gael cynauaf yn ei bryd
Dyrchafwn foliant byw:
Fe gyfoethogwyd meusydd byd
*p* Gan fendith afon Duw.

*mf* O ffynon glir haelioni'r nef,
Y tardd yn hardd a byw:
Ac am ei fawr ddaioni Ef
*p* Y dywed afon Duw.

*mf* O hon yr ŷf gronynau'r llawr,
A'r egin o bob rhyw:
Nid ydyw gemog wlith y wawr
*p* Ond dafnau afon Duw.

*mf* O! mor ddeniadol yw ei gwedd,
Gan swyn o ddwyfol ryw:
Pelydra heulwen gras a hedd
*p* Ar dònau afon Duw.

*mf* Pryd hau a medi geir o hyd,—
Bendithir dynolryw
A gwenau'r nef, holl oesau'r byd,
*p* Trwy dawel afon Duw.

CERNYW.

## 114 *Hiraeth am ryddhad.*

*p* MAE dyddiau griddfan i mi'n hir—
Caethiwed Babel fawr;
*cres.* O! na chawn deimlo 'r Jubil fwyn
Yn agor dorau 'r wawr.

*mf* Tybygwn, pe b'ai nhraed yn rhydd
O'r blin gaethiwed hyn,
*cres.* Na wnawn ond canu moliant byth
Am ras Calfaria fryn.

W. W.

## 115 *Gorphenwyd.*

*p* GORPHENWYD!—oedd yr olaf air
Ddolefai Iesu mâd;
Gogwyddo'i ben a marw wnaeth,
Mewn ing dan ŵg ei Dad.

*p* Gorphenwyd!—fe fu farw Crist
Dros feiau dynolryw;
*mf* Gorphenwyd iachawdwriaeth rad,
*cres.* Daw'r meirwon eto'n fyw.

*p* Gorphenwyd!—darfu ehwysu'r gwaed,
A'r ing hyd angeu trist;
*cres.* Gorchfygwyd holl elynion dyn,
A chododd Iesu Grist.

*mf* Gorphenwyd! — diwedd ddaeth i'r [ddeddf,
Efengyl gras a gaed;
*cres.* Hen bethau aethant heibio'n llwyr,
*f* Pob peth yn newydd wnaed.

CYNDDELW.

## 116 *Holl ddigonedd hanfod a gras Duw.*

*p* TI, Arglwydd! ydwyt oll dy hun
Fy meddiant ar y llawr;
A Thi dy hunan fydd fy oll
*cres.* O fewn i'r nefoedd fawr.

*mf* Rhyw ffynon trugareddau maith,
Diderfyn yw dy ras;
I ro'i trysorau pena'r nef
I'r tlotaf un i ma's.

*cres.* Ac ynot mi ymffrostia'n hy'
'Mod i'n gyfoethog iawn;
Am fod trysorau maith fy ngras
Fel Ti'n anfeidrol lawn.

*mf* Ac mae pob peth yn eiddo im',
Heb eisieu, ac heb drai:
Ac nid oes ddiffyg ddaw i'r lle
Y ceffir dy fwynhau.

*mf* Mae pob dymuniad, a phob chwant,
Fyth yno'n eitha' llawn;
*cres.* A thystio'r wyf nad oes ond Duw
A'm gwna yn ddedwydd iawn.

*mf* Doed y tymestloedd pena' ddêl,
Digonol gallu'r ne';
*cres.* A rhued moroedd dros y tir,
*f* Anfeidrol yw Efe.

W. W.

## 117 *Deiliaid teyrnas Crist.*

*mf* GWIR ddeiliaid teyrnas Iesu 'ynt
Rai gredant ynddo Ef;
A bedydd yw'r gweledig ddrws
I mewn i deyrnas nef.

*p* Aeth Crist ei hun trwy fedydd dwfr,
Ac yna fedydd gwaed;
*mp* Am hyny'n ddarlun mwy o'i loes
Y bedydd dwfr a wnaed.

*mf* Mae'n Frenin 'nawr ar orsedd lwys,
Yn wrthddrych mawl y nef;
*cres.* Ein calon ninau fyddo mwy
Yn orsedd iddo Ef.

*f* Teyrnased drwy'r efengyl fawr
Dros barthau daear las,
A doed trigolion daear oll
Yn ddeiliaid teyrnas gras. E. R.

Rhif 24. **BALLERMA.** M.C.

*Doh* B♭. M. 72. Alaw Ysbaenaidd, degfed ganrif.

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D | m :—:r | d :—:l, | s, :—:l, | d :—:D | m :—:r | m :s :m | r :— |
| :M, | s, :—:f, | m, :—:f, | s, :—:f, | m, :—:M, | s, :—:s, | s, :—:s, | s, :— |
| :D | d :—:t, | d :—:d | d :—:d | d :—:S, | d :—:t, | d :m :d | t, :— |
| :D, | d :—:s, | l, :—:f, | m, :—:f, | d, :—:D, | d, :—:s, | d :—:d, | s, :— |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D | m :—:r | d :—:l, | s, :—:m, | s, :—:D | m :s :m | r :m :r | d :— |
| :M, | s, :—:f, | m, :—:f, | d, :r, :m, | r, :—:S, | s, :—:s, | l, :s, :f, | m, :— |
| :D | d :—:t, | d :—:d | d :t, :d | t, :—:D | d :m :d | d :—:t, | d :— |
| :D, | d :—:s, | l, :s, :f, | m, :r, :d, | s, :—:M, | d, :—:d, | f, :s, :s, | d, :— |

## 118 *Serch ar Iesu.*

*mf* NI throf fy wyneb byth yn ol
I 'mofyn pleser gau;
Ond mi a deithiaf tua'r wlad
Sy' a'i phleser yn parhau.

*mf* Mae holl deganau 'r ddaear hon,
Fu gynt yn fawr eu grym,
Yn ngwydd fy Iesu 'n gwywo i gyd,
Ac yn diflanu 'n ddim.

*f* Y mae aroglau pur ei ras
Fel peraroglau 'r nef;
Ac nid oes gymhar is yr haul
Yn unlle iddo Ef.

W. W.

## 119 *Cadarn i iachau.*

*p* OS ydwyf wael fy llun, a'm lliw,
Os nad yw mriw 'n gwellhau,
*cres.* Af at y Meddyg mawr ei fri,
Sy'n gadarn i iachau.

*p* O'm pen i'm traed, 'rwy'n glwyfus oll,
Pob archoll yn dyfnhau:
*cres.* Neb ond y meddyg da i mi,
Sy 'n gadarn i iachau.

*p* Os wyf heb rym i ddim sy dda,
Dan bwys fy mhla 'n llesghau,
*cres.* Rhydd Iesu gryfder i'r di-rym;
Mae 'n gadarn i iachau.

*mf* O ddydd i ddydd, caf nerth i ddal;
Mae 'i ras yn amlhau:
*f* Am hyn, nid anobeithiaf ddim,
Mae 'n gadarn i iachau!

EBEN FARDD.

## 120 *Iesu yn fwy na'r nef.*

*mf* NI feddaf ar y ddaear fawr,
Ni feddaf yn y ne',
Neb ag a bery 'n anwyl im'
Yn unig ond Efe.

*mf* Mae ynddo 'i hunan drysor mwy
Na fedd yr India lawn;
Fe brynodd imi fwy na'r byd
Ar groesbren un prydnawn.

*mp* Fe brynodd imi euraidd wisg,
Trwy ddyoddef marwol glwy';
A'i angeu Ef a guddia 'm gwarth
I dragwyddoldeb mwy.

*mf* Darfydded dydd, darfydded nos,
Fel mynyd fach o'r awr,
Tra b'wyf yn caru, a rhoi 'mhwys
Ar fynwes f' Arglwydd mawr.

*f* Dymunwn yma dreulio 'm hoes,
O foreu hyd brydnawn,
Lle cawn i wylo cariad pur
Yn ddagrau melus iawn.

W. W.

## Rhif 25. ST. MAGNUS. M.C.

*Doh* A. M. 66. J. CLARKE, Mus. Doc., 1668–1707.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S, | d :r | t, :s, | d :r | m :R | m :d | m :fe | s :— | — |
| :S, | l, :l, | s, :s, | s, :s, | s, :S, | s, :s, | s, :d | t, :— | — |
| :M | m :f | r :t, | d :t, | d :T, | d :s | m :d | r :— | — |
| :D | l, :f, | s, :s,.f, | m, :s, | d, :S, | d :m | d :l, | s, :— | — |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :R | m :r | d :t, | l, :r | t, :S, | s :f | m :r | d :— | — |
| :T, | d :t, | l, :s, | f, :l, | s, :S, | s, :l, | s, :f, | m, :— | — |
| :S | s :s | m :m | d :f | r :T, | d :d | d :t, | d :— | — |
| :S, | d :s, | l, :m, | f, :r, | s, :S,.f, | m, :f, | s, :s, | d, :— | — |

**121** *Myfi yw dy iachawdwriaeth.*

*mf* O IACHAWDWRIAETH! — siriol [sain
I ddynion marwol ryw;
Yr iachawdwriaeth ddaeth o'r nef,
Hi'n dwg i'r nef i fyw.

*mf* Hi'n gwared o gadwynau'r fall,
Rhag t'wyllwch dwyfol lid;
*cres.* Hi'n dwg i wlad y gwynfyd llawn,
A gwledd tragwyddol fyd.

*mp* A ddichon truan mor ddiwerth
A mi gael rhan o'r wledd?
Fy ysbryd egwan crynu mae
Rhag bod yn fyr o'th hedd.

*mf* 'Does ond dy lais, fy nhirion Dâd!
All ddangos im' fy hawl;
*cres.* O d'wed mai Ti yw'm bythol ran,
A thro fy ngweddi'n fawl.

GOMER.

**122** *Mawredd Crist.*

*mf* YR Iesu mawr yw tegwch byd,
A thegwch pena'r nef;
Ac mae y cwbl sydd o werth
Yn trigo ynddo Ef.

*mf* Os edrych wnaf i'r dwyrain draw,
Gorllewin, gogledd, de;
Yn mhlith a fu, neu ynte ddaw,
*f* 'Does debyg iddo 'Fe.

W. W.

**123** *Estroniaid yn dychwelyd.*

*mf* DAW miloedd o rai aflan iawn
I 'mofyn am y gwaed,
*cres.* A liwiodd fryn Calfaria draw
I olchi'r dua'n rhad.

*p* A'r dagrau ar eu gruddiau prudd,
Wrth gofio angeu loes,
*cres.* Gan ddechreu canu'n beraidd iawn
Am rinwedd gwaed y groes.

*mf* Er cymaint ag a olchwyd gynt,
Sydd yn y nef yn awr,
*f* Mae'r ffynon fel y grisial pur
Yn ngwlad y cystudd mawr.

AN.

**124** *Dymuno nerth ac arweiniad.*

*mf* O ARGLWYDD! rho dy allu mawr
I'm nerthu fyn'd yn mlaen;
Dy iachawdwriaeth yw fy ngrym,
Fy nghoncwest a fy nghân.

*mf* Rho nerth i rodio er dy glod,
Ac iti bellach fyw;
A threulio mywyd gyda blas,
I ganmol gras fy Nuw.

*p* O! cau fy llygaid rhag im' wel'd
Pleserau gwag y byd;
*mf* Na'd imi wyro byth oddiar
Dy lwybrau gwerthfawr, drud.

W. W.

**125** *Gallu Gweddi.*

*mf* YN ngoleu pur y sanctaidd air,
A grym ei haeddiant Ef,
Mae gweddi 'r ffydd fel allwedd aur
*cres.* Yn agor pyrth y nef.

CYNDDELW.

Rhif 26. MARTYRDOM. M.C.

*Doh* B♭. M. 76. J. WILSON, Mus. Doc., 1800—1849.

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S, | d :—:l, | s,:—:d .r | m :—:r | d :—:M | s :—:m | d :—:m | r :— |
| :M, | s,:—:f, | m,:—:m,.f, | s,:—:f, | m,:—:S, | s, :—:s, | l,:—:s, | s,:— |
| :D | d :—:d | d :—:d | d :—:t, | d :—:D | r :—:d | m :—:d | t,:— |
| :D, | m,:—:f, | d,:—:l, | s,:—:s, | d,:—:D | t, :—:d | l,:—:m, | s,:— |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | m :—:r | d :—:m | f :—:m | r :—:M | s,:l,.t,:d .r | m :—:r | d :— |
| :S, | s,:—:f, | m,:—:ta, | l,:—:s, | s,:—:S, | s,:— :m,.f, | s,:—:f, | m,:— |
| :R | d :—:t, | d :—:d | d :—:d | t,:—:D | r :— :d | d :—:t, | d :— |
| :T, | d :—:s, | l,:—:s, | f,:—:d, | s,:—:D | t,:— :l, | s,:—:s, | d,:— |

## 126 *Teilwng ydyw'r Oen.*

*mf* AM Iesu Grist a'i farwol glwy'
Boed miloedd mwy o son;
*cres.* A d'weded pob creadur byw
Mai teilwng ydyw'r Oen.

*mf* Aed son am waed yr Oen ar led
Y ddaear faith i gyd;
*cres.* Gwybodaeth bur a chywir gred,
Ymdaened dros y byd.

J. H. D.

## 127 *Rhinwedd Angeu'r Groes.*

*mf* AM angeu'r groes mae canu 'nawr,
Bydd eto ganu mwy,
*cres.* Pan gwrddo plant y gaethglud oll,
*f* Mawr fydd eu canu hwy.

*mf* Dan bob cystuddiau fwy na mwy,
Rhuadau cnawd a byd,
*cres.* Mae nerth i'w gael mewn marwol glwy,
I'w maeddu oll ynghyd.

*mf* Trwy angeu Crist daeth i ni hedd,
A chymod yn ei waed,
*p* A thrwy ei glwyfau dyfnion Ef,
*cres.* Caed i ni lwyr iachad.

*f* Pan ddelo'r seintiau adref oll
I Salem fawr ei son;
*ff* Nid ofni mwy, ond dyblu'r mawl,
Bydd pawb i Dduw a'r Oen.

W. W.

## 128 *Iachawdwriaeth Gras.*

*mf* DARPARWYD iachawdwriaeth rad,
Ddigonol i bob rhai;
*cres.* Agorwyd ffynon er glanhad
Pob pechod cas a bai.

*mf* Gorphenwyd ar Galfaria fryn
Yr iachawdwriaeth fawr;
*f* Cyhoedder y newyddion hyn
O gwmpas daear lawr.

*mf* Mae wyneb iachawdwriaeth gras
Ar holl drigolion byd;
*cres.* Doed dynol ryw i brofi blas,
A rhinwedd hon i gyd.

PEDR FARDD.

## 129 *Gorphwysfa yn y Nef.*

*mp* MAE'N hyfryd meddwl ambell dro,
Wrth deithio anial le,
*cres.* Ar ol ein holl flinderau dwys,
*p* Cawn orphwys yn y ne'.

*mp* Pan ar ddiffygio gan y daith,
A lludded maith y lle,
*cres.* Mor hoff yw gwybod wedi hyn,
*p* Cawn orphwys yn y ne'.

*p* Er colli ein cyfeillion hoff,
Yn yr Iorddonen gref,
*cres.* Mae'n hyfryd meddwl, eto 'nghyd
*f* Cawn gwrddyd yn y nef.

I. G. GEIRIONYDD.

## Rhif 27. DALE. M.C.

*Doh* B♭. M. 116. Isaac Phillips, Dale, 1870.

```
|S, :—|d :s, |m, :s,  |d :—|r :—|m :—|— :—|S :—|m :d |t, :—|l, :—|s, :—||
|M, :—|s, :r,|d, :r,  |s, :—|s, :—|s, :—|— :—|S, :—|s, :l,|s, :—|fe, :—|s, :—||
|D :—|d :t, |l, :t,   |d :—|t, :—|d :—|— :—|R :—|d :m |r :—|— :d |t, :—||
|D, :—|m, :s,|l, :s,.f,|m, :—|s, :—|d :—|— :—|T, :—|d :l,|r :—|r, :—|s, :—||
```

```
|D :—|m :s |m :d  |f :—|m :—|r :—|— :—|D :—|d :d |r :—|t, :—|d :—||
|S, :—|s, :s,|s, :l,|l, :—|s, :—|s, :—|— :—|S, :—|s, :m,|l, :—|s, :f,|m, :—||
|S :—|s :r |d :d  |d :—|d :—|t, :—|— :—|D :—|m :d |f :—|r :—|d :—||
|M :—|d :t,|d :l, |f, :—|d, :—|s, :—|— :—|M, :—|d, :l,|f, :—|s, :—|d, :—||
```

### 130 *Ceisiwch y pethau sydd uchod.*

*mf* FE'M ganwyd i lawenydd uwch
Nag sy'n mhleserau'r llawr,—
*cres.* I gariad dwyfol, gwleddoedd pur
Angylion nefoedd fawr.

*mp* Mae nymuniadau'n hedeg fry
Uwch creadigol fyd;
'Dwy'n gweled dim o'r ddaear hon
Yn werth i gael fy mryd.

*mf* Paham na chawn i ddechreu 'nawr
Fy nefoedd yn y byd,
*cres.* A threulio mywyd mewn mwynhad
O'th gariad pur o hyd!

W. W.

### 131 *Mawl i'r Creawdwr.*

*f* TAD mawr y greadigaeth lawn!
Mor ryfedd yw dy waith,
Mewn tir a môr, mewn bryn a bro,
A'r pell wybrenau maith!

*f* Dadgana 'r nef ogoniant Duw,
Ei nerth didrai a'i ras;
Mynegir gwaith ei ddwylaw glân
Gan y ffurfafen las.

*ff* Dyrchafed meibion Seion lef,
A lluoedd nef yn nghyd,
Mewn mawl dibaid i Grewr mawr
Terfynau eitha'r byd.

Gomer.

### 132 *Y Ffordd at y Tad.*

*mf* MAE ffordd gyfreithlon at y Tad
I bechaduriaid trist;
*cres.* A gwenu mae trugaredd râd
Ar bawb sy'n ffoi at Grist.

*mf* Fe dalodd Iesu berffaith Iawn
Ar fynydd Calfari;
Mae cymod a maddeuant llawn
Yn ngwaed yr Oen i ni.

*f* Fe ddaeth ein Meichiau mawr yn [rhydd,
Clodforwn Frenhin hedd;
Cyfododd Ef y trydydd dydd
Yn fyw i'r lân o'r bedd.

*mf* Esgynodd trosom at y Tad,
Ac eiriol yw ei waith;
*cres.* Cyn hir fe'n dwg o'r anial wlad
Yn iach i ben ein taith.

An.

### 133 *Duw yn porthi Dyn.*

*mf* DAIONI Duw sydd yn ddigêl
A'i gariad fel y môr;
Edrychodd ar drueiniaid gwan,
O'i lys—anfeidrol Iôr!

*mf* Pryd hau a medi roddodd Duw—
Mor dirion yw i'r byd!
Ei hen gyfamod gyda dyn,
Mewn hedd, sy 'r un o hyd.

*f* Dyrchafwn glodydd pur yn awr
I'w enw mawr dilŷth;
A cheisiwn oll, trwy ras ein Nêr,
Y bara bery byth!

An.

Rhif 28. MILES' LANE. M.C.

*Doh* B♭. M. 76. W. Shrubsole, 1758—1806.

:S, |d :d |d :r |m :r .d |r :S, |l, :s,.f, |m, :r, |d, :— |— ||S, |d :d |d :r
:M, |s, :l, |s, :s, |s, :s,.fe, |s, :S, |f, :r, |d, :t2 |d, :— |— ||M, |s, :l, |s, :s,
:D |m :f |m :t, |d :r .l, |t, :D |d :l, |s, :s, |m, :— |— ||D |d :d |d :t,
:D, |d, :f, |d, :s, |d :t,.l, |s, :M, |f, :f, |s, :s, |d, :— |— ||D, |m, :f, |m, :s,

m :r .d |r :S, |d :— |d :d |m :— |m :m |s :— |s :s |m :f |m :r |d :— |— ||
s, :s,.fe, |s, :S, |m, :— |m, :m, |s, :— |s, :s, |d :t,.l, |t, :t, |l, :l, |s, :—.f, |m, :— |— ||
d :r .l, |t, :T, |d :— |d :d |d :— |d :d |m :r .d |r :r |d :d |d :t, |d :— |— ||
d :t,.l, |s, :S, |d, :— |d̄, :d, |d :— |d :d |s, :— |s, :s, |l, :f, |s, :s, |d, :— |— ||

## 134 *Coroni Iesu yn ben.*

*f* DYRCHAFER enw Iesu cu
Gan seintiau îs y nen;
A holl aneirif luoedd nef,
*cres.* Coronwch Ef yn ben!

*mf* Angylion glân, sy'n gwylio 'n gylch
O ddeutu 'r orsedd wen,
Gosgorddion ei lywodraeth Ef—
*cres.* Coronwch Ef yn ben!

*mf* Hardd lu 'r merthyri, sydd uwch law
Erlyniaeth, braw, a sen,
A llafar glod, ac uchel lef,
*cres.* Coronwch Ef yn ben!

*mf* Yr holl brophwydi 'n awr sy'n gwel'd
Y Meichiau mawr heb len,
A'i apostolion yn gyd lef,
*cres.* Coronwch Ef yn ben!

*f* Pob perchen anadl, yn mhob man,
Dan gwmpas haul y nen,
Ar fôr a thir, mewn gwlad a thref,
*cres.* Coronwch Ef yn ben!

*mf* Na enwer enw neb ond Hwn,
Fu farw ar y pren,
Drwy 'r ddaear faith, nac yn y nef:
*cres.* Coronwch Ef yn ben!

J. G. Geirionydd.

## 135 *Molwn enw Duw.*

*mf* ORUCHEL Frenin nef a llawr,
Mor dda a graslawn yw!
Rhyfeddwn ei ogoniant mawr,
*cres.* A molwn enw Duw.

*mf* Er holl wrthryfel calon dyn,
A'i bechod o bob rhyw,
Mae ei dosturi Ef yr un,
*cres.* O! molwn enw Duw.

*mf* Fe drefnodd ffordd i'n hachub ni,
Golledig ddynol ryw;
Edrychwn tua Chalfari!
*cres.* A molwn enw Duw.

*mf* Yn nghanol dwys beryglon byd,
Ein Hamddiffynwr yw,
A'i air fe chwâl y croesau'i gyd,
*cres.* O! molwn enw Duw.

*mf* Er ein colliadau mynych ni,
Llawn cydymdeimlad yw,
Try Ef yn gân ein hofnus gri,
*cres.* O! molwn enw Duw.

*mf* Ar ol terfynu taith y byd,
A myned ato 'i fyw,
*cres.* Am dragwyddoldeb, ar ei hyd
*ff* Y molwn enw Duw.

M.

Rhif 29. **UXBRIDGE.** M.C.

*Doh* B♭ M. 60. J. H. Roberts, Mus. Bac., 1880.

```
:L,  | d   :l,   | t,   :r   | d    :t,  | l,  :T,  | d   :m   | m   :r   | m   :—  | —  ‖
:M,  | m,  :l,   | se,  :l,  | l,   :se, | l,  :Se, | l,  :t,  | l,  :l,  | se, :—  | —  ‖
:D   | l,  :d    | m    :f   | m    :r   | d   :M   | m   :m   | l,  :l,  | t,  :—  | —  ‖
:L,  | l,  :f,   | m,   :r,  | m,   :m,  | l,  :M,  | l,  :s,  | f,  :f,  | m,  :—  | —  ‖

:M   | m   :s    | f    :m   | r    :d   | t,  :M   | d   :m   | r   :t,  | l,  :—  | —  ‖
:S,  | s,  :t,   | l,   :s,  | s,.f, :m, | m,  :M,  | m,  :l,  | l,  :se, | l,  :—  | —  ‖
:D   | m   :r    | d.r  :m   | t,   :l,  | se, :L,  | l,  :l,  | f   :m.r | d   :—  | —  ‖
:D   | d   :s,   | l,.t, :d  | s,   :l,  | m,  :D,  | l,, :d,  | r,  :m,  | l,, :—  | —  ‖
```

## 136 *Iesu yn gyfaill ffyddlawn.*

*mp* PAN fo gwrthddrychau'r byd yn ffoi,
Ac yn diflanu'n ddim ;
*cres.* Mae genyf gyfaill anwyl, hoff,
A bery'n ffyddlon im'.

*mp* Er imi ei fynych adael Ef,
*cres.* Parhau mae Ef yr un ;
*f* Rhyfeddol ei ffyddlondeb pur
I mi, annheilwng ddyn.

*mp* Fe wrendy gri pechadur gwael,
Er mwyn ei angeu'i hun ;
*f* A minau ymddiriedaf mwy
Yn Iesu'r ffyddlon Un.

M. R.

## 137 *Hyder yn ngwaed y groes.*

*p* ANTURIAF at ei orsedd fwyn,
Tan eithaf tywell nos ;
*cres.* Ac mi orphwysaf, doed a ddel,
Ar haeddiant gwaed y groes.

*mf* Mi waeddaf yn y 'storom fawr,
Dan donau fwy na rhi' ;
Ac fe esgyna'm drylliog lef,
I entrych nefoedd fry.

*mf* Fe ffŷ'r tywyllwch wrth fy nghri,
Yn nghyfyngderau'r nos ;
*f* Can's nid â'n ofer gais fy Nuw,
A waeddodd ar y groes.

W. W.

## 138 *Erfyn am faddeuant.*

*mp* O ! MADDEU 'mai, a chliria'n llwyr
F' euogrwydd oll i gyd ;
Na âd im' flino'th Ysbryd mwy
Tra byddwyf yn y byd.

*cres.* Ti elli'm cánu, er mor ddu,
A'm lloni â dy hedd ;
*mf* O ! d'wed dy fod yn maddeu 'mai
Fel na bwy'n ofni'r bedd.

W. W.

## 139 *Swper yr Arglwydd.*

*mp* YN ol ei rasol ordinhâd,
At Iesu'n isel âf ;
*cres.* Myfyriaf ar ei gariad rhâd,
A'i gynes gofio wnaf.

*p* Tydi yn marw ! minau'n fyw !
Tydi a'th waed yn lli !
*cres.* O ! werthfawr aberth, Oen fy Nuw !
Rhaid imi'th gofio Di.

*p* Cymeraist phiol llid y Tad,
*cres.* Tro'ist hono'n win i mi ;
*mf* O ! pwy na charai mewn mwynhâd
*dim.* Fel hyn dy gofio Di !

*p* Y corph fu dan yr hoelion dur,
Fydd fara i'm henaid i ;
*cres.* A'th waed fydd mwy fy nïod bur—
*mf* Fel hyn y'th gofiaf Di.

An.

# CANTON. M.C.

*Doh* E♭. M. 66.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | l :d' | t :l | l :se | l :M | s :s | s :f | m :— | — |
| :D | m :m | m :d | f :m | d :D | r :r | d :r | d :— | — |
| :L | m :l | se :l | t :t | l :S | s :t | d' :s | s :— | — |
| :$L_1$ | d :$l_1$ | m :f | r :m | $l_1$ :D | $t_1$ :$s_1$ | $l_1$ :$t_1$ | d :— | — |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | m :l | se :m | l :d' | t :T | d' :l | l :se | l :— | — |
| :D | d :m | m :m | m :m | m :M | m :m | $t_1$ :r | d :— | — |
| :L | l :l | t :se | m :l | se :Se | l :l | f :m | m :— | — |
| :$L_1$ | $l_1$ :d | m :m.r | d.$t_1$ :$l_1$ | m :M | l :d | r :m | $l_1$ :— | — |

**140** *Gweddi ar ddechreu Oedfa.*

*p* O IESU! Ceidwad mawr y byd!
Rho fywyd yn ein plith;
*cres.* Ac agor ddôr i draethu 'th air,
I Israel, bydd fel gwlith.

*p* Ymddangos heddyw yn ein mysg,
Fel, yn dy wisg o waed,
*cres.* Y'th welwyd gynt ar ben y bryn,
A'r gelyn dan dy draed.

*mf* Agorwyd ffynon dan dy fron—
Yn hon mae rhinwedd byth;
*cres.* Fe olchwyd ynddi 'n berffaith lân
Rai aflan rif y gwlith.

*f* Aed sôn am hon drwy 'r byd ar led,
A gwared, trwy dy ras,
O feddiant Satan, cnawd, a gwae,
Dylwythau 'r ddaear lâs!

AN.

**141** *Cwyn y Gwan.*

*p* 'RWYT Ti o hyd, fy Arglwydd mwyn!
Yn gwrando cwyn y gwan:
O! clyw riddfanau 'r gwana 'rioed,
Sy'n chwenych d'od i'r lan.

*p* O! trugarhâ, fy Iesu cu!
Wrth enaid sy' mewn braw;
*cres.* Nis gallaf symud gam yn mlaen
Heb help dy gadarn law.

AN.

**142** *Pechadur yn anturio at yr Orsedd.*

*p* MI âf at Grist, er bod fy mai
Fel mynydd yn fy ngho';
*cres.* Gwn am ei lys, ac iddo'r âf,
Er pob gwrth'nebiad fo.

*p* Ger bron ei orsedd syrthiaf lawr,
A d'wedaf wrtho 'n brudd,
Mai adyn llwyr golledig wyf,
Heb ras i'm tynu 'n rhydd.

GOMER.

**143** *Hiraeth am y Nef.*

*p* FY enaid prudd mewn hiraeth sydd
Am fod yn berffaith lân;
*mf* A phan y delo 'r hyfryd ddydd,
Pereiddiach fydd fy nghân.

*mf* Cartrefle 'r saint!—man dedwydd yw,
Heb bechod, ac heb boen;
*cres.* Pa bryd y câf fyn'd yno i fyw
I ganmol Duw a'r Oen?

*mf* Nid yw 'ngorphwysfa yn y byd—
Mae gwlad sydd ganmil gwell!
A hiraeth sydd yn llanw 'mryd
*cres.* Am wel'd fy nghartref pell.

*mf* Bod gyda Christ, hyn yw fy llef—
A derfydd poen a gwae;
*cres.* Câf fod yn debyg iddo Ef
A'i weled fel y mae!

PEDR FARDD.

**144** *Pa Gyfaill fel Efe?*

*mf* ER imi gael cyfeillion cu,
Amrywiol is y ne';
*cres.* Am Iesu, gallaf ddweyd yn hy',
Pa gyfaill fel Efe?

*mf* Cyfeillion byd a giliant 'n ol
Wrth yr Iord lonen gre';
*cres.* Ond cymer Iesu fi 'n ei gôl:—
Pa gyfaill fel Efe?

AN.

## BANGOR. M.C.

Alaw Gymreig (o gasgliad J. PLAYFORD), 1623—1693.

```
Doh F. M. 44.                                        C.t.
:M   | d   :t,  | l,  :m    | l  :s .f | m  :M     | ᵐl.t   :d'.t   | l    :se   | l  :— | — ||
:L,  | l,  :se, | l,  :d    | d  :t,   | d  :T,    | ᵗ'm    :m      | m.f  :m.r  | d  :— | — ||
:D   | m   :m   | d   :d    | f  :r .s | s  :S     | ᵐl     :l .se  | l.r' :t    | l  :— | — ||
:L,  | l,  :m,  | l,  :l,   | f, :s,   | d  :M,    | ˢ'd.t, :l,.t,  | d.r  :m    | l, :— | — ||

f.F.
:'M     | l  :se | l  :d'.t | l  :s .f | m  :M     | l      :m.r  | d  :t,  | l, :— | — ||
:ᵈᵉSe,  | l, :r  | d  :r    | d  :t,   | d  :L,.t, | d      :d.t, | l, :se, | l, :— | — ||
:'M     | m  :m  | m  :se   | l  :r .s | s  :M     | m      :m.f  | m  :r   | d  :— | — ||
:'M.r   | d  :t, | l, :m,   | f, :s    | d  :D.t,  | l,.t,  :d.r  | m  :m,  | l, :— | — ||
```

**145** *Arweiniad yr Ysbryd.*

*mf* TYR'D, Ysbryd sanctaidd! ledia'r
  Bydd imi'n niwl a thân; [ffordd,
Ni cherddai'n gywir haner cam
  Oni byddi o fy mlaen.

*p* Mi wyraf weithiau ar y dde,
  Ac ar yr aswy law;
*cres.* Am hyny arwain, gam a cham,
  Fi i'r baradwys draw.

W. W.

**146** *Y Tir Addawedig.*

*p* AR lan'r Iorddonen sefyll 'rwyf,
  Gan fwrw golwg brudd
*cres.* Ar ddedwydd diroedd Canaan draw,
  Lle mae trysorau'm ffydd.

*mp* O! 'r olwg gu, lesmeiriol gwyd
  I'm gwydd tu draw i'r dòn!
*cres.* Pêr feusydd hardd yn wyrddion byth,
  Afonydd bywiol llon!

*mf* Tyf yno bob rhyw ffrwythau pêr,
  Fy ffydd yn awr a'u gwel;
Y bryniau a'r dyffrynoedd pur,
  A lifant laeth a mêl.

*mp* Pa bryd y caf fi dirio draw
  I'm cartref dedwydd cu?
*cres.* Pa bryd caf weled gwedd fy Nhad,
  Yn ei drigfanau fry?

*mf* Gan lwyr hyfrydwch, f'enaid drud
  Ni thriga yma'n hwy;
*f* Er i'r Iorddonen ruo'm cylch,
  Heb arswyd torwn trwy.

CYF. IEUAN DDU.

**147**

*Hiraeth am gymdeithas â Christ.*

*mf* 'RWY'N edrych dros y bryniau pell
  Am danat, Iesu mawr;
*cres.* O! tyr'd f' Anwylyd! mae'n hwyrhau,
*dim.* A'm haul bron myn'd i lawr.

*mf* 'Does gyflwr tân yr awyr las
  Chwenychwn ynddo fyw;
*cres.* Ond fy hyfrydwch fyth gaiff fod,
  O fewn cynteddau'm Duw.

W. W.

**148** *Aros gyda mi.*

*p* O IESU! Ffrynd cystuddiol rai,
  Un tirion iawn wyt Ti; [bron,
*cres.* Mae 'n hwyr, a'm dydd ar ddarfod,
  O! aros gyda mi!

*p* Ymdeithio 'r wyf mewn anial wlad,
  Rho im' dy gwmni cu;
*cres.* Mae haul fy nydd ar fachlud, bron,
  O! aros gyda mi!

AN.

**149** *Tywalltiad yr Ysbryd.*

*p* O! ANFON Di yr Ysbryd Glân,
  Yn enw Iesu mawr;
*cres.* A'i weithrediadau megys tân—
  O! anfon Ef i lawr!

*mp* Yn ol d' addewid fawr ei gwerth,
  Tywallter oddi fry
*cres.* Yr Ysbryd Sanctaidd gyda nerth,
  I weithio ynom ni.

J. H.

# REUDSBURGH. M.C.

*Doh* G. M. 60. A Kruger, 1628—1666.

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | l, :t, | d :d | r :r | m :M | r :r | m :d | t, :— | — |
| :L, | l, :se, | l, :d | l, :t, | d :D | t, :l, | se, :l, | se, :— | — |
| :D | m :r | d :s | l :s | s :S | s :r | t, :d.r | m :— | — |
| :L, | d :t, | l, :m, | f, :s, | d, :D | s, :f, | m, :l, | m, :— | — |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | d :t, | d :l, | se, :l, | t, :M | r :d | t, :t, | l, :— | — |
| :T, | l, :se, | l, :m, | m, :m, | se, :L, | l, :l, | l, :se, | l, :— | — |
| :M | m :m | m :m | r :d | m :M | f :m | r :m.r | d :— | — |
| :Se, | l, :m, | l, :d | t, :l, | m, :D, | r, :m, | f, :m, | l, :— | — |

**150** *Gorsedd Gras.*

*mp* WRTH orsedd gras caf dd'weyd fy [nghwyn,
Er cymaint yw fy mai;
Mae yno Un a gydymddwyn
A'm gwendid yn ddiau.

*mp* Er fod fy meiau yn ddiri',
*cres.* Gwn fod trugaredd Iôr,
Yn ngwyneb Aberth Calfari,
*mf* Yn llifo fel y môr.

An.

**151** *Tyrfa fawr dan y driniaeth.*

*mf* FE dalodd Iesu 'n dyled fawr,
Wrth oddef angeu loes,
'R ysgrifen oedd i'n herbyn ni,
A hoeliodd wrth y groes.

*f* Ac yna fe orchfygodd rym
Galluoedd uffern ddu!
Agorodd ddrws i minau, 'r gwael,
I ganu gyda'r llu.

*mf* Mae sŵn morthwylion Iesu mawr
Ar furiau Salem bur,
Yn trwsio 'n rhad eneidiau lu
Yn hyn o anial dir.

*mf* O'r graig fe naddwyd allan fyrdd
O feini geirwon iawn;
Fe'u dygir i'r adeilad fry,
Cyn bydd y gwaith yn llawn.

C. E.

**152** *Bedydd.*

*p* I FOR o ofid suddodd Crist
Wrth achub dynolryw,
Ei enaid oedd angeuol drist
Dan guddiad gwyneb Duw.

*mf* O'r diluw dwfn i fyny daeth,
Er myn'd i orsedd Duw;
O'i suddiad a'i ddadsuddiad Ef,
Ein bedydd, darlun yw.

*mf* Aeth Crist drwy fedydd dwfr a gwaed
Pan yma yn ein plith;
Dilynwn ninau ol ei draed,
Rhown barch i'w eiriau byth.

*mf* Wrth suddo yn y dyfrllyd fedd,
Ymwrthod 'rym â'r byd;
*cres.* Wrth adgyfodi, dangos wnawn,
Mai'r nefoedd aeth a'n bryd.

H. J.

**153** *Edrych ar y bedd.*

*mp* PAHAM, paham yr ofnaf mwy,
Waelodion dyfnion bedd?
*cres.* Mi ddringaf adref fry heb glwy',
I fryn tragwyddol hedd.

*mf* O! f'enaid anwyl, dyrcha'th ben,
Gwel ddydd yn gwawrio draw,
Pan godir teulu'r addfwyn Oen,
Uwch galar, poen, a braw.

*mf* Caf fyn'd pryd hyn at frodyr llon,
Caf delyn yn eu plith;
Caf ganu'n iach i'r fuchedd hon,
A'i holl helbulon chwith.

*f* Caf fy holl ofnau tan fy nhraed,
O ddedwydd, ddedwydd ddydd!
Caf ganu byth am Grist a'i waed,
O'm holl gadwynau'n rhydd.

Cymro Bach.

 ST. MARY. M.C.

*Doh* F. M. 48. O "Psalmydd Cymreig," E. Prys, 1620.

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :L, | d :t, | l, :l | s :f | m :M.f | s :d | m :r | d :— | — |
| :L, | l, :se, | l, :d | d :l, | l, :S, | s, :l, | d :t, | d :— | — |
| :D | m :r | d :f | m :r | d :D | r :m.f | s :f | m :— | — |
| :L, | l, :m, | f, :f | d :r | l, :D | t, :l, | s, :s, | d :— | — |

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | s :l | t :m | r :d | s :R | m :l, | d :t, | l, :— | — |
| :D | r :r | r :d | s, :d | t, :T, | d :l, | l, :se, | l, :— | — |
| :S | s :fe | s :s | s :m.fe | s :S | s :m.f | m :r | d :— | — |
| :D | t, :r | s :d | t, :l, | s, :S, | d :d.r | m :m, | l, :— | — |

## 154 *Gorsedd Gras.*

*mf* AWN at ei orsedd rasol Ef,
Dyrchafwn lef i'r lan;
*cres.* Mae'n gwrando pob amddifad gri,
Mae'n rhoddi nerth i'r gwan.

*mp* Anadla f'enaid llesg trwy ffydd,
*cres.* Mae'r ffordd yn rhydd at Dduw;
*mf* Mae gras yn gymorth hawdd ei gael,
*cres.* A modd i'r gwael i fyw.

*mf* Ger bron y drugareddfa lân,
Fe gân yr euog rai;
*f* Mae iachawdwriaeth Calfari
Yn golchi pob rhyw fai.

R. J., W.

## 155 *Gallu Duw.*

*f* O! IESU! cymer dy allu mawr,
Teyrnasa 'n awr mewn nerth:
Addoled holl drigolion llawr
Breswylydd mawr y Berth.

*mf* At wedd dy wyneb, nid yw ddim
Trysorau maith y llawr;
*f* Mae gair o'th enau'n llawer mwy
Ei rym nag uffern fawr.

*mf* Dy allu yw fy nerth a'm grym,
Yn d'allu byddaf byw;
*p* 'Rwy'n wan,'rwy'n llesg, nid allaf ddim,
Un fynyd heb fy Nuw.

W. W.

## 156 *Yr Iesu ar y groes.*

*p* O! 'R olwg synfawr welaf fry—
Etifedd nefoedd wen
Yn rhwym dros ddyn, rhwng nef a llawr,
Dan felldith ar y pren!

*p* Ei waed yn ffrydiau llifo mae,
O'i galon lawn o hedd;
Dan bwys ein bai gruddfanai'n brudd,
Ei ochain rwygai'r bedd.

*mf* O! na bai'r cariad dwyfol rym,
A rwymai Grist wrth groes,
I g'lymu'n henaid wrth ei waith,
Hyd derfyn marwol oes.

*mp* O Dduw! mor oeraidd ydym ni,
Er dy ddaioni mawr;
*mf* Dy gariad ynom dyro Di,
I'th foli'n bur bob awr.

An.

## 157 *Pererin.*

*p* PERERIN wyf mewn anial dir,
Yn crwydro yma 'thraw;
*cres.* A dysgwyl 'rwyf o awr i awr
Fod tŷ fy Nhad gerllaw.

*mf* Mae hiraeth arnaf am y wlad,
Lle mae torfeydd diri',
*cres.* Yn canu'r anthem mewn mwynhâd,
Am angeu Calfari.

W. W.

## BURFORD. M.C.

*Doh* B♭. M. 72. H. PURCELL, 1658–1695.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :L, | l, :—:t, | d :—:r | m :r :d | t, :—:Se, | l,:—:t, | d :—:r | m :— |
| :M, | m, :—:m, | m, :—:s, | s, :—:l, | se,:—:M, | d,:—:m, | m, :—:l, | se,:— |
| :D | l, :—:se, | l, :—:t, | d :r :m | m :—:T, | l,:—:se, | l, :—:l, | t, :— |
| :L2 | d, :—:m, | l, :—:s, | d :t, :l, | m, :—:M, | f,:—:m, | l, :—:f, | m, :— |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | r :d :t, | d :—:r | m :r :d | t, :—:Se, | l,:t, :d | t,:l,:se, | l, :— |
| :S, | l,:s,:s,.f, | m, :—:s, | s, :—:l, | se,:—:M, | m,:—:m, | f,:m,:m,.r, | d, :— |
| :D | l,:m :r | d :—:t, | d :r :m | m :—:M | l,:se,:l, | t,:d :t, | l, :— |
| :D, | f,:s,:s, | l, :—:s, | d :t, :l, | m, :—:M, | d,:m, :l, | r,:m,:m, | l2:— |

### 158 *Na wrthod fi.*

*mf* AT Un a wrendy weddi'r gwan
'Rwyf yn dychafu 'nghri ;
Yn mhob cyfyngder, ing, a phoen,
*p* O Dduw ! na wrthod fi.

*mf* Er mwyn dy groes a'th angeu drud
Ar fynydd Calfari,
A'th ddwys eiriolaeth yn y nef,
*p* O Dduw ! na wrthod fi.

*mf* Er mor annheilwng o fwynhau
Dy bresenoldeb Di,
Gâd i mi nesu ger dy fron,
*p* O Dduw ! na wrthod fi.

*mf* Pan yn gwynebu ymchwydd yr
Iorddonen ddofn a'i lli',
A theithio'n unig drwy y glyn,
*p* O Dduw ! na wrthod fi.

*mf* A phan y deui yr ail waith,
*cres.* Mewn mawredd, parch, a bri,
I farnu'r byw a'r meirw 'nghyd,
*mf* O Dduw ! na wrthod fi.

I. G. GEIRIONYDD.

### 159 *O'r dyfnder y llefais arnat.*

*mf* ODDYFNDER llygredigaeth du
'Rwyf yn cyfodi llef ;—
*p* Drugarog Arglwydd, clyw fy nghri,
A'm gweddi yn y nef.

*mf* Os creffi ar anwiredd, Iôn !
Pwy ger dy fron a sai ?
*cres.* Ond mae trugaredd gyda Thi
I mi, er maint fy mai.

*mp* Fel gwyliwr am y boreu wawr,
'Rwy'n dysgwyl 'nawr, fy Nuw !
O ! dyro imi cyn fy medd
Gael gwel'd dy wedd, a byw.

*mf* Y mae maddeuant gyda Thi,
Ar gyfrif marwol glwy',
Fel gallwyf d'ofni yn ddilyth,
Heb byth dy ddigio mwy.

W. W.

### 160 *Cofia fi.*

*mf* Y MAE tosturi fel y môr,
Heb fesur ynot Ti ;
O'th ras sy'n annherfynol stor,
*p* O Arglwydd ! cofia fi.

*mf* Boddlonodd Crist y nef yn llawn,
Ar fynydd Calfari ;
*f* Er mwyn ei berffaith ddwyfol Iawn,
*dim.* O Arglwydd ! cofia fi.

*mf* Wrth rydio'r hen Iorddonen ddofn,
Na soddwyf yn y lli' ;
Yn ngwyneb angeu du a'i ofn,
*p* O Arglwydd ! cofia fi.

*cres.* Pan ddelo'r saint i'r lan o'r bedd,
Yn moreu'r Jubili,
I'm codi'n berffaith ar dy wedd,
*f* O Arglwydd ! cofia fi.

AN.

Rhif 35. HAYDN. M.C.D.

*Doh* **F.** M. 88. J. HAYDN, 1732—1809.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| :S | s :-.f \|m :s | f :-.m \|r :F | m :d \|l, :r | d :— \|t, |
| :D | d :-.s, \|s, :d | t, :-.d \|t, :L,s, | s, :s, \|l, :l, | s, :— \|— |
| :M | m :-.r \|d :m | r :-.s \|s :D r | d :d \|d :f | m :— \|r |
| :D | d :-.d \|d :d | s, :-.s, \|s, :L,t, | d :m, \|f, :f, | s, :— \|— |

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| :S | s :-.f \|m :s | f :-.m \|r :F | m :f.r \|d :t, | d :— \|— |
| :T, | d :-.s, \|s, :l, | l, :-.l, \|l, :R | d :d.l, \|s, :s, | s, :— \|— |
| :R | d :-.t, \|d :de | r :-.s \|f :S | s :l.f \|m :r | m :— \|— |
| :F, | m, :-.s, \|d :l, | r :-.r \|r :T, | d :f, \|s, :s, | d :— \|— |

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| :R | r :-.d \|t, :s, | f :-.m \|r :R | m :m \|fe :fe | s :— \|— |
| :S, | fe, :l, \|s, :s, | t, :-.d \|r :T, | d :d \|d :d | t, :— \|— |
| :R | r :-.r \|r :r | r :-.s \|s :S | s :s \|l :l | s :— \|— |
| :T, | l, :fe, \|s, :t, | r :-.d \|t, :S .f | m.r :d.t, \|l, :r | s, :— \|— |

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| :S | s :-.f \|m :s | f :-.m \|r :F | m :f.r \|d :t, | d :— \|— |
| :D | d :-.t, \|d :d | t, :-.d \|t, :L,s, | s,.d :d.l, \|s, :s, | s, :— \|— |
| :M | s :-.s \|s :d' | s :-.s \|s :D r | m .s :l.f \|m :r | m :— \|— |
| :D | m :-.r \|d :m | r :-.d \|s, :L,t, | d :f, \|s, :s, | d :— \|— |

**161** *Gogoniant Seion.*

*f* FE welir Seion fel y wawr,
Er gwaeled yw ei gwedd,
Yn d'od i'r làn o'r cystudd mawr,
'R ol agor pyrth y bedd :
*cres.* Heb glaf na chlwyfus yn eu plith,
Yn ddysglaer fel yr haul,
Yn y cyfiawnder dwyfol pur,
A wnaed gan Adda 'r Ail. M. R.

*f* Aed mawl a gweddi 'r saint i'r lan,
Fel pêr aberthau byw ;
A boed serchiadau Seion wan
Ar dân yn moli Duw ;
*cres.* Mewn gemwaith aur bydd hon cyn hir,
Heb dristwch, cur, na phoen,
Yn canu am goncwest fawr a gaed
Trwy werthfawr waed yr Oen.
J. W.

**162** *Y Gân newydd.*

*mf* Y WAREDIGOL dorf o saint,
O gylch yr orsedd lân,
A seiniant oll, heb flino byth
Ar flâs y newydd gân,
*cres.* Gan dd'wedyd, ' Teilwng ydyw'r Oen
A laddwyd ar y pren,
*f* I gael tragwyddol foliant gan
Holl awdurdodau 'r nen'.

*f* Cydunwn ninau ar y llawr,
A'r saint a'r engyl fry,
I roddi ein coronau i lawr
Wrth draed ein Harglwydd cu ;
*cres.* Nes caffom fyned yno i'w plith,
I'w weled a'i fwynhau,
Lle nad oes ond dedwyddwch pur,
Tragwyddol yn parhau.
HIRAETHOG

## Rhif 36. NORTHUMBERLAND. M.C.D.

*Doh* E♭. M. 76. HENRY SMART, 1812–1879.

:S | s :l | s :m.f | s :d' | t :L | s :d | f :r | m :— | — ||
:D | d :d | d :d | d :m | r :R | s, :l, | d :t, | d :— | — ||
:M | m :f | m :s | s :s | s :L.t | d' :m | l :s | s :— | — ||
:D | d :f, | d :d.r | m :d | s, :F | m :d | f, :s, | d :— | — ||

B♭.t. f.E♭.

:M | (s)d :l, | s, :m | r :d | t, :R | m :f | r :r | (d)s :— | — ||
:D | (d)f, :f, | s, :s, | l, :f, | s, :S, | s, :l, | r, :s,.f, | (m)t, :— | — ||
:S | (s)d :d | d :d | l, :d | r :T, | d :d | d :t, | (d)s :— | — ||
:D | (m)l, :f, | m, :d, | f, :l, | s, :S, | d :f, | s, :s, | (d)s, :— | — ||

:S | t :d' | r' :l.t | d' :t | l :L | m :f | s :f.m | r :— | — ||
:R | s :s | f :r | m :m.r | d :D | d :d | d :r.d | t, :— | — ||
:T | r' :s | l :l | l :se | l :M | l :l | s :l | r :— | — ||
:S | s.f :m | r :f | m :m, | l, :L,.t, | d :l, | m, :f, | s, :— | — ||

:S | s :l | s :m.f | s :d' | t :L | s :d | f :r | d :— | — ||
:R | d :d | d :d | d :d | d :D | d :d | d :t, | d :— | — ||
:T | d' :l | m :s.f | m :m | m :F | s :m | l :s.f | m :— | — ||
:S.f | m :f | d :m.r | d.t, :l, | s, :F, | m, :l, | f, :s, | d :— | — ||

### 163 *Llais yr Iesu.*

*mp* MI glywais lais yr Iesu 'n dweyd,
"Tyr'd ataf yr awr hon!
Rho bwys dy ben, flinderog un,
Yn esmwyth ar fy mron!"
*cres.* Mi ddaethum at yr Iesu cu,
Yn llwythog, blin, a phrudd,
*f* Gorphwysfa gefais ynddo Ef,
'Rwy'n llawen nos a dydd.

*mp* Mi glywais lais yr Iesu 'n dweyd,
"Mae 'r bywiol ddwfr yn rhad;
O! plyga i lawr, sychedig un,
Yf fywyd, ac iachâd!"
*cres.* Mi yfais gyda 'r Iesu cu,
O ddyfroedd afon Duw,
*f* Fy syched ffôdd, daeth nerth yn ol,
Ac ynddo Ef 'rwy'n byw.

*mp* Mi glywais lais yr Iesu 'n dweyd,
"Goleuni 'r byd wyf fi!
Dy wyneb tro, drallodus un—
Daw boreu clir i ti!"
*cres.* Mi droais at yr Iesu cu,
Daeth haul, 'r ol noson faith;
*f* A rhodiaf yn ngoleuni hwn
Nes d'od i ben fy nhaith.

BONAR—CYF.

### 164 *Dymuniad am y nefol Wlad.*

*mf* TRA yn y dyrys anial dir,
Yn mhell o dŷ fy Nhad;
Fy ngolwg cadw, Iesu pur!
Yn gywir tua'r wlad:
*cres.* O! dyro i mi nerth drwy ffydd
I ddringo 'r creigiau serth,
*f* Nes d'od o'r diwedd i dy ŵydd,
Breswylydd mawr y Berth! D. LL.

165 *Yr Iesu.*

*mf* MAE enw Iesu mawr yn 'stor
Sy'n llawn o drysor drud;
Ac ni thalasai gras oedd lai
I dynu beiau 'r byd;
*cres.* Mae parch yn llanw 'r nef, yn un,
I enw 'r Iesu mawr,
*f* Mae 'r holl angylion glan yn llu
'N ymgrymu iddo 'n awr.

*p* Gwaredwr yn y preseb tlawd,
Ac yn y gwawd i gyd;
Gwaredwr ar y groes oedd Ef,
Yn dyoddef dwyfol lid:
*mf* Er llwyr waredu torf ddiri,
Ar Galfari, fe ro'dd
*f* Anfeidrol Iawn, nes gwneuthur byth
Gyfiawnder wrth ei fodd.

*mf* Oddiwrth y bai gwaredu mae,
Oddiwrth y wae ynghyd;
Oddiwrth elynion oll, a'u gwg,
A'r drwg sydd yn y byd:
*f* Trwy holl garcharau Edom gaeth
I'r lan y daeth fel Duw!
Ac am y goncwest fawr bydd son—
*ff* Gwaredwr Scion yw.

AN.

166 *Cwlwm Tangnefedd.*

*mf* CYLYMWYD ein calonau 'nghyd
Mewn llonfyd uwch y llawr;
Un bryd, un llais, un gobaith da—
Mae 'r nefoedd yma 'n awr!
*cres.* Gwresogwyd ein heneidiau byw
Trwy ras Oen Duw, ein dawn;
Bendithion llawn, cysurol hedd,
Digonedd ynddo gawn!

*mf* Pan gesglir perlau 'r nefoedd wych,
Ddysgleirwych serog lu,
Pryd hyny 'r hardd lewyrcha 'r saint
Mewn nefol fraint sydd fry:
*cres.* I'r rhai yn rhwymau cariad sydd,
Mae 'r dydd, mae 'r dydd yn d'od!—
*f* I gael mwynhau tragwyddol hedd—
Byd rhyfedd uwch y rhod!

AN.

167 *Ffynon Calfaria.*

*p* MI welaf ffynon lawn o waed—
O waed Emmanuel mawr,
*cres.* Lle gall troseddwyr mwyaf gaed,
Gael bywyd ynddi 'n awr.

*mf* Bu dda i'r lleidr ar y groes
Ei chaffael yn ei ddydd;
*cres.* Maddeuwyd holl bechodau 'i oes—
A'i enaid aeth yn rhydd.

*mf* Mae llais y nef yn galw 'n glir,
Drueiniaid, fawr a mân,
I ddyfod iddi heddyw 'n wir,
I'w golchi oll yn lân.
*p* Yr wyf yn dyfod, O fy Nuw!
I 'mofyn am y gwaed:
*f* O! golch yn lân y dua'i liw,
Sy'n dysgwyl wrth dy draed.

AN.

168 *Ni roddwn fyny'r Beibl.*

*mf* NI roddwn fyny 'r Beibl byth,
Gwir sanctaidd Air ein Duw,
Arweinydd diogel ie'nctyd llon
A chysur henaint yw.
*cres.* Haul yw yn tywallt goleu clir
Ar ddyrys lwybrau trist;
*mp* Lleferydd cariad Duw o'r nef
Yn galw 'r byd at Grist.

*f* Ni roddwn fyny 'r Beibl byth,
Lledaenwn ef bob awr,
Nes clywir ei achubol lais
Tu draw i'r moroedd mawr;
Hyd nes y teimla pawb ei nerth,
A thra bo ynom chwyth,
Gwir werthfawr sanctaidd Air ein Duw,
Ni roddwn fyny byth.

CYF. J. G. J.

169 *Enw Crist.*

*mf* MOR beraidd i'r credadyn gwan
Yw hyfryd enw Crist! [glwy',
Mae 'n llaesu ei boen, yn gwella 'i
Yn lladd ei ofnau trist.
*cres.* I'r ysbryd clwyfus rhydd iachâd,
Hedd i'r drallodus fron;
Mae 'n fanna i'r newynog ddyn—
I'r blin, gorphwysfa lon.

*mf* Hoff enw! fy ymguddfa mwy—
Fy nghraig a'm tarian yw—
Trysorfa ddiball yw o ras
I mi y gwaela'n fyw!
*cres.* O Iesu! 'mhrophwyd a fy nheyrn,
F' offeiriad a fy ngwawl,
Fy ffordd, fy mywyd, a fy Nuw
*f* O! derbyn Di fy mawl.

NEWTON—CYF.

Rhif 37. SABBOTH. M.S.

*Doh* D. M. 60. J. WILLIAMS, Dolgellau, 1740—1821.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D' | s :d' | l :r' | s :t | d' :D' | d' :d' | r' :d' | t :l | s |
| :M | d :m | f :f | s :f | m :D | m :r | r :m | r :-.d | $t_1$ |
| :S | s :s | l :l | d' :s | s :S | s :s.fe | s :s | s :fe | s |
| :D | m :d | f :r | m :r | d :M | d :$l_1$ | $t_1$ :d | r :— | $s_1$ |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | s :f | m :d'.t | l :l | s :D' | l :s | d' :d' | t :— | d' |
| :D | r :$t_1$ | d :m | m :r.d | $t_1$ :D | d :f | m :f | r :— | m |
| :M | s :s | s :l.s | s :fe | s :S | l :t | d' :l | s :— | s |
| :D | $t_1$ :$s_1$ | d :$l_1$.$t_1$ | d :r | $s_1$ :M | f :s | l :f | s :— | d |

## 170 *Crist uwchlaw pob moliant.*

*mf* FE ddwedwyd llawer am yr Oen,
Ond llai na digon eto;
*f* Gwaith yw molianu'r Oen dilyth
Na dderfydd byth mo hono.

*mf* Mae'n uwch na moliant dynion oll,
A hwythau'r holl angylion;
Ar ol canmoliaeth rhwydd pob rhai,
Bydd eto lai na digon.

*mf* 'Rol treulio oesoedd rif y gwlith
O fewn i'r ddilyth Seion,
I roi'r perffeithiaf fawl i'r Oen,
Byth ni bydd son am ddigon.

*f* Clodfored pawb Dywysog nen,
Byth ar ei ben bo'r goron;
Fe dderbyn fawl pob didwyll rai,
Er bod yn llai na digon. D. S.

## 171 *Golwg ar y gwaed.*

*mf* 'DOES dim ond rhinwedd gwaed yr Oen,
A dâl i son am dano;
'Rwy' wedi penderfynu 'nghred,
Y rho'i f' ymddiried ynddo.

*mf* Mae achos canu nos a dydd,
Gan bawb sy' a ffydd yn Iesu;
*mp* Er bod gorthrymder yn eu rhan,
*cres.* Hwy allant orfoleddu.

*f* O! ddedwydd deulu'r nefol wlad,
Sy'n canu am waed y cymod;
Cael byw ar haeddiant dwyfol hedd,
A'u llygredd wedi darfod.
J. R., LL.

## 172 *Seion yn ogoneddus.*

*mf* PAN adeilader Seion wych,
Bydd hon yn ddrych i'r gwledydd;
Pan welir gwaith yr Arglwydd ne',
*f* Fe'i molir E'n dragywydd.

*mf* Hyn fydd pan gasglo pawb ynghyd,
Yn unfryd i'w folianu;
*f* Yr holl deyrnasoedd, dônt yn ngŵydd
Yr Arglwydd, i'w was'naethu.
E. P.

## 173 *Y gân newydd.*

*f* MAE'R gwaed a redodd ar y groes,
O oes i oes i'w gofio;
Rhy fyr yw tragwyddoldeb llawn
I ddweyd yn iawn am dano.

*f* Prif destyn holl ganiadau'r nef,
Yw "Iddo Ef" a'i haeddiant;
A dyna sain telynau glân
Ar uchaf gân gogoniant.

*mf* Mae hynod rinwedd gwaed yr Oen,
A'i boen wrth achub enaid,
*cres.* Yn seinio'n uwch ar danau'r nef,
Na hyfryd lef seraphiaid.

*mf* 'Mhen oesoedd rif y tywod mân,
Ni fydd y gân ond dechreu;
*cres.* Rhyw newydd wyrth o'i angeu drud
A ddaw o hyd i'r goleu.
R. AB G. DDU.

174 *O! dewch i'r Dyfroedd.*

*mf* O! DEWCH i'r dyfroedd, dyma 'r dydd—
Yr Arglwydd sydd yn galw!
Tragwyddol ras yr Arglwydd Iôr
Sydd fel y môr yn llanw.

*mf* Heb werth nac arian, dewch yn awr,
Mae golud mawr trugaredd
A'i wyneb ar yr euog rai—
Maddeuant, ac ymgeledd.

*cres.* O! dewch a phrynwch win a llaeth,
Mae yma faeth rhagorol;
Cewch loyw win, heb aur na gwerth,
Mae ynddo nerth tragwyddol.

Bwytewch, mae'r aberth wedi ei ladd,
Y ddeddf a ga'dd anrhydedd;
Ac i bechadur euog, gwael,
Mae modd i gael ymgeledd.

*f* Mae'r wledd yn barod, O! bwytewch,
A llawenhewch yn Seion!
Tragwyddol hedd i blant y llwch—
O! yfwch ei melusion!
R. J., W.

175 *Dyrchafa dy lef drwy Nerth.*

*f* YN wresog dyrchwn fawl i Dduw,
A'n ceidw'n fyw bob mynyd;
Ein hanthem iddo, rhown bob dydd,
Mewn rhydd nefolaidd ysbryd.

*f* I Dduw y nef! dyrchafwn fawl,
Am wawl ar dragwyddoldeb;
Fel gallwn gwrdd ag angeu du
Dan wenu yn ei wyneb!
ANELYF.

176 *Pabell Duw.*

*mf* O! ARGLWYDD Dduw y nefoedd wych!
'Rhwn wyt yn edrych arni,
Fel pabell fach yn mhell is-law
Gorseddfainc dy Fawrhydi!

*mf* Ni ddichon nef y nefoedd faith,
Yr hon sydd waith dy fysedd,
Dy gynwys Di, 'r anfeidrol Fod!
Dy hanfod, na'th anrhydedd.

*mf* Nid oes adeilad o waith dyn,
Yn wir, i'th dderbyn iddi;
Dy unig lys yw 'r galon lân
*mp* A gryn o'th flaen mewn gweddi.

*mf* O! cymer feddiant cyflawn byth,
Trwy 'th ras a'th fendith ddwyfol,
Ar bawb o fewn y babell hon,
A gwna hwy 'n ffyddlon bobl.
B. F.

177 *Hyfrydwch Cymdeithas Eglwysig.*

*mf* UN arch a erchais ar Dduw Nâf,
A hyny archaf eto;
Cael d'od i dŷ fy Arglwydd glân,
A bod â'm trigfan ynddo.

*mf* Caf yno roi fy nghwyn o'th flaen,
A'th degwch wela'i 'n wastad;
A chlywed traethu d'w'llys gu,
A chenadwri'th gariad.

*mf* Pan ddel tymhestloedd—p'le ceir gwell?
Mae yno babell ddirgel,
Lle cuddia Duw ei blant bob un,
*cres.* A'u henaid sy'n ddiogel.
E. P.

178 *Gwerthfawr Ffrwyth y Ddaear.*

*mf* MOR ogoneddus, Arglwydd Dduw!
A rhyfedd, yw 'th ddaioni!
Ein dyddiau breuol gant o'r bron
*cres.* A'th roddion eu coroni.

*mf* Y cynar wlaw, a'r maethlawn wlith,
Ddyferant fendith iraidd;
Y tir a rydd ei gynyrch da,
*cres.* A'r haul gyfrana 'i rinwedd.

*f* Am ffrwythau hael y flwyddyn hon,
A'th fawrion drugareddau,
Molianu d' enw mawr a wnawn,
*cres.* Gan iawn ddefnyddio 'n breintiau.
AN.

179 *Tŷ Dduw.*

*mf* I DY ein Duw pan dd'wedent, Awn,
In' llawen iawn oedd gwrando;
Sai'n traed o fewn Caersalem byrth,
*f* Yr un ni syrth oddi yno.

*mf* Caersalem lân, ein dinas ni,
Ei sail sydd ynddi ei hunan;
*cres.* A'i phobl sydd ynddi yn gytûn,
A Duw ei hun a'i drigfan.

*f* O fewn dy gaerau heddwch boed,
I'th lysoedd doed yr hawddfyd;
Er mwyn fy mrodyr mae'r arch hon,
A'm cymydogion hefyd. E. P.

Rhif 38. DYFRDWY. M.S.

*Doh* A. M. 60. J. JEFFREYS.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S, | d :r | m :s | d :m | r :M | d :l, | f :m | r :— | d |
| :M, | s, :s, | s, :s, | l, :s, | s, :S, | s, :f, | l, :s, | l, :s,.f, | m, |
| :D | d :t, | d :r | m :d | t, :D | d :d | d.t, :d | d :t, | d |
| :D, | m, :s, | d :t, | l, :m, | s, :D, | m, :f, | r, :m, | f, :s, | d, |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :R | m :d | r :t, | f :m | r :D | m :s | d :f.m | r :— | d |
| :S, | s, :l, | l, :s, | f,.s, :s,.l, | t, :S, | s, :s, | l, :l, | l, :s,.f, | m, |
| :T, | d :m | r :r | d.r :m.fe | s :M | d :r | m :r.d | d :t, | d |
| :S, | d :l, | f, :s, | l,.t, :d | s, :D | d :t, | l, :r,.m, | f, :s, | d, |

180 *Crist yn hawddgar.*

*mf* MAE Iesu Grist a'i nefol ddawn
Yn llawn o bob gogoniant;
*cres.* Am dragwyddoldeb yn ddilys,
Y pery ei felus foliant.

*mp* Mor hawddgar yn ei Berson yw!
Hardd ydyw yn ei swyddau;
Mae pob hawddgarwch ynddo Ef,
A fedd y nef yn ddiau.

*mf* Pwy ddichon ddweyd, mor hawddgar yw
Yr Iesu gwiw ei rasau?
*cres.* Nis gall y nef iawn draethu am,
Dros byth, ei ddinam ddoniau.

R. J.

181 *Enaint tywalltedig.*

*mf* MAE enw Crist i bawb o'i saint,
Fel enaint tywalltedig,
*cres.* Ac yn adfywiol iawn ei rin
I'r enaid blin, lluddedig.

*mp* Pan fyddo f' enaid yn y llwch,
A th'w'llwch fel y fagddu;
*cres.* Mae dawn a nerth i'm dwyn yn ol,
Yn enw grasol Iesu.

*mf* Gobeithiwch ynddo, bawb o'i saint,
Er cymaint yw eich gofid;
Gan wybod fod eich Prynwr byw
Yn ffyddlon i'w addewid.

J. H.

182 *Clodforedd i Dduw.*

*f* CLODFORED pawb yr Arglwydd Dduw,
Doed dynolryw i'w ganmol;
Ei hedd, fel afon fawr ddi-drai,
Gaiff ddyfrhau ei bobl.

*mf* Ei air, a'i amod, cadw wna;
Byth y parhâ 'i ffyddlondeb,
Nes dwyn ei braidd o'u poen a'u pla
I hyfryd dragwyddoldeb.

*mf* Ni newid ddim, er gweled bai
O fewn ei rai anwyla';
*mp* Byth cofia waed Tywysog nen,
A'i boen ar ben Calfaria.

*mf* Pan ballo ffafrau pawb, a'u hedd,
Duw, o'i drugaredd odiaeth,
Yn Dad, yn Frawd, yn Ffrynd, a fydd
Ar gyfyng ddydd marwolaeth!

W. W.

183 *Cariad Crist.*

*mf* MAE cariad Crist uwchlaw pob dawn;
Pwy ŵyr ei lawn derfynau;
*cres.* Ni chenfydd llygad cerub craff,
Na seraph, ei fesurau.

*mf* Mae hyd a lled ei gariad Ef
Uwch nef y nef yn llifo;
A dyfnach yw na llygredd dyn,
Heb drai na therfyn arno.

*mf* Mae'r hyd, a'r lled, a'r dyfnder maith,
Mewn perffaith gydweithrediad.
I'w gwel'd yn amlwg ar y bryn,
A'r gwaed yn llyn o gariad.

R. AB G. DDU.

## Rhif 39. OLDENBURGH. M.S.

*Doh* C. M. 80. J. H. SCHEIN, 1586—1630.

D' :— |t :l |s :s |l :t |d' :— |R' :— |d' :t |l :t.d' |l :— |s :— ||
S :— |s :f |r :d |f :f |s :— |S :— |m :s |fe :s |s :fe |s :— ||
M' :— |m' :d' |t :d' |d' :f' |m' :— |T :— |d' :r' |r' :r' |m' :r'.d' |t :— ||
D :— |m :f |s :m |f :r |d :— |S, :— |l, :t,.d |r :s |d :r |s :— ||

D' :— |t :d' |r' :r' |m' :d' |r' :— |S :— |l :t |d' :m' |r' :— |d' :— ||
S :— |s :s |fe :s |s :s.fe |s :— |S :— |f :f |m :s |l :s.f |m :— ||
D' :— |r' :d' |l :t |d' :d' |t :— |D' :— |d' :r' |d' :d' |d' :t |d' :— ||
M :— |f :m |r :s |d' :l |s :— |M :— |f :r |l :m |f :s |d :— ||

### 184 *Cynydd y Saint.*

*mf* Y RHAI a blanwyd yn nhŷ Dduw
Yn goedwig fyw y tyfant;
Ac yn nghynteddau ein Duw ni,
*cres.* Y rhai'ny a flodeuant.

*mf* Y rhai o dan dy gysgod, Iôn,
Yn gyson a arosant,
Dan lewyrchiadau'th wyneb pryd,
*cres.* Y rhai'n fel ŷd adfywiant.

*mf* Lledant eu gwraidd mewn daear fras,
Wrth afon gras y bywyd;
Eu ceinciau gerdd, a'u tegwch fydd
*cres.* Fel olewydd yn hyfryd.

W. E.

### 185 *Emyn foreuol.*

*mf* BOB nos a dydd, O Dduw! 'rwyt Ti
Yn rhoi i ni'th fendithion;
Dy gadarn fraich a'n ceidw'n fyw,
*cres.* Aneirif yw dy roddion.

*mp* Rho ini heddyw'th fendith hael,
Arbeda'n gwael fywydau;
Perciddia ein tymherau ni,
*cres.* Gan loni ein calonau.

*mp* A phan y dêl y nos neu'r dydd,
I'n rhoddi 'nghudd gan angeu,
*cres.* O! derbyn ein hysbrydoedd oll
Fyth yn ddigoll i'th freichiau.

B. F.

### 186 *Eglwys Dduw.*

*mf* MAE eglwys Dduw fel dinas wych,
Yn deg i edrych arni;
Ei sail sydd berl odidog werth
A'i mur o brydferth feini.

*mf* Awn drwy 'r heolydd aur ar frys,
I'r hynod lys brenhinol;
*cres.* Lle gwelir, mewn gogoniant mawr,
Yr Iesu gwerthfawr, grasol!

*mf* Gwyn fyd ei dinasyddion sydd
Yn rhodio 'n rhydd ar hyd-ddi;
*cres.* Y nefol fraint i ninau rho,
O Dduw! i drigo ynddi.

B. F.

### 187 *Mawl i Dduw am ei ddaioni.*

*f* I TI, O Dduw! y gweddai mawl
Yn y sancteiddiawl Seion;
I Ti y telir, trwy holl gred,
Bob gwir adduned calon.

*mf* Coroni'r ydwyt Ti fel hyn
Y flwyddyn â'th ddaioni,
Ac yn dy gariad, Duw fy Nêr,
Dyferaist frasder arni.

*mf* Drwy'th fendith Di, y gwastad-dir
A guddir oll â defaid;
*f* Crechwenant, canant bawb ynghyd,
A'r wlad âg ŷd ei llonaid.

E. P.

### 188 *Y Sabboth yn fendith.*

*f* CYDUNWN, bawb, i foli Duw—
Ei wyneb heddyw ceisiwn;
Cydwleddwn gyda 'i anwyl blant,
A'i foliant byth datganwn.

*mf* Cawn yma bob dymunol ddawn,
Cawn Dduw yn llawn trugaredd;
*cres.* A'i Ysbryd i'n cryfhau bob pryd
Yn fwy fwy hyd y diwedd. AN

Rhif 40. EISENACH. M.S.

*Doh* F. M. 60. J. H. SCHEIN, 1586—1630.

:D.r |m :f |s :s |f :m |r :S |l :t |d' :t |l :— |s ||
:D |d :d |r :d |$l_1$.$t_1$:d |$t_1$ :R |r :r |r :r |m :r.d |$t_1$ ||
:M.f |s :f |r :m |f :s.l |t :S |fe :s |l :s |s :fe |s ||
:D |d :$l_1$ |$t_1$ :d |r :m.f |s :$T_1$ |r :s |fe :s |d :r |$s_1$ ||

:S |d' :t |l :s |f :m |r :S |f :m |r.m :f |m :r |d ||
:R |d :d |d :d |d.$t_1$:d |$t_1$ :D |$t_1$ :d |$t_1$ :d |d :$t_1$ |d ||
:T.l |s :m |f :s |s :s |s :S |s :s |s :f |s :f |m ||
:S.f |m :d |f :m |r :d |$s_1$ :M |r :d |$s_1$ :$l_1$ |$s_1$ :— |d ||

**189** *Diogelwch y Crediniol.*

*mf* GWYN fyd y dyn a gred yn Nuw,
Efe gaiff fyw'n dragwyddol;
Ei hyder sanctaidd cadarn sydd
Fel mynydd Seion siriol.

*mf* Tragwyddol fraich trugaredd gu
Sy'n amgylchynu'i enaid;
O'r llaw alluog nid â 'ngholl
Fyth un o'r holl ffyddloniaid.

Pe syrthiai braisg golofnau'r byd
A'r bryniau i gyd i'r eigion,
*f* Saif Eglwys Dduw—ni sigla darn
O gadarn sylfaen Seion.
B. F.

**190** *Y Bugail ffyddlon.*

*mf* YR Arglwydd yw fy Mugail clau,
Ni âd byth eisieu arnaf;
Ond gorwedd gaf mewn porfa fras,
Ar lan dw'r gloywlas, araf.

*mf* Fe goledd f' enaid ac a'm dwg
Rhyd llwybrau diddrwg, cyfion;
Er mwyn ei enw mawr dilys,
Fe'm tywys ar yr union.

O'th nawdd y daw y doniau hyn
I'm canlyn byth yn hylwydd;
*f* A minau a breswyliaf byth,
A'm nyth yn nhy yr Arglwydd.
E. P.

**191** *Cariad brawdol.*

*mf* BOED cariad brawdol cywir, brwd,
Fel llydan ffrwd yn llifo,
*cres.* Trwy Salem deg, preswylfa Duw,
Gan daenu'n ddiluw yno.

*mf* Cyfeillach sanctaidd siriol sydd,
Fel gwlith ar feusydd gleision,
*cres.* Mae'n lledu hedd a llwyddiant pur
I hoff breswylwyr Seion. B. F.

**192** *Mor hawddgar yw dy bebyll.*

*mf* MOR deg yw'th bebyll di, O Dduw!
Mor hawddgar yw'th gyntedd-
Nid oes fath gu balasau gwych [oedd!
Tu yma i entrych nefoedd.

*mf* Preswylfa hardd y Brenin mawr,
Yw Seion werthfawr, hylwydd;
*f* Ac yno bydd ei orsedd lân,
A'i drigfan yn dragywydd.
B. F.

**193** *Duw yn breswylfa.*

*mf* DUW! buost ini yn Arglwydd da,
Ac yn breswylfa i drigo;
O bryd i bryd, felly yr aeth
Pob rhyw genhedlaeth heibio.

*mf* Er cyn rhoi sail un mynydd mawr,
Cyn llunio llawr cwmpas-fyd,
*cres.* O dragwyddoldeb wyt, cyn neb,
Hyd dragwyddoldeb hefyd.

*mf* Yr Arglwydd bïau 'r ddaear lawr,
A'i llawnder mawr sy'n eiddo;
*cres.* Yr Arglwydd bïau yr holl fyd,
A'r bobl i gyd sydd ynddo.
E. P.

**194** *Tŷ yr Arglwydd.*

*mf* DY babell Di, mor hyfryd yw,
O Arglwydd Dduw y lluoedd!
Mi fawr chwenychais weled hon,
Gan mor dra thirion ydoedd.

*cres.* Y man b'ot Ti, boed fryn neu fro,
Sydd gyflawn o ddyddanwch;
Yn dy gynteddau 'n wastad mae
Rhyw fôr didrai o heddwch.
W. W.

Rhif 41. **DEEMSTER. M.S.**

*Doh* D. M. 76. W. OWEN PRYSGOL.

D' :— |s :l |s :d' |t :l |s :— |S :— |m :s |l :r' |d' :t |d' :— ||
M :— |m :m |m :s |s :fe |s :— |M :— |s :m |d :f |m :r |m :— ||
S :— |d' :d' |d' :m' |r' :d' |t :— |D' :— |d' :d' |l :l |s :— |s :— ||
D :— |d :d |m :d |r :r |$s_1$ :— |D :— |d :m |f :r |s :$s_1$ |d :— ||

*p* *f*
S :— |m :s |s :l |s :f |m :— | : | : | : |D' :— |d' :t
M :— |d :m |m :f |m :r |d :— | : | : | : |M :— |m :r
*p*
: | : | : | : |S :— |m :s |s :l |s :f |m :— | :
: | : | : | : |M :— |d :m |m :f |m :r |d :— | :

l :— | : |r' :— |r' :d' |t :— | : |m' :— |m' :r' |d' :r' |d' :t |d' :— |— :— ||
d :— | : |f :— |f :m |r :— | : |s :— |s :s.f |m :f |m :r |m :— |— :— ||
*f*
L :— |l :s |f :— | : |t :— |t :l |s :d' |d' :t |d' :l |s :— |s :— |— :— ||
F :— |f :m |r :— | : |s :— |s :f |m :s |d' :s |l :f |s :$s_1$ |d :— |— :— ||

**195** *Hyder yn ngras Duw.*

*mf* DY ras yw'm gobaith, O fy Nuw !
Ar hwn 'rwy'n byw'n wastadol,
*cres.* Heb ofni eisieu byth, fy Ior,—
*f* Mae gras yn fôr tragwyddol !

*v* Yn ymyl distryw cefaist fi,
Yn ddu bechadur, euog,
Ac ymgeleddaist fi yn rhad,
Fy anwyl Dad, trugarog ! J. R., C.

*mf* Mi nesaf atat eto 'n nes ;
Pa les im' ddigaloni ?
*cres.* Mae sôn am danat Ti 'n mhob man
Yn codi 'r gwan i fyny. W. W.

**196** *Gofal Duw.*

*mf* DA yw yr Arglwydd i bob dyn,
A'i nodded sy'n feithrinol ;
Ac ar ei holl weithredoedd Ef
*cres.* Daw nawdd o'r nef yn rasol.

*mf* Wele, mae llygaid yr holl fyd
Yn dysgwyl wrthyt, Arglwydd ;
Tithau a'u porthi hwynt i gyd
*cres.* Bawb yn ei bryd, yn ebrwydd.

*mf* A phan agorech Di dy law,
O honi daw cynaliaeth ;
Yn ol ewyllys da fy Nuw,
*cres.* Caiff pob peth byw eu lluniaeth.
E. P.

**197** *Ti, Dduw, a garaf.*

*mf* TI, Dduw ! a garaf ; ynot Ti
Y mae i mi gadernid ;
Yr Arglwydd imi 'n Graig y sydd,
*cres.* Efe a'm rhydd mewn rhyddid

*mf* Galwaf ar Dduw mewn gweddi a chân,
Yr Arglwydd glan a folaf ;
Ac felly rhag fy ngelyn cas,
*cres.* Yn rhydd trwy ras y byddaf.

*p* O'm hing y gelwais ar Dduw nef,
*cres.* Fe glybu 'm llef yn gwaeddi ;
*mp* O'i deml y clybu Duw fy llais,
*cres.* Atebodd gais fy ngweddi.
AN.

**198** *Iau Ieuenctid.*

*mf* DA iawn i ŵr yw dwyn yr iau,
Ac ufuddhau yn foreu,
*cres.* A chanlyn Crist, gan godi 'r groes,
Yn ngrym ei oes, a'i ddyddiau.

*mf* Gan fod y nos yn agoshau,
A'r oes mor frau, a phrysur,
*cres.* Paham y safwn yn ddi-gûdd
Ar hyd y dydd yn segur ?

*f* Ffyrdd crefydd sydd yn hyfryd iawn,
A'i llwybrau 'n llawn o heddwch ;
Ein tywys wnant drwy 'r anial dir,
*cres.* I wlad y gwir ddedwyddwch.
AN.

Rhif 42. LLANGRANOG. M.S.

*Doh* E♭. M. 60. J. PARRY, 1860.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D' | s :s | l :f | m :r | d :R | m :s | d' :t | l :— | s |
| :M | d :d | d :r | d :$t_1$ | d :$S_1$ | d :r | d :r | m :r .d | $t_1$ |
| :S | s :m | f :l | s :f | m :S | s :s | m.fe :s | s :fe | s |
| :D | m :d | f :r | s :$s_1$ | d :$T_1$ | d :$t_1$ | $l_1$ :$t_1$ | d :r | $s_1$ |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | l :t | d' :m | f :s | l :T | d' :l | s :m | r :— | d |
| :D | d :f | m :m | d :d | d :R | d :r | r :d | d :$t_1$ | d |
| :M | f :s | s :s | f :m | f :F | s :l | r :s | l :s | m |
| :D | f :r | m :d | $l_1$ :d | f :R | m :f | $t_1$ :d | $f_1$ :$s_1$ | d |

## 199 *Anog i foli Duw.*

*mf* I'R unig ddoeth a bywiol Dduw,
Rhoed dynolryw ogoniant;
Anrhydedd fo i'w enw glân,
Anfarwol gân a moliant.

*mf* Wrth edrych ar y nefoedd faith,
A gweled gwaith Iehofah;
Anfeidrol yw'r ddoethineb sydd
Yn ganfyddedig yma.

*cres.* Trwy'r tir a'r môr dysgleirio mae
Ei allu a'i ddoethineb;
*f* Ond yn y cymod gras a'r Iawn,
Y maent mewn llawn ddysgleirdeb.

D. S. E.

## 200 *Croes Crist.*

*mf* YN nghroes yr Iesu ymffrostio wnaf,
Drwy hon mi gaf orfoledd;
*cres.* Rhydd gysur pur wrth deithio'r glyn,
A choron yn y diwedd.

*mf* Mae dirmyg Crist a'i groes i mi
Yn fwy o fri ac urddas,
Na'r holl drysorau sy'n y byd,
A chyfoeth drud pob teyrnas.

*mf* Yn ymyl croes fy Arglwydd mawr,
Caf daflu 'lawr fy meiau;
*cres.* A dyrchu cân i'w enw cu,
Mewn llu o gyfyngderau.

*f* Ac am ei aberth gwerthfawr Ef
Dadseinia nef y nefoedd,
O galon bur ar ddwyfol dant,
Ogoniant yn oes oesoedd.

AN.

## 201 *Mynydd Ty yr Arglwydd.*

*f* GORUWCH yr holl fynyddau sy',
Bydd mynydd tŷ Iehofah;
Yn ddyrchafedig yn ddiau,
Goruwch y bryniau ucha'.

*mf* Fe ddaw'r cenhedloedd o bob iaith,
I brysur ymdaith ato;
*cres.* Yn filoedd myrdd, â llawen floedd,
Fel dyfroedd yn dylifo.

*mf* A phobloedd lawer iawn a ânt,
A hwy a ddwedant, Deuwch;
I fynydd ac i dŷ'r Duw hwn,
Esgynwn er dyddanwch.

*mf* Efe a'n dysg ni yn ei ffyrdd,
I wybod myrdd o bethau,
*cres.* Ac ni a rodiwn o un fryd,
*f* Oll yn ei hyfryd lwybrau.

J. H.

## 202 *Gorchfygu Angeu ac Uffern.*

*f* GORCHFYGODD Iesu un prydnawn
Y ddraig, a'i llawn gynllwynion;
A'i waed a roddodd i'n glanhau,
A'n cânu ninau 'n wynion.

*f* Gogoniant byth i'r anwyl Un,
A dynodd golyn angeu;
*cres.* Ysbeiliodd uffern fawr ei grym,
A rhyddion ydym ninau.

R. AB G. DDU.

# SWANSEA. M.S.

*Doh* B♭. M. 60. T. S. SAMUEL, 1888.

```
:D  |d  :l,  |s,  :d  |t,  :r  |d  :M  |r  :f  |m  :r  |d  :—   |t,  ||
:S, |s, :f,  |s,  :s, |s,  :f, |m, :S, |s, :s, |s, :s, |s, :fe, |s,  ||
:M  |m  :d   |d   :m  |r   :t, |d  :D  |f  :r  |d  :r  |m  :r   |r   ||
:D, |d, :f,  |m,  :d, |s,  :s, |d, :D  |d  :t, |d  :t, |l, :—   |s,  ||

:S, |l, :d   |t,  :r   |d  :r  |m   :M  |r  :m  |f  :m  |r  :—     |d  ||
:S, |f, :s,  |s,  :m,  |m, :l, |se, :S, |s, :s, |s, :s, |l, :s,.f, |m, ||
:D  |d  :m   |r   :t,  |d  :l, |t,  :D  |t, :d  |r  :d  |d  :t,    |d  ||
:M, |f, :d,  |s,  :se, |l, :f, |m,  :D, |s, :d  |t, :d  |f, :s,    |d, ||
```

## 203 *Y Credadyn cystuddiedig.*

*mp* BODDLONI wnaf i drefn fy Ner,
Dan bob rhyw flinder beunydd;
*mf* Fe ddichon droi fy chwerwaf gri,
A'm galar i lawenydd.

*mp* Os yn y pair rhaid i mi fod,
Nes cael fy sorod ymaith,
*f* Fel aur, a fwrir yn y tân,
Y deuaf allan eilwaith.

R. AB G. DDU.

## 204 *Presenoldeb Duw.*

*mf* CHWYTHED yr awel deneu, lem,
Dros fryn Caersalem newydd;
. Fel byddo 'n hysbryd ni mewn hwyl
I gadw gŵyl i'r Arglwydd.

*mf* I fyny awn i fynydd Duw,
Esgynwn i'w gynteddau;
Dysg ini ei ffyrdd :—ac wedi hyn
Y rhodiwn yn ei lwybrau.

*cres.* Awn felly 'mlaen o nerth i nerth,
Yn brydferth, nes cael dyfod,
*f* I foli Duw â llawen floedd
Yn entrych nefoedd uchod!

AN.

## 205 *Gwyn eu byd y Meirw.*

*mf* ODDIAR ei orsedd yn y nef
Mae Duw a'i lef yn dadgan,
*cres.* Mai dedwydd mewn anfarwol fro
Yw'r meirw o hyn allan.

*p* Y rhai, er teithio dan y groes,
Yn niwedd oes a hunant
*mf* A'u pwys ar Grist, ein Harglwydd ni,
Dderbynir i ogoniant.

*mp* Gorphwysant mewn dedwyddwch pur
Oddiwrth eu cur a'u lludded,
*cres.* Heb arnynt ofid, poen, na chlwy',
Na newyn mwy, na syched.

*mf* Arweinir hwy gan Iesu gwiw,
At ffrydiau byw o ddyfroedd;
*cres.* Fel ffrwd lifeiriol yw eu hedd,
Yn nwyfol wledd y nefoedd.

CYNDDELW.

## 206

*Hau mewn gwendid, cyfodi mewn nerth.*

*mp* CYSEGRA ni a'th Ysbryd Glân,
Dod dduwiol anian ynom;
*mf* Ac yn dy wyddfod, ar dy wedd,
Tu draw i'r bedd y byddom.

*mf* O! pa mor wynfydedig fydd,
Y rhai mewn ffydd a hunant;
*cres.* Mewn nerth addurnir hwynt yn ddwys,
I gynal pwys gogoniant.

*mp* Er myn'd i lawr yn wael eu gwedd
I gryd y bedd llygredig,
*cres.* Mewn undeb pur â Christ, eu Pen,
*f* Cânt godi'n fendigedig.

*f* Mor ogoneddus fydd y Saint,
Yn meddu'r fraint o newydd,
A gollwyd gynt yn Eden ardd,
Sef delw hardd eu Harglwydd.

R. AB G. DDU.

Rhif 44. **ELY. M.S.**

*Doh* A. M. 76. ESGOB TURTON, D.D., 1780—1864.

```
:D  | d  :r  | m  :d     | l, :t,  | d  :R   | m  :d       | t, :d  | l, :—  | s,  ||
:M, | m, :s, | s, :s,    | f, :f,  | s, :S,  | s, :s,.fe,  | s, :s, | s, :fe,| s,  ||
:D  | d  :t, | d  :d     | d  :r   | m  :T,  | d  :d       | r  :m  | r  :—  | t,  ||
:D  | l, :s, | d  :m,    | f, :r,  | d, :S,  | d  :l,      | s, :d, | r, :—  | s,  ||

:S, | s  :f  | m  :d     | f    :m | r  :S,  | l, :d       | s, :m  | r  :—  | d   ||
:S, | s, :t, | d  :d     | l,.t,:d | t, :S,  | f, :f,      | s, :s, | l, :s, | m,  ||
:M  | r  :r  | m  :l .s  | f    :s | s  :S.d | d  :f       | m  :d  | d  :t, | d   ||
:D  | t, :s, | d  :f .m  | r    :d | s, :M,  | f, :l,      | d  :m, | f, :s, | d,  ||
```

**207** *Cariad Tri yn Un.*

*mf* TRAGWYDDOL gariad Tri yn Un,
I gadw dyn colledig,
A ogoneddwyd ar y pren,
Gan Iesu bendigedig.

*f* Trugaredd rad o'i fynwes Ef,
Fel afon gref a lifodd;
Rhai o bob llwyth, pob iaith, ac oes,
Ar bren y groes a brynodd.

*mf* Nes myn'd i blith y dorf sy' bell,
Yn meddu gwell telynau,
Dyrchafwn ni sydd eto'n ol,
Ein mawl â'n dynol dànau.

*cres.* Anfarwol gôr y nef i gyd,
Yn hyfryd a'i molianant;
*f* O! llanwn ninau yn ddidrai,
Y ddaear â'i ogoniant.
R. AB G. DDU.

**208** *Cysuron y Gair.*

*f* DY nerthol air, Iôn! oddi fry,
A bery yn oes oesoedd;
Tydi wyt wedi cadarnhau
Dy eiriau yn y nefoedd.

*mf* Mor werthfawr yw dy air a'i rin,
Mewn cystudd blin a chroesau!
*f* Fe droir wylofain trist yn gân,
Yn llwybrau glân dy ddeddfau.

*mf* Er teimlo ei fin, ei nerth, a'i rym,
Fel cleddyf llym yn rhwygo;
*cres.* Er hyn, mae olew, gwin, a hedd,
Oes, ac ymgeledd ynddo.

*mf* Yn niwedd taith yr anial dir,
A garo'r gwir gaiff goron;
*f* Try llafur ffydd, wrth air y llw,
Yn elw i'r duwiolion. R. J., W.

**209** *Drych yr Ordinhadau.*

*mf* MAE ordinhadau Duw fel drych,
A ffydd a edrych drwyddynt
Ar Grist, y gwerthfawr wrthddrych [glân
A ddelir allan ynddynt.

*mf* Mae gweled gwedd f' Anwylyd gwych
Yn awr trwy ddrych yn hyfryd;
*f* Ond O! mor felus fydd y nef,
I'w ganfod Ef mewn gwynfyd!
B. F.

**210** *Archoffeiriad mawr.*

*mf* COFFAWN yn llawen, gyda pharch,
Am ras ein Harchoffeiriad;
Un yw o galon dyner iawn,
A mynwes lawn o gariad.

*mp* Cyd deimlo mae â'n natur wàn,
Fe ŵyr mor egwan ydyw;
Gŵyr beth yw profedigaeth gref,
Can's teimlodd Ef y cyfryw.

*mf* Am hyny yn ei nerth a'i nawdd,
Rho'wn ynddo'n hawdd ein hyder;
*f* Ac yna'n gwared gawn bob tro,
Mewn amser o gyfyngder. J. W., A.

**211** *Ymddiried yn Nuw.*

*mf* O! GWELWCH, profwch mor dda [yw
Yr Arglwydd byw i'w eiddo;
A gwyn ei fyd pob dyn a gred,
Gan lwyr ymddiried ynddo. AN.

**212** *Cenwch yn llafar i'r Arglwydd.*

*mf* I'R Arglwydd cenwch lafar gân,
I'w enw glân rhowch foliant;
*cres.* Clodforwch Ef a llawen floedd
*f* Rhowch iddo 'n g'oedd ogoniant.

*mf* Gwybyddwch mai Efe sy Dduw,
Yr Arglwydd yw ein Crëwr;
Ei bobl Ef ydym yn mhob gwlad,
Efe yw 'n rhad Waredwr.

*cres.* A diolch, ac â mawl a chân
O! ewch i'w lân gynteddoedd;
Dyrchefwch glod trwy 'r ddaear lawr
I Frenin mawr y nefoedd.

*f* O herwydd da yw'r Arglwydd Dduw,
Trugarog yw a graslawn;
A phery ei wirionedd Ef
Holl oesau 'r nef yn ffyddlawn.

CYNDDELW.

**213** *Yr Adgyfodiad a'r Bywyd.*

*mf* MYFI yw 'r Adgyfodiad mawr,
Myfi yw gwawr y bywyd:
*cres.* Caiff pawb a'm cred, medd f' Arglwydd Dduw,
Er trengu, fyw mewn eilfyd.

*mf* Yn wir! yn wir! medd Gwir ei hun,
Pob cyfryw ddyn sy'n gwrando
Fy ngair, gan gredu'r Tad a'i rhoes,
Mae di-dranc einioes ganddo!

*mf* Yr hwn sy'n hoffi ufuddhau,
Trwy ffydd, i'm geiriau hyfryd,
*cres.* Ni ddaw i farn—ond trwodd aeth
O angeu caeth i fywyd.

E. W.

**214** *Pryn y Gwir.*

*mf* O! PRYN y gwir, fy enaid! pryn!
Na werth ar ddim amodau;
*cres.* O holl drysorau môr a thir,
Y gwir yw'r trysor goreu.

*mf* Y gwir fel gwregys, ar bob cam,
Yn dŷn fo am ein lwynau;
*cres.* Y gwir yn unig geidw'n bron
Yn llon mewn gorthrymderau.

*mf* Y gwir rydd gysur dan y loes,
Pan ddelo f'oes i fyny:
*cres.* Daw hwn â'm henaid gwan pryd hyn
*f* Trwy'r glyn dan orfoleddu.

AN.

**215** *Duwioldeb yn Elw.*

*mp* DUWIOLDEB fydd yn elw mawr
Pan ddelo 'r awr i farw:
Bydd fwy ei gwerth na'r byd i gyd,
A'i berlau drud, pryd hwnw.

*cres.* A hi a'n dwg uwch law y dòn
Drwy afon donog angeu,
Yn ddiogel iawn i'r nefoedd draw,
Yn mhell uwch law gofidiau.

I. G. GEIRIONYDD.

**216** *Bedydd.*

*p* I'R ordinhad o fedydd dw'r
Ein Prynwr ymostyngodd;
*cres.* Os felly gwnaeth Tywysog nef
Dilynwn Ef o wirfodd.

*p* 'Rol d'wedyd "Gweddus yw y gwaith,'
Ymostwng wnaeth yn drylwyr;
*cres.* Os gweddus hyn i wir Fab Duw,
Mae'n weddus i'w ganlynwyr.

*p* Rhyw ddarlun yw o boenau Crist,
Pan oedd yn drist hyd angeu,
Yn achos pechaduriaid drwg,
O dan y gwg a'r poenau.

*mf* Boed grym dy gariad, Iesu cu!
I'n tynu i rodio'th lwybrau;
A nertha ein calonau, Iôr!
I barchu'th ordinhadau.

E. R.

**217** *Dydd yr Arglwydd.*

*mf* HWN ydyw'r dydd a wnaeth ein Duw,
A gwerthfawr yw yr oriau;
Do'wn ger ei fron o gywir fryd
Gan barchu'r hyfryd foreu.

*mf* Do, anrhydeddodd Iesu 'r dydd—
Ca'dd heddyw 'r fuddugoliaeth
*cres.* Ar uffern boeth, ar rym y bedd
*f* Maluriodd gledd marwolaeth.

*mf* Gorchfygodd Crist bob gelyn cryf
Yn awr fe dŷf ei deyrnas;
*cres.* Cawn byth gyfiawnder hoff a hedd,
A mawr orfoledd addas.

*f* Hosanna drwy y nefoedd fry,
A'r ddaear obry'n ebrwydd,
I Brynwr dyn, ein Brenin da,
A'n gwir anwylaf Arglwydd.

B. F.

# DYMUNIAD. M.S.

*Doh* C. M. 60. HUGH JONES, Penybŵth ger Caernarvon, 1772.

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :L | d' :t | l :m' | r' :d' | t :T | d' :r' | m :r'.d' | t :— | l | ‖ |
| :M | m :m | d :l | f :m | m :M | m :s | s :f .m | r :m .r | d | ‖ |
| :D' | l :se | l :l | l :l | se :Se | l :t | d' :l | l :se | l | ‖ |
| :L | l :m | f :d | r :l, | m :M | l :s | d :r | m :— | l, | ‖ |

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :T | d' :d' | r' :r' | m' :m' | r' :M' | d' :t | l :r'.d' | t :— | l | ‖ |
| :M | m :m | s :s | s :s | s :M | m :r | d :f .m | f :m .r | d | ‖ |
| :Se | l :l | t :t | d' :d' | t :T | l :se | l :se.l | l :se | l | ‖ |
| :M | l :l | s :s | d' :m | s :Se | l :m | f :t,.d | r :m | l, | ‖ |

## 218 *Arddeliad ar y Gair.*

*mp* O ARGLWYDD Dduw! 'r Hwn bïau 'r gwaith,
*cres.* Arddel dy faith wirionedd,
*mf* Fel byddo i bechod o bob rhyw
Gael marwol friw o'r diwedd.

*mf* Amlyga Di, O Arglwydd Iôr!
O fôr i fôr dy fawredd;
A dangos i holl ddynolryw
Mor union yw 'th wirionedd!

*mf* Llefara wrthym air mewn pryd;
Dod ysbryd i dy garu;
*cres.* Dadguddia ini 'r oedfa hon
*f* Ogoniant person Iesu. AN.

## 219 *Ar ddechreu oedfa.*

*f* O! DEFFRO, deffro, gwisg dy nerth,
O! brydferth fraich yr Arglwydd!
Fel yn y dyddiau gynt a fu,
Amlyga'th alluawgrwydd.

*mf* I enyn ynom nefol dân,
Boed dylanwadau'th Ysbryd;
*cres.* Aed gyda'th eiriau sanctaidd Di,
*f* Nerth, a goleuni hefyd.

*mf* O Arglwydd! dyro ini'n glau
Y dylanwadau nerthol,
*cres.* O weithrediadau'r Ysbryd Glan,
*f* A'u grym fel tân angherddol.
J. H.

## 220 *Erfyn am Drugaredd.*

*mp* TRUGAREDD, f' Arglwydd! heb ddim mwy,
Yw 'r cwbl 'rwy'n ei geisio;
Trugaredd yw fy newis lwydd,
Trugaredd, f' Arglwydd, dyro!
E. P.

*mf* O Arglwydd! dyro Di dy ddawn
I'n dysgu i iawn weddio,
Trwy'r Ysbryd Glan a'i gymorth llawn,
Ac yna cawn ein gwrando.
AN.

## 221 *Erfyn am brofi bendithion yr Efengyl.*

*mf* O ARGLWYDD Dduw y lluoedd mawr!
Rho brofi 'nawr dy gymod;
Gwyn fyd y dyn a roddo'i gred
A'i holl ymddiried ynot.

*mp* O! estyn eto i barhau
Dy drugareddau tirion;
Ni a'th adwaenom Di a'th ddawn
I'r rhai sydd uniawn galon.

*mf* Corona'n hoedfa ar hyn o bryd,
A'th hyfryd bresenoldeb;
Rho brofi grym dy air a'th hêdd,
A hyfryd wedd dy wyneb.
E. P.

## 222 *Dymuniad am fendith ar y Gair.*

*mf* BENDITHIA Di, O Arglwydd mawr!
Dy air yn awr a glywsom;
Fel dygo ffrwythau trwy dy ras,
O fuchedd addas ynom.

*mf* Yn glod i'th enw sanctaidd Di,
Bo'n rhodiad ni i'n wastadol;
Ac o dy ras, dwg ni, ein Duw,
I'th lys i fyw'n dragwyddol.
D. J.

Rhif 46. ARENIG. M.S.

*Doh* G. M. 60. J. Breigel, 1680.

| :L, | d :m | r :t, | d :r | m :M | m :f | m :d | r :— | d ||
| :L, | l, :l, | t, :se, | l, :l, | se, :S, | l, :l, | s, :l, | l, :s,.f, | m, ||
| :D | m :m | f :m | m :r | t, :D | d :d | d :d | d :t, | d ||
| :L, | l, :d | r :m | l, :f, | m, :D | l, :f, | d :l, | f, :s, | d, ||

| :M | s :m | r :m | d :r | t, :M | d :l, | r :d | t, :— | l, ||
| :S, | s, :s, | s, :m, | m, :l, | se, :Se, | l, :l, | l,.se, :l, | l, :se, | l, ||
| :D | r :d | t, :t, | l, :f | m :M | m :m | r :m | f :m.r | d ||
| :D | t, :d | s, :se, | l, :r, | m, :M, | l, :d | t, :l, | r, :m, | l, ||

## 223

*Heb ollwng gwaed nid oes maddeuant.*

*p* NID oes, heb ollwng gwaed yn lli,
Faddeuant i bechadur,
Ni faddeu Duw un bai heb hyn,
Nis gall, ni fyn ei natur.

*mp* Ond wele 'i Fab ar bren y groes,
Yn dyoddef loes marwolaeth,
*mf* I agor ffordd maddeuant llawn
Trwy waed ei Iawn ehelaeth.

*p* Yn nghanol ei arteithiau dwys,
Dan eithaf pwys ein beiau,
*cres.* O! clywch E'n erfyn ar ei Dâd,
Yn ngrym ei gariad, faddeu.

*p* Cyn rhoddi fyny 'r ysbryd pur
Dan bwys ei gur angeuol,
*cres.* Mae 'n dadleu drosom yn ei loes,
Ac ar y groes yn eiriol.

*mf* O! boed y gras oedd yn ei fron,
Yn llenwi 'm calon inau
*cres.* At fy ngelynion yn ddigoll,
*f* I'w caru oll, a maddeu.

An.

## 224 *Byr ysgafn Gystudd.*

*p* OS yw 'n gofidiau yn y byd
I bara hyd y diwedd,
*mf* O fewn y nef fe dderfydd hyn—
Troir tristwch yn orfoledd.

*mf* Pa fwyaf gawn o wres y dydd,
Mwy yno fydd ein moliant;
*cres.* Cawn, yn lle 'n cystudd byr, a'n crwys,
Dragwyddol bwys gogoniant.

*mf* Pryd hyn pereiddia Duw o'r bron
Holl chwerwon ddyfroedd Mara;
*f* Pryd hyn y try pob chwerw nant
Yn win i blant Jehofah!

W. W.

## 225

*Erfyn am gymorth i draethu a gwrando.*

*mp* O ARGLWYDD Dduw! bydd ini'n borth,
Dod gymorth o'th drugaredd;
*cres.* I draethu ac i wrando'n iawn,
Dy eiriau llawn o sylwedd.

*mp* Dy weinidogion gwisg â nerth,
Yn brydferth o'r uchelder;
*cres.* A doed dy Ysbryd sanctaidd di,
I argyhoeddi llawer.

J. H.

*mf* Yn uchel aed dy enw mawr
Uwch nef a llawr mewn moliant;
Cyhoedded pawb drwy 'r byd, 'r un [wedd,
Dy fawredd, a'th ogoniant!

*cres.* Rho ini 'th wel'd, O Frenin hedd!
Fry, yn dy ryfedd degwch;
*f* A chanu byth, ar beraidd dant,
Ogoniant dy hawddgarwch.

An.

## DYFFRYN MAELOR. M.S.

*Doh* C. M. 60. E. O. PARRY, Llandudno, 1888.

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| L :— | l :s | s :l | t :d' | t :— | D' :r' | m' :l | t :d' | t :— | l :— |
| M :— | m :r | m :m | m :m | m :— | M :s | s :f | f :m | f :m.r | d :— |
| D' :— | d' :r' | d' :d' | t :l | se :— | L :t | d' :d' | r' :l | l :se | l :— |
| $L_1$ :— | $l_1$ :$t_1$ | d :$l_1$ | $se_1$ :$l_1$ | m :— | L :s | d :f | r :d | r :m | $l_1$ :— |

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| M' :— | m' :r' | d' :t .l | se :l | t :— | L :t | d' :m' | r' :d' | t :— | l :— |
| S :— | l :se | l :f | m :m.re | m :— | M :se | l :s | f :m | f :m.r | d :— |
| S :d' | d' :r' | m' :r'.d' | t :l | se :— | M' :— | m' :d' | t :l | l :se | l :— |
| D :— | $l_1$ :$t_1$ | d :r | m :f | m :— | D :m | l :d' | s :l | r :m | $l_1$ :— |

**226** *Griddfaniad enaid.*

*mp* B'LE trof fy wyneb, Arglwydd cu!
Ond atat Ti dy hunan?
*mf* Nid am ddim arall ond Tydi,
Mae f'enaid i yn griddfan.

*mp* Dysgwyliaf mwy, a hyn bob cam,
Fel gwyliwr am y boreu,
*mf* Gael prôfi grym dy nefol ras,
I'm dwyn o'm hatgas feiau.

W. W.

**227** *Boreu y Sabboth.*

*mf* YN foreu, Arglwydd! clywi 'm llef,
Fy llais i'r nef ddyrchafaf;
Fy ngweddi 'n union atat ddaw—
I'r bryniau draw 'r edrychaf.

*mf* Mi ddeuaf, Arglwydd! tua 'th dŷ,
I brofi 'th drugareddau;
Addolaf yn dy sanctaidd lys,
Yn barchus gyda 'th seintiau.

*mp* O! tywys fi â'th Ysbryd Glân,
Yn nyddan ffyrdd uniondeb;
*cres.* Gwna lwybrau pob dyledswydd lon,
Yn rhwydd ger bron fy wyneb.

AN.

**228** *Gweddi ar Dduw.*

*mp* EGLYW, O Dduw! fy llefain i,
Ac ar fy ngweddi gwrando;
Rhof lef o eitha'r ddaear gron,
A'm calon yn llesmeirio.

*mf* Dwg fi i dalgraig uwch na mi,
Ac iddi bydd i'm derbyn;
*cres.* Can's craig o obaith, tŵr di-fôst,
Im' fuost rhag y gelyn.

*mf* O fewn dy babell y bydd byth
Fy nhrigfan ddilyth, ddedwydd;
A'm holl ymddiried a fyn fod
Yn nghysgod dy adenydd.

*f* Fel hyny y molianaf fi
Dy enw Di'n dragywydd;
Ac felly pâr im' gwblhau
Fy addunedau beunydd.

E. P.

**229** *Cyfiawnder Crist.*

*p* O! FY Iachawdwr gwerthfawr, rhad,
Nid oes ond gwaed dy galon,
*cres.* Yn unig gysur dan y nef
Ddyddana'r pererinion.

*mf* Rhaid i mi gael pob gras, pob dawn
O'th drysor llawn yn gyfan;
Ac oni chaf, fy enaid prudd
A gyll y dydd yn fuan.

*mf* Dy wisg dy hun, cyfiawnder hael,
Raid i mi gael yn mlaenaf;
Nid oes ond ofnau dan fy mron
Nes caffwyf hon am danaf.

*f* Gwyn fyd y rhai dile'st eu bai,
Eu pechod a'u hanwiredd,
Gan roi iddynt nerth, er cnawd a byd
I bara hyd y diwedd.

W. W.

## HEREFORD. M.S.D.

*Doh* E♭. M. 76. D. EMLYN EVANS, 1888.

```
:D .r|m :f |s :l |r :s |m :M|f :m |r :d |m :— |r ||R .m|f :s |l :t
:D |d :t,|d :d |d.l, :t,|d :D|d :d |r.t, :d |d :— |t, ||T,.d|d :d |d :m
:M.f|s :s |s.d' :t.l|s :s |s :S|d' :s |l :s.l|s :— |s ||S |f :m |l :-.se
:D |d :r |m :f |s :s,|d :D|l :s |f :m.f|s :— |s ||F .m|r :d |f :m

d' :r' |t :T |d' :-.m|s :l |fe :— |s ||S |s :s |s :s |s :-.s|s :S
m :f |r :R |d :-.d|r :m |m :r.d|t, ||T,.d|r :m |f :m.r |m :-.r|d :R.m
l :l |s :S |s :-.s|s :d' |l :— |s ||S |s :d' |t :d'.r'|s :-.s|s :F.m
l :r |s :F |m :-.d|t, :d |r :— |s, ||S,.l,|t, :d |r :d.t, |d :-.r|m :R.de

l :l |l :l |t :— |t ||T |d' :-.t |d' :t |l :-.s|l :L |s :d' |m :-.f |r :— |d ||
r :de|r :r |r :— |r ||M |m :-.m |m :r |d :-.d|d :D.r |m :m |d :-.r |t, :— |d ||
f :s |l :s.fe|s :— |s ||Se|l :-.se|l :se|l :-.m|f.s :L.t|d' :d' |s :-.l |l :s.f|m ||
r :m |f :m.r |s :— |s ||M |l :-.m |l :m |f :-.d|f :F |m :l, |d :-.f, |s, :— |d ||
```

### 230 *Esgyniad Crist.*

*mf* O! CENWCH fawl i Brynwr byd,
Nesewch i'w gyd-addoli;
*cres.* Mae 'r engyl pur mewn nefol iaith
Yn hoffi 'r gwaith o'i foli:
Esgynodd Crist mewn cyfiawn hawl
Trwy fythawl byrth gogoniant,
*f* A phlygai 'r nefoedd ag un llef,
I'w dderbyn Ef mewn moliant.

*mf* Nesewch, nesewch, genhedloedd byd,
O unfryd â'r angylion;
*cres.* Mae Brenin nef yn un o'n cnawd—
Mae 'r Iesu 'n frawd i ddynion!
*f* Molienwch Ef o galon bur,
Mae 'n haeddu 'r oll a feddwn!
Gwaredwr dyn yw Brenin ne',
Pwy ond Efe a folwn?

*f* Nid Brenin Israel yw yn awr,
Ond Brenin mawr yr hollfyd;
Daw delw 'r byd i ddelw 'r nef
Pan enfyn Ef ei Ysbryd;
*cres.* Daw pobloedd daear o bob lliw
Yn siriol i'w groesawu,
A cherdda'r anthem drwy bob gwlad
I roi mawrhâd i'r Iesu.

EMRYS.

### 231 *Disgyniad yr Ysbryd.*

*mf* O! CENWCH fawl i Brynwr byd,
Rhowch iddo i gyd anrhydedd;
Mae 'i orsedd yn y nefoedd lân,
Lle derbyn gân a mawredd.
*cres.* Cyn gadael daear am y nef,
Addawodd Ef yr Ysbryd—
*f* Nerth o'r uchelder i'w holl saint,
'Rhyn yw eu braint a'u bywyd.

*mf* Hwy 'n credu ei air, a theimlo ei wres—
A'u mynwes fel y marwor,
A glywent swn ei anadl Ef,
A phyrth y nef yn agor!
*cres.* Yr anadl gynes, nerthol, fyw,—
Ac anadl Duw oedd hono,
*f* A droai 'n wynt cynhyrfus, hyf,
Fel corwynt cryf yn rhuthro.

*p* Dan ddwys bigiadau 'r nerthol air,
A dylanwadau 'r Ysbryd,
*cres.* Trŷ 'r miloedd at yr Oen dinam
I lefain am eu bywyd.
*mf* I'r saint, mae'r Ysbryd Glân, trwy fydd,
Yn Athraw a Dyddanydd:
*cres.* A phan anadla ar y byd,
*f* Fe'i crëa i gyd o'r newydd.

S.

## Rhif 49. GLANWYDDEN. M.S.D.

*Doh* G. M. 76. J. H. Roberts, Mus. Bac., 1883.

```
:d L, | l, :— :l, | l, :t, :d | d :t, :t, | l, :— :T, | d :— :m | m :d :r
:s, M, | m, :— :m, | l, :— :l, | l, :— :se, | l, :— :Se, | l, :— :t, | l, :— :l,
:ma D | d :— :d | d :r :m | f :t, :m | d :— :M | m :— :m | d :— :l,
:d L, | l, :— :l, | f, :— :m, | r, :— :m, | l, :— :R | d :— :se, | l, :-.s, :f,

                                                              D.t.
m :— :— | m :— || M | m :— :l | l :m :s | f :r :d | d :t, : t,M
l, :— :se,.b, | se, :— || Se, | l, :— :de | l, :— :l, | l, :— :l, | l, :se, : re,Se,
d :— :t,.l, | t, :— || T, | de :— :m | m :— :m | f :— :f | m :— : t,M
m, :— :— | m, :— || M, | l, :— :l, | de :— :de | r :— :r, | m, :— : l,R

                                  E.t.m.
m :l :d' | d' :l :d' | t :— :— | l :— || lS | s :m :s | l :— :s
l, :d :m | l :— :m | m :— :r | d :— || deT, | d :— :d | d :— :d
m :— :l | l :d' :l | l :se.b :se | l :— || sF | m :s :m | f :— :m
d :— :l, | m :— :m | m :— :— | l, :— || l,S, | d :— :d | d :— :d

s :m :s | l :d' :L | s :m :d | s :f :m | m :— :— | r :— || R | m :f :s
d :— :d | d :— :R | m :d :d | d :r :d | d :— :— | t, :— || T, | d :-.t, :d
m :s :m | f :l :T | d' :s :s | s :l :l | s :— :— | s :— || S | s :— :s
d :— :d | f :— :F | m :— :m | m :f :f | s :— :— | s, :— || S, | d :r :m

l :— :s | m :f :s | l :t :D' | d' :t :l | s :d :m | r :— :— | d :— ||
d :— :d | d :-.t, :d | d :— :D | d :— :d.r | m :s, :d | d :t,.l, :t, | d :— ||
f :— :s | s :— :s | f :s :L | l :s :f | m :s :s | s :— :-.f | m :— ||
f :— :m | d :r :m | f :— :F, | f, :-.s, :l,.t, | d :m :d | s, :— :— | d :— ||
```

### 232 *Croesi yr Afon.*

*mp* AR lan yr afon rhodio 'r wyf,
Gan geisio lle i'w chroesi;
Wrth edrych ar ei dyfnder du,
Mae 'nghalon wan yn crynu.
*cres.* Ond gwelaf Gyfaill 'r ochr draw,
Rydd law i'r pererinion,
Fe gynorthwya 'r enaid gwan,
I'r lan o'r dyfroedd dyfnion.

*mp* Mae 'r afon hon yn rhanu rhwng
Y byd a thragwyddoldeb,
Ac mae cymylau duon, drwch,
Yn hongian dros ei gwyneb.
*cres.* Ond draw mi welaf lusern ffydd,
Oleuwyd gan yr Iesu;
Ac yn ei goleu, gwelaf Graig,
O dan fy nhraed i'w chroesi.

*mf* Nid ofnaf mwy, mae 'r Iesu mawr
Yn Gyfaill yn y tonau;
Fan yma croesodd Abel gynt,
Ac yma croesaf finau.
*cres.* Fe ganodd miloedd yn y llif;
Wrth deimlo 'r Iesu yno:
*p* O Arglwydd Iesu! derbyn fi,—
*cres.* I'th freichiau 'rwy'n anturio. S.

### 233 *Dedwyddwch y Nefoedd.*

*mp* O FUGAIL Israel! dwg fi 'mlaen,
I'r dawel lân orphwysfa—
I'th nefol lys o 'mhoen a 'mhla,
I wledda ar y manna.
*cres.* I Seion wych, Paradwys wiw,
Lle mae fy Nuw 'n cartrefu,
Gael rhoddi 'mhwys a chuddio 'mhen
*mp* Yn mynwes wen yr Iesu. W. W

# BOSTON. M.H.

Gregoraidd, Cyf. L. MASON.

Doh F. M. 48.

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| D :d .r | m :r .m | f :m .r | m :— | M :m .m | f :m .r | d :$t_1$.d | r :— |
| $S_1$ :$l_1$.$t_1$ | d :r .de | r :d .$t_1$ | d :— | D :d .d | d .r :d .$t_1$ | d :$s_1$ | $t_1$ :— |
| M :m .s | s :l .s | f :s | s :— | S :s .s | l .s :s .f | m.s :f .m | s :— |
| D :$l_1$.$s_1$ | d :f .m | r :$s_1$ | d :— | D :d .d | $l_1$.$t_1$ :d .r | m :r .d | $s_1$ :— |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| D :d .r | m :r .m | f :m .r | m :— | M :m .m | r :d | r :m .r | d :— |
| $S_1$ :$l_1$.$t_1$ | d :r .de | r :d .$t_1$ | d :— | D :d .d | $t_1$ :d | d :$t_1$ | d :— |
| M :m .s | s :l .s | f :s | s :— | S :s .s | s :m | l :s .f | m :— |
| D :$l_1$.$s_1$ | d :f .m | r :$s_1$ | d :— | D :d .d | $s_1$ :$l_1$ | $f_1$ :$s_1$ | d :— |

## 234 *Tlodi a Gras.*

*mf* DYMA gyfarfod hyfryd iawn—
Myfi yn llwm a'r Iesu'n llawn;
Myfi yn dlawd heb feddu dim,
A'r Iesu'n rhoddi pobpeth im'.

*mf* Anturia, 'nghalon euog, ddu,
At orsedd gras yn awr yn hy';
*cres.* Mae'r fainc yn rhydd, a'r rhodd yn [rhad,
I'r sawl a gredo yn ei waed.

*f* Mae gras yn rhyw anfeidrol stor,
A doniau ynot fel y môr:
O! gâd i'r truenusaf ddyn
Gael profi gronyn bach o'u rhin.

W. W.

## 235 *Croes Crist.*

*p* WRTH edrych, Iesu, ar dy groes,
A meddwl dyfnder d'angeu loes,
*cres.* Pryd hyn 'rwyf yn dibrisio'r byd,
A'r holl ogoniant sy' ynddo i gyd.

*p* Poen a llawenydd dan y loes,
Yr ing a'r cariad ar y groes;
*cres.* P'le bu rhinweddau fath y rhai'n,
Erioed o'r blaen dan goron ddrain?

*mf* Boed imi ymddiried trwy fy oes,
Yn rhinwedd aberth mawr y groes;
Dy boenau a dy farwol glwy',
A fyddo'n ymffrost imi mwy.

W. W.

## 236 *Bedydd.*

*mf* LLAWENYDD gaf i'm henaid trist,
Wrth ufuddhau i fedydd Crist;
Bedyddiwyd Iesu draw o'm blaen
Yn afon yr Iorddonen lân.

*mf* Trwy fedydd 'rwy'n arwyddo i maes
Fy mwriad cryf, trwy gymorth gras,
I farw i bechod a'i holl chwant,
A byw i Dduw fel pawb o'i blant.

AN.

## 237 *Duw yn ddaionus.*

*f* ORUCHEL Frenin nef a llawr!
Ardderchog yw dy enw mawr;
D' ogoniant drwy 'r holl ddaear aeth,
Ac uwch y nef dyrchafu wnaeth.

*mf* Fy ngolwg, pan gyfodwyf draw,
I weled cywrain waith dy law;
Y lloer a'r sêr aneirif sy'
Yn harddu cylch y wybren fry.

*p* Pa beth yw dyn, abwydyn gwael,
I gael fath brawf o'th gariad hael?
*cres.* A thrugareddau fyrdd o'r nef—
*f* O ryfedd fraint!—coronaist ef!

AN.

## 238 *Moli yr Oen.*

*f* MOLIANAF byth yr anwyl Oen!
Pa fodd y gallaf dewi a sôn?
Rhoes laeth a mêl o'r Ganaan fry,
A melus yw i'm henaid i.

*mf* Fe 'm rhoes i sefyll ar fy nhraed,
*p* Lle y gorweddwn yn fy ngwaed;
*cres.* Fe 'm cododd fel o farw i fyw—
Rhoes win ac olew yn fy mriw.

W. W.

Rhif 51. YR HEN GANFED. M.H.

*Doh* A. M. 54. G. Franc, 1520—1570.

| | | | | | | | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D | d | :t, | l, | :s, | d | :r | m | :M | m | :m | r | :d | f | :m | r | | |
| :S, | s, | :s, | m, | :s, | m, | :s, | s, | :S, | s, | :s, | s, | :m, | l, | :s, | s, | | |
| :M | m | :r | d | :d | d | :t, | d | :D | d | :d | t, | :d | d | :d | t, | | |
| :D | d | :s, | l, | :m, | l, | :s, | d, | :D | d | :d | s, | :l, | f, | :d, | s, | | |

| | | | | | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D | r | :m | r | :d | l, | :t, | d | :S | m | :d | r | :f | m | :r | d |
| :M, | s, | :s | s, | :s, | f, | :f, | s, | :D | s, | :l, | t, | :d | d | :t, | d |
| :D | t, | :d | t, | :d | d | :r | m | :M | d | :m | s | :l | s | :f | m |
| :D | s, | :d, | s, | :m, | f, | :r, | d, | :D, | d | :l, | s, | :f, | s, | :s, | d, |

**239** *Mawl i'r Creawdwr.*

*f* I'R Arglwydd cenwch lafar glod,
A gwnewch ufudd-dod llawen fryd;
Dowch o flaen Duw â pheraidd dôn,
Drigolion daear oll i gyd.

*mp* Gwybyddwch mai Efe sydd Dduw,
A'n gwnaeth ni'n fyw fel hyn i fod;
*cres.* A phobl ei ofal ydym ni,
A defaid rhi ei borfa a'i nôd.

*mf* O! ewch i'w byrth â diolch clau,
Yn ei gynteddau molwch Ef;
*cres.* Bendithiwch enw'r dwyfol Fod,
*f* Rhowch iddo glod trwy lafar lef.

*f* Can's da yw'r Arglwydd, Awdwr hedd,
Da ei drugaredd, a di lyth;
A'i sanctaidd air i ni a roes,
O oes i oes a bery byth.

E. P.

**240** *Dydd yr Arglwydd.*

*mf* GWAITH hyfryd iawn a melus yw,
Molianu'th enw Di, O Dduw!
Son am dy gariad foreu glas,
A'r nos am wirioneddau'th ras.

*mf* Y Sabboth, hyfryd ŵyl yw hon,
Na fflined gofal byd mo'm bron;
Ond boed fy nghalon i mewn hwyl,
Fel telyn Dafydd ar yr ŵyl.

*mf* Yn Nuw fy nghalon lawenha,
Bendithio'i waith a'i air a wna;
Mor hardd yw gwaith dy ras, O Dduw!
A'th gynghor dwfn, mor ddwyfol yw!

*cres.* Ar fyr caf ogoneddus ran,
Pan buro gras fy enaid gwan;
*f* Fy holl elynion, cleddir hwy,
A'm heddwch byth ni thorir mwy.

Watts—Cyf.

**241** *Clodfori Duw.*

*f* WRTH orsedd y Jehofah mawr,
Plyged trigolion byd i lawr;
Gwybydded pawb mai Ef sydd Dduw,
Yr hwn sy'n lladd a gwneyd yn fyw.

*mf* I'th byrth â diolch gân ni awn—
Cyfodi 'n llef i'r nef a wnawn;
Doed pobloedd byd, pob iaith sy'n bod
I lanw 'th dŷ, â llafar glod.

*f* D' arglwyddiaeth Iôr sydd dros y byd,
Tragwyddol yw dy gariad drud;
Saif dy wirionedd heb ysgoi,
Pan beidio 'r haul a'r lleuad droi.

An.

**242** *Mawl i'r Drindod.*

*f* I DAD y trugareddau i gyd,
Rho'wn foliant holl drigolion byd;
*ff* Llu'r nef molienwch Ef ar gân—
Y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân.

An.

## 243 *Undeb yr Eglwys.*

*mf* MEWN undeb trigwn ynddo Ef,—
Un y'm trwy'r ddaear faith a'r [nef;
Er fod llifddyfroedd angeu'n awr
Rhwng teulu 'r nef a theulu'r llawr.

*mf* Un fyddin sydd gan Frenin nef,
A phlygant oll i'w eirchion Ef;
Mae lluoedd wedi croesi'r dòn,
A rhai yn croesi'r fynyd hon.

*mf* O Iesu! tywys ni bob dydd,
Dy gadarn air sy'n nerthu'n ffydd;
*f* Awn trwy'r Iorddonen yn dy law,
Yn iach i'r hyfryd Ganaan draw.

CYF. CYNDDELW.

## 244 *Cyfarfod fry.*

*mf* FFARWEL! gyfeillion anwyl iawn!
Dros enyd fechan, ymadawn:
*f* Henffych i'r dydd cawn eto gwrdd
Yn Salem bur o ddeutu 'r bwrdd.

*cres.* Cawn yno gwrdd yn gryno i gyd
A'r saint o bedwar cwr y byd;
Cydfyw, cydfoli gyda hwy,
Heb ini byth ymadael mwy!

AN.

## 245 *Gweddi 'r Ffydd.*

*mf* MAE gweddi 'r ffydd, fel allwedd gref,
Yn agor holl drysordai 'r nef;
A chenad at yr orsedd yw,
I gyrchu i'r saint gyflawnder Duw.

*p* Mae Duw yn effro i'n heisieu ni,
Fe glyw 'r ochenaid wana' 'i chri;
*mf* Cyn galw o honynt, meddai Ef,
Mi a wrandawaf ar eu llef.

S.

## 246 *Llwyddiant y Deyrnas.*

*mf* O ARGLWYDD! doed dy deyrnas Di,
Dros holl derfynau'n daear ni;
Gwna'r byd yn ufudd fel y nef,
I ddeddfau dy lywodraeth gref.

*mf* Lle'n awr teyrnasa t'wyllwch du,
Llewyrched yr efengyl gu;
Lle tyf anwiredd o bob rhyw,
Boed purdeb a chyfiawnder gwiw.

*mf* O! dwg y pell Genhedloedd draw,
A'r holl Iuddewon, yn dy law,
Yn hawddgar lu, i'th eglwys lon,
I ymhyfrydu ger dy fron.

*f* Cyd-ganu wnaed pob genau'n awr,
Dros dir a môr i'th enw mawr;
O lleda'th faner trwy'r holl fyd,
Y nef a'r ddaear una 'nghyd.

AN.

## 247 *Diolchus gof am angeu Crist.*

*mf* RHYFEDDOD oedd i'r Oen difai,
Gymeryd cosp yr euog rai;
*f* Ti gei'r gogoniant, Iesu mawr!
Byth, byth, am gofio llwch y llawr.

*mf* Diolchus gof a fydd o hyd
Am angeu Crist tra paro'r byd;
A chenir am ei loesion Ef,
I dragwyddoldeb yn y nef.

*f* Maddeuant sydd trwy'r aberth hedd,
Ac arno cawn dragwyddol wledd;
A newydd win, ffrwyth cariad rhad,
Gawn yfed gyda Christ a'r Tad.

AN.

## 248 *Erfyn am Arweiniad.*

*mf* YN ffordd d'orch'mynion, Arglwydd da!
O! arwain fi mewn byd o bla;
Na'd i mi ŵyro tra bwyf byw,
Oddi wrth dy dystiolaethau gwiw.

*mf* Gwell i mi gyfraith d' enau Di,
Na chyfoeth byd, na pharch, na bri;
Gwell yw na dim cael profi 'th hedd,
Tu yma a thu draw i'r bedd.

*mp* O! cadw f' enaid ar bob tu,
Nes dyfod drwy 'r Iorddonen ddu,
*mf* Ac at y saint yn Nghanaan, sydd
Oddi wrth eu beiau byth yn rhydd.

*cres.* O Arglwydd! arwain fi'n dy law,
Nes d'od i dir y bywyd draw,
I ganu 'th glod, fry uwch y nen,
Yn mhlith y llu tu fewn i'r llen.

AN.

## 249 *Dydd Gras a Gobaith.*

*mf* MEWN bywyd mae gwas'naethu Duw—
Dydd gras ac iachawdwriaeth yw;
Tra dalio 'r lamp heb losgi 'maes,
Yr adyn gwaethaf all gael gras.

*mf* Am hyny, 'r hyn sydd yn fy mryd,
Boed imi ei wneyd a'm hegni i gyd;
*f* Gan nad oes gweithred o un wedd,
Na ffydd na gobaith yn y bedd.

J. W., A.

# OTTERBOURNE. M.H.

*Doh* A♭. M. 76. J. HAYDN, 1732—1809.

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| D :$t_1$:d | r :—:d | $t_1$:f :m | m :r :— | M:r :m | d :—:$t_1$ | $l_1$:$s_1$:$fe_1$ | $s_1$:—:— |
| $M_1$:$f_1$:$s_1$ | $s_1$:—:$s_1$ | $s_1$:— :$s_1$ | $s_1$:—:— | $S_1$:$s_1$:$s_1$ | $fe_1$:—:$s_1$ | $m_1$:$r_1$:$r_1$ | $r_1$:—:— |
| $S_1$ :$s_1$:d | $t_1$:—:d | $s_1$:r :d | d :$t_1$:— | D :r :d | d :—:r | d :$t_1$:$l_1$ | $t_1$:—:— |
| $D_1$ :$r_1$:$m_1$ | $f_1$:—:$m_1$ | $r_1$:$t_2$:$d_1$ | $s_1$:—:— | D :$t_1$:d | $l_1$ :—:$s_1$ | $d_1$:$r_1$:$r_1$ | $s_1$:—:— |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| $S_1$:$l_1$:$t_1$ | d :r :m | s :f :m | m :r :— | D :r :m | f :s :l | m :—:r | d :—:— |
| $S_1$:$s_1$:$s_1$ | $s_1$:—:$s_1$ | $s_1$:—:$s_1$ | $s_1$:—:— | $M_1$:$f_1$:$s_1$ | d :$ta_1$:$l_1$ | $s_1$:—:$f_1$ | $m_1$:—:— |
| $T_1$:d :r | d :$t_1$:d | r :—:d | d :$t_1$:— | D :d :d | d :— :d | d :—:$t_1$ | d :—:— |
| $S_1$:$s_1$:$f_1$ | $m_1$:$s_1$:d | $t_1$:—:d | $s_1$:—:— | D :d :$ta_1$ | $l_1$:$s_1$ :$f_1$ | $s_1$:—:$s_1$ | $d_1$:—:— |

## 250 *Y Sabboth.*

*mf* Y SABBOTH—gŵyl nefolaidd yw,
Ar hwn cyfododd Iesu 'n fyw:
*cres.* Clodforwn ninau Frenin hedd—
Mae wedi perarogli 'r bedd.

*mf* O f' enaid! nac anghofia 'r dydd
Y daeth y Meichiau mawr yn rhydd:
*cres.* Agorwyd ini byrth y nef.
Trwy rin ei fuddugoliaeth Ef.

*mf* Mor hyfryd cael un dydd o'r saith
I'w dreulio 'n hollol gyda'i waith;
*p* Gorphwysfa dawel, f' enaid trist,
*cres.* A gwledd, yw cofio angeu Crist.

*mf* Gwaith rhyfedd oedd creu nef a llawr,
A threfnu 'r greadigaeth fawr;
*cres.* Ond gwaith rhyfeddaf Duw ei hun
Oedd gorphen iachawdwriaeth dyn.

*mf* Y mae gorphwysfa 'n ol i'r saint,
Mewn gwlad o hedd,—O! ryfedd fraint!—
*cres.* Lle cânt fwynhau, heb gur na phoen,
*f* Dragwyddol Sabboth gyda 'r Oen.

PEDR FARDD.

## 251 *Henffych i'r Sabboth.*

*mf* HENFFYCH i'r Sabboth!—hyfryd ddydd,
I'r meddwl fod mewn hedd yn rhydd;
Dydd i fod gyda Duw, a'i waith—
Y dydd melusaf yw o'r saith.

*p* Rho im', O Dduw! trwy fywiol ffydd,
Fod yn yr Ysbryd ar dy ddydd;
*cres.* Fy meddwl a ehedo draw,
Nes gorphwys yn y byd a ddaw.

*mf* Fy holl Sabbothau yn y byd
Fo yn fy mharotoi o hyd,
*f* I Sabboth perffaith nefol wlad,
A fydd ddiderfyn ei barhâd.

R. E.

## 252 *Y Wlad Well.*

*mf* MI welaf wlad uwchlaw y sêr,
Cartrefle pur anthemau pêr:
*cres.* Gwlad bywyd hyfryd ydyw hi,
Gwlad saint ac engyl mawr eu bri.

*mf* Gwlad pur ddedwyddwch, heddwch hir
Gwlad cariad ac addoliad gwir,
*cres.* Gwlad y caniadau goreu i gyd,
A'r teulu'n frodyr o un fryd.

*mf* Y nef yw'r man mae Iesu'n ben,
Yn eistedd ar ei orsedd wen,
*cres.* Yn wrthddrych bythol mawl a chân,
Holl ddirfawr lu y dyrfa lân.

*mp* Duw! gwna ni'n gymhwys yn y byd
I gael meddiannu'r nef i gyd:
*cres.* Boed i ni feddu'r uchel fraint,
O gael cartrefle gyda'r saint.

R. J.

# EDEN. M.H.

*Doh* A♭. M. 76. — L. Mason, 1792—1872.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | m :r :d | d :t, :l, | s, :m :r | d :— :S, | s, :f :m | m :r :d | s :m :d | r :— |
| :S, | s, :— :s, | f, :— :f, | m, :s, :f, | m, :— :S, | s, :— :s, | d :t, :l, | s, :— :s, | s, :— |
| :M | s :f :m | r :— :d | d :— :t, | d :— :T, | d :t, :d | s :f :m | r :d :d | t, :— |
| :D, | d, :r, :m, | f, :— :f, | s, :— :s, | d, :— :S,.f, | m, :r, :d, | d :s, :l, | t, :d :m, | s, :— |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S, | s, :l, :t, | d :— :s, | l, :f :r | d :t, :S, | l, :— :t, | d :— :d | d :t, :r | d :— |
| :S, | s, :fe, :f, | m, :— :m, | f, :l, :l, | s, :— :S, | f, :— :f, | m, :— :s, | s, :— :s, | s, :— |
| :T, | t, :d :r | d :— :d | d :— :f | m :r :D | d :— :r | s, :d :m | m :r :f | m :— |
| :S, | s, :— :s, | d, :— :d, | f, :— :f, | s, :— :M, | f, :— :r, | d, :— :d, | s, :— :s, | d, :— |

## 253 *Adgyfodiad Crist.*

*mf* HWN yw yr hyfryd foreu ddydd,
Y daeth ein Meichiau mawr yn rhydd;
Cyd-lawenhaed pob enaid trist
Y boreu dedwydd cododd Crist.

*mf* Boddlonwyd holl ofynion llawn
Y gyfraith yn ei berffaith Iawn;
Caed cymod dros bechadur trist,
Cyflawnwyd pobpeth, cododd Crist.

*mf* Goleuni ddaeth ar byrth y bedd,—
Dynoliaeth bur, â newydd wedd,
A ddaw i'r lan o'r carchar trist
I fywyd dedwydd, cododd Crist.

*f* Gwrandewch, y nefoedd! — ddaear, clyw!—
Dy feirw eto fyddant fyw;
Breswylwyr llwch marwolaeth drist,
Deffrowch a chenwch, cododd Crist.

Elis Wyn.

## 254 *Adferiad yr Iuddewon.*

*mf* MAE 'r amser hyfryd yn nesau,
Daw'r llwythau pell, gan lawenhau,
I arddel Crist, dan awel gref
A thanllyd nerth ei Ysbryd Ef.

*f* Cyflawnder y Cenhedloedd sydd
Ar ddod i mewn—O hyfryd ddydd!
*cres.* Teyrnasa Iesu 'n Frenin gras
Ar holl dylwythau 'r ddaear lâs.

D. T.

## 255 *Gorphenwyd!*

*mf* 'GORPHENWYD!' medd Tywysog nen,
*p* Ac ar y groes gogwydda'i ben;
*cres.* 'Gorphenwyd,' do, yr yrfa 'n awr—
*f* Enillodd Iesu 'r frwydr fawr.

*mf* 'Gorphenwyd!'—mwy adseiniwn ni,
O angeu! p'le mae 'th golyn di?
*f* A'th fuddugoliaeth dithau, 'r bedd?
Fe'ch maeddwyd gan Dywysog hedd.

*cres.* 'Gorphenwyd!'—hedeg wnelo 'r sôn
Trwy 'r byd i gludo clod i'r Oen:
'Gorphenwyd!'—aed yr adsain gref
Trwy uffern, daear faith a'r nef.

J. H.

## 256 *Llwyddiant ar y gwaith.*

*mf* O ARGLWYDD Dduw! bywhâ dy waith
Dros holl derfynau 'r ddaear faith;
Dros dir a môr dysgleiria i maes
Yn nerth dy anorchfygol ras.

*mf* Eglwysi heirdd fel gwinwydd îr
Flaguro 'n dêg drwy 'r gogledd dir;
A theyrnas Crist trwy 'r deheu cras
Flodeuo ar led fel Eden lâs.

*f* Clodfored pob creadur byw
Yr unig ddoeth anfarwol Dduw;
Gwna 'r ddaear hon yn ddelw gu
O'r nefoedd ogoneddus fry.

B. F.



F

Rhif 54. ANGEL'S HYMN. M.H.

*Doh* G. M. 76. O. GIBBONS, Mus. Doc., 1583—1625.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D | m :–:d | r :–:m | f :m :r | d :–:D | m :–:fe | s :–:r | s :–:fe | s :– |
| :$S_1$ | $s_1$:–:$l_1$ | $t_1$:–:d | d :– :$t_1$ | d :–:$S_1$ | d :–:d | r :–:$t_1$ | r :d :$l_1$ | $t_1$:– |
| :M | d :–:m | s :–:s | l :s :f | m :–:M | s :–:l | s :–:s | s :m :r | r :– |
| :D | d :–:$l_1$ | $s_1$:–:d | $f_1$:$s_1$ :$s_1$ | $d_1$:–:D | d :–:$l_1$ | $t_1$:–:$s_1$ | $t_1$:d :r | $s_1$:– |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | f :–:s | l :–:s | f :–:m | r :–:S | f :–:m | r :–:d | f :m :r | d :– |
| :D | d :–:d | d :–:d | $l_1$:$s_1$:d | $t_1$:–:D | $t_1$:–:d | $t_1$:–:d | d :–:$t_1$ | d :– |
| :S | f :–:m | f :–:s | l :r :m.f | s :–:S | s :–:s | s :f :m | l :s :f | m :– |
| :D | $l_1$:–:d | f :–:m | r :$t_1$:d | $s_1$:–:M | r :–:d | $s_1$:–:$l_1$ | $f_1$:$s_1$:$s_1$ | $d_1$:– |

**257** *Ceisio nerth i ganmol Crist.*

*mf* O IESU mawr! y Meddyg gwell,
A Gobaith yr ynysoedd pell;
Dysg imi seinio maes dy glod,
Mai digyfnewid wyt erioed.

*p* O! hoelia'm meddwl, ddydd a nos,
Crwydredig, wrth dy nefol groes;
*cres.* A phlana'm hysbryd yn y tir
Sy'n llifo o lawenydd pur.

*f* Fe gaiff dy enw anwyl glod,
Pan ddarffo'r nef a'r ddaear fod,
Am achub un mor wael ei lun,
Nad all'sai'i achub ond dy hun.

W. W.

**258** *Amynedd dan y groes.*

*mf* FY enaid! paid a llwfrhau,
Wrth wel'd gofidiau'n amlhau;
*f* Fe dry fy Nuw 'r holl groesau blin,
Ar ben fy nhaith, yn felus win.

*cres.* Mi dro'f fy ngwyneb tua'r bryn,
Lle daeth im' nerth wrth raid cyn hyn,
Nes delo'r awr i fyned trwy,
Na wela'i groes na thrallod mwy,

D. W.

**259** *Buddioldeb yr Ysgrythyrau.*

*f* AM Air ein Duw, rho'wn â'n holl fryd
Soniarus fawl trwy'r eang fyd,
Mae'n llusern bur i'n traed heb goll,
A llewyrch glân i'n llwybrau oll.

*mf* Fe rydd i'n henaid esmwythâd,
Fe'n tywys tua'r nefol wlad;
Gan ddangos cariad dwyfol Dri,
Ac enyn cariad ynom ni.

*mf* I'r cryf, mae'n ymborth llawn o faeth,
I'r gweinion blant, yn ddidwyll laeth;
Rhydd addysg a chysuron maith,
*cres.* A nerth i gyrhaedd pen y daith.

Ein cleddyf yw i faeddu'r ddraig,
A'n drych i ganfod Had y Wraig;
*f* Trysordy mawr yn llawn o ras,
A gwindy'r nef mewn anial cras.

GOMER.

**260** *Bedydd.*

*mf* RHYFEDDU'R wyf na welai'r byd
Farwolaeth Crist, a'i aberth drud,
A'i adgyfodiad, ger ein bron,
Trwy'r ordinhad sancteiddiol hon.

*p* Mae'n weddus i ni gofio 'nawr
Am ddarostyngiad Iesu mawr;
Aeth yr Iorddonen dros ei wedd
Pan gladdwyd Ef mewn dyfrllyd fedd.

*f* Nes treulio oesoedd maith y byd,
A'r holl ddefnyddiau doddi 'nghyd,
Y rheol hon a saif yr un,
Diysgog yw fel Duw ei hun.

R. AB G. DDU.

## 261 *Bywhâ dy waith.*

*mp* BYWHA dy waith, O Arglwydd mawr!
Dros holl derfynau daear lawr,
*cres.* Trwy roi tywalltiad nerthol iawn
O'r Ysbryd Glân, a'i ddwyfol ddawn.

*mp* Bywhâ dy waith o fewn ein tir—
*cres.* Arddeliad mawr fo ar y gwir;
*mf* Mewn nerth y bo 'r efengyl lawn
Er iachawdwriaeth llawer iawn.

*mf* Bywhâ dy waith o fewn dy dŷ,
A gwna dy weision oll yn hy';
*cres.* Gwisg hwynt â nerth yr Ysbryd Glân,
A'th air o'n mewn fo megys tân.

*mp* Bywhâ dy waith, O Arglwydd mawr!
Yn ein calonau ninau 'n awr;
*cres.* Er marwhau pob pechod câs,
A chynydd i bob nefol ras.

J. Rs.

## 262 *Pawb i folianu.*

*mf* CYDUNWN â'n cyfeillion cu
Sydd yn mwynhau'r gwobrwyon [fry,
*cres.* Ar edyn cariad codwn 'nawr,
*f* I'r maith lawenydd uwch y llawr.

*f* Cydganed saint y ddaear faith
A'r dyrfa lân ar ben eu taith,
Can's maent yn un, y meirw a'r byw;
Un dorf yw holl was'naethwyr Duw.

*f* Un teulu ydym ynddo Ef,
Un eglwys fawr trwy'r byd a'r nef,
Er bod Iorddonen, oerllyd li',
Yn ysgar, enyd, rhyngom ni.

*f* Un fyddin hardd, dan D'wysog nen,
Yn cadw ei air, a'i adde'n ben:
Aeth rhan o'r llu drwy 'r afon fawr—
Mae rhan yn myned drwyddi 'nawr.

Cyf. D. C. Ieu.

## 263 *Mawl i'r Creawdwr.*

*f* CLODFORED pob creadur byw
Y gogoneddus Arglwydd Dduw;
Efe yw'r dyrchafedig Fod
A ddylai gael tragwyddol glod.

*mf* Mae pob perffeithrwydd ynddo Ef,
Ei law a wnaeth holl luoedd nef;
A'r holl greadigaeth drefnus faith
Yw ei ryfeddol ddirfawr waith.

*mf* Trwy allu a daioni Duw
Yr ydym bawb o hyd yn byw;
A'n holl fendithion gwerthfawr iawn
Sy'n d'od o'i law drugarog lawn.

*f* Mae afon bur a'i ffrydiau byw
Yn llawenychu dinas Duw;
Tangnefedd, cariad, bywyd llon,
Ddyfrhant o hyd aneddau hon.

An.

## 264 *Galwad ar ieuenetyd.*

*mf* CYSEGRWN flaenffrwyth dyddiau'n
I garu'r Hwn fu ar y groes; [hoes,
Mae mwy o bleser yn ei waith
Na dim a fedd y ddaear faith.

*mf* Cael bod yn foreu dan yr iau
Sydd ganmil gwell na phleser gau;
Mae ffyrdd doethineb oll i gyd
Yn gysur ac yn hedd o hyd.

*f* O! na threuliaswn yn ddi goll,
O dan iau Crist fy nyddiau oll;
Mae'r hwn a'm prynodd ar y groes,
Yn deilwng o bob awr o'm hoes.

Pedr Fardd.

## 265 *Mawl am yr Efengyl.*

*mf* AM bur efengyl hedd a gras,
O! gorfoledded daear lâs;
Yn hon mae cyfoeth can' mil gwell
Nâ holl drysorau'r India bell.

*cres.* Gair gweinidogaeth bywyd yw,
A'i nerth sy'n codi'r marw'n fyw;
*f* O! caned daearolion byth
Am yr efengyl lân ddilyth.

An.

## 266 *Cydnabod Duw.*

*mf* TRUGAROG wyt, O Arglwydd Dduw!
Ein gwlad sy'n llawn o'th roddion gwiw;
Yn llaw yr hauwr rhoddaist hâd,
A'r ffrwyth addfedaist i ni 'n rhad.

*mf* Dy drugareddau sy'n parhau,
A'th law haelionus nid yw 'n cau;
Mae myrdd o leisiau 'n tystio 'n un
Dy fod yn hoffi cynal dyn.

*f* I Ti, O Dduw! rhown fawl yn llon
Am drugareddau 'r flwyddyn hon;
Aneirif yw dy roddion rhad!
Dy glod fo'n adsain trwy bob gwlad!

An.

*Doh* A. M. 60. M. LUTHER, 1483—1546.

```
:D  |d  :m  |r  :d  |r  :r  |m  :D  |m  :f  |s  :f.m|m  :r  |d  || M  |f  :m  |r  :d
:S, |s, :s, |s, :m, |l, :s, |s, :S, |l, :l, |d  :d  |d  :t, |d  || S, |s, :s, |t, :l,
:M  |d  :d  |t, :d  |d  :t, |d  :M  |d  :d  |d  :l  |s  :-.f|m  || D  |r  :m  |f  :m
:D, |m, :d, |s, :l, |f, :s, |d, :D  |l, :f, |m, :f, |s, :s, |d, || D  |t, :d  |s, :l,

                                        ://:
t,  :d  |r  :M  |d  :t, |d  :s, |d  :r  |m  :D  |m  :f  |s  :f.m|m  :r  |d  ||
se, :l, |t, :D  |s, :s, |s, :s, |m, :l, |se,:L, |l, :l, |s, :l, |s, :f, |m, ||
m   :m  |s  :S  |s  :f  |m  :r  |d  :l, |t, :D  |d  :d  |d  :d  |d  :t, |d  ||
m,  :l, |s, :D  |m  :r  |d  :t, |l, :f, |m, :L, |l, :f, |m, :f, |s, :s, |d, ||
```

## 267 *Nerth yn ol y dydd.*

*p* WRTH deimlo llesgedd f'enaid gwan,
*cres.* 'Rwy'n tynu cysur yn mhob man,
O'r hen addewid fawr ei gwerth,
*f* "Yn ol dy ddydd y bydd dy nerth."

*mp* Er bod yn mhell o dŷ fy Nhad,
Fel alltud mewn estronol wlad,
*cres.* Mae im' addewid fawr ei gwerth,
*f* "Yn ol dy ddydd y bydd dy nerth."

*mf* Er gwaethaf Satan, cnawd, a byd,
A'r holl elynion sy' im' i gyd,
Fe ddaw fy enaid bach yn rhydd,
*f* Gan fod im' "nerth yn ol y dydd."

I. AB IOAN.

## 268 *Y Newydd da.*

*f* NEWYDDION braf a ddaeth i'n bro,
Hwy haeddant gael eu dwyn ar go';
Enillodd Iesu mawr y dydd,
Caiff carcharorion fyn'd yn rhydd.

*mf* Mae Iesu Grist o'n hochr ni,
*pp* Tywalltodd Ef ei waed yn lli';
*mf* Trwy rinwedd hwn fe'n dwg yn iach
I'r ochr draw 'mhen gronyn bach.

*mf* Wel, f'enaid, weithian, c'od dy ben,
Mae'r ffordd yn rhydd i'r nefoedd wen;
*f* Y mae'r gelynion oll yn awr
Mewn cadwyn gan dy Brynwr mawr.

W. W.

## 269

*A'th lwybrau a ddyferant frasder.*

*mf* O ARGLWYDD da! dy lwybrau Di,
Ddyferant frasder gras i ni,
Mae ffyrdd dy gariad yn y byd,
Yn llawn o drugareddau i gyd.

*mf* Rhagluniaeth dyner draetha i ni,
Ogoniant dy haelioni Di,
*f* Mor werthfawr yw'r daioni ddaw,
Bob dydd o'th hael, agored law!

*mf* Ond yn rhodfeydd anfeidrol ras,
*cres.* Y ceir y ffrwyth pereiddia 'i flas,—
Bendithion llawn maddeuol hedd,
Yw holl rawnsypiau'r hyfryd wledd.

*f* O! na foliannem enw Duw!
Ein dyled a'n rhagorfraint yw;
Prif destyn mawl y nef ei hun,
Yw rhyfedd gariad Duw at ddyn.

M.

## 270 *Gorphenwyd.*

*mf* GORPHENWYD! medd ein Iesu mawr:
*mp* A'i fywyd roes o'i fodd i lawr:
*f* Gorphenwyd! do, fe gaed y dydd;
Fe dalwyd Iawn, daw'r caeth yn rhydd.

*f* Gorphenwyd! clywch y gair i gyd;
O hyfryd sain amgylcha'r byd:
*cres.* Gorphenwyd! aed yr adsain lon
Trwy nef y nef, a'r ddaear gron.

PEDR FARDD.

# SAMSON. M.H.

*Doh* **F.** M. 60. G. F. HANDEL, 1685–1759.

:D | m :-.f | s :m | l :t | d' :D' | s :l | s :m.r | d :r | m ||
:D | d :-.$t_1$ | d :d | d :r | m :M | d :d | d :$t_1$ | $l_1$ :$t_1$ | d ||
:M | s :-.s | s :s | f :f | s :S | s :f | s :s.f | m :s | s ||
:D | d :-.r | m :d | f :r | d :D | m :f | m :$s_1$ | $l_1$ :$s_1$ | d ||

:S | l.d':t.l | s :m | f.l:s.f | m :D' | t :-.l | s :d.r | m :r | d ||
:D | d :d | d :d | $l_1$.d:$t_1$.r | d :M | r :-.$t_1$ | d :d | d :$t_1$ | d ||
:M | f.l :s.f | m :s | f :r.s | s :S | s :-.s | s :m | s :s.f | m ||
:D | d :d | d :d | $f_1$ :$s_1$ | d :D | s :-.f | m :$l_1$ | $s_1$ :$s_1$ | d ||

## 271 *Adgyfodiad a dyrchafiad Crist.*

*mf* IFRENIN y goleuni glân,
Fu yn y bedd, fy enaid cân ;
*f* Trwy byrth haiarnaidd angeu 'r aeth,
A dryllio 'r cedyrn farau wnaeth.

*mf* Nid brenin braw yw angeu 'n awr,
Er pan gyfododd Iesu mawr ;
Fe dynodd Ef ei golyn llym—
*f* Yspeiliodd uffern fawr ei grym.

*mf* Y gwiw Orchfygwr ! gwelwch Ef
Yn esgyn at y Tad i'r nef ;
Mae 'r Hwn a hoeliwyd ar y pren
Yn awr i'r bydoedd oll yn ben.

*f* Blant dynion, codwch fry eich llef,
Rhowch eich calonau iddo Ef,
Mewn per ganiadau yn gytûn,
I foli 'ch Prynwr, Duw a dyn !

*f* Angylion, â'ch telynau de'wch,
A'ch peraidd dânau uchaf t'rewch,
A holl gre'duriaid nef a llawr,
I seinio moliant Iesu mawr !

WATTS—CYF.

## 272 *Esgyniad Crist.*

*f* I'R lan o'r bedd ein Iesu ddaeth,
Dyrchafodd i'r uchelder fry ;
Caethiwo pob caethiwed wnaeth,
Ac agor dorau'r nef i ni.

*mf* O flaen ei gerbyd dysglaer Ef,
Angylion floeddient ar bob llaw—
*cres.* ' Eich penau codwch, byrth y nef ;
*f* Chwi ddrysau oesol, ciliwch draw !

*f* Yn llydan gwnewch y ffordd yn rhydd,
A throwch yn ol, chwi folltau'r gwawl ;
Gwiw Frenin y gogoniant sydd
Yn d'od i mewn—mae ganddo hawl.'

*mf* ' Pwy ydyw'r Brenin enwog ?—pwy ? '
*f* ' Arglwydd y lluoedd, Ef yw'r Pen' ;
*cres.* Hwn gaiff y mawl a'r enw mwy ;
*ff* Bendigaid fyddo byth,—Amen !

AN.

## 273 *Ail ddyfodiad Crist.*

*mf* MAE Brenin nef ar fyr yn d'od,
Mewn rhwysg na welodd neb erioed ;
Mae angeu, uffern fawr, a'r bedd,
Yn ofni edrych ar ei wedd !

*cres.* Cyd-orfoledda'r saint yn un,
Pan welont arwydd Mab y Dyn ;
Fel boreu wawr o'r dwyrain draw,
Sy'n dangos fod yr haul gerllaw.

*f* Ni wela etifeddion hedd
Ddim llid na digter yn ei wedd ;
Esgynant oll yn lluoedd llon,
I wledda'n siriol ger ei fron.

W. W.

Rhif 57. MELCOMBE. M.H.

*Doh* F. M. 60. S. WEBBE, 1740—1816.

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | s :f | m :r | d :l | s :S | d' :t | l :s | s :fe | s |
| :S, | d :t, | d :t, | l, :d | d :D | d :r | r :r | d :d | t, |
| :M | s :s | s :s .f | m :f | m :M | s :s | fe :s .r | m :r | r |
| :D | m :r | d :s, | l, :f, | d :D | m :r | d :t, | l, :r | s, |

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | m :f | s :m . | r :m | f :F | m :r | s :f | m :r | d |
| :D | d :l, | s, :l, | l, :l, | l, :S, | s, :s, | s, :d | d :t, | d |
| :D | d :d | d :d | r :de | r :R | d :t, | d :l | s :f | m |
| :D | l, :f, | m, :l, | f, :l, | r :T, | d :s,.f, | m, :f, | s, :s, | d |

## 274 *Dirgelwch yn y Prynedigaeth.*

*mf* MAE rhyw ddirgelwch llawer mwy,
Oes, Iesu, yn dy farwol glwy',
Na's dichon sant, tra ynddo chwyth,
Na seraph pur ei ddeall byth.

*mf* Ni cheisiaf loches ond dy glwy',
Tan dònau mawrion fwy na mwy;
Dy waed, yn ngwyneb dyfnder gwae,
All beri i'm hysbryd lawenhau.

*f* Cyflawna'th air, a doed a ddel,
Dy eiriau Di sydd oll dan sêl;
Ni raid ond gair, a dyna'i gyd,
I godi'm henaid uwchlaw'r byd.

W. W.

## 275 *Y Gair yn ddymunol.*

*mf* TRWY wybod yr Ysgrythyr lân,
Ca'dd miloedd yn eu genau gân;
*f* Hen air y llw yw enw hon,
A gair a'n deil pan guro'r don.

*mf* Y lân Ysgrythyr, llythyr llawn,
At ddyn yw hi'n cyhoeddi Iawn;
A ffordd agored i rai gwael
I ras a hedd trwy Iesu hael.

*f* Ysgrythyr lân, O! gyfran gu,
Tydi wyt fron y nefoedd fry;
Os sugnwn dy ysbrydol laeth,
Fe dry'n achubol fywiol faeth.

EBEN FARDD.

## 276 *Cydymdeimlad Crist.*

*p* PWY wrendy gŵyn fy enaid gwan?
Pwy'm cwyd o'm holl ofidiau i'r lan?
Pwy ddwg fy maich fel Brenin ne'?
Pwy gydymdeimla fel Efe?

*mf* O! dyma un, dywedwch p'le
Y gwelir arall fel Efe,
A bery'n ffyddlon imi o hyd
Yn mhob rhyw drallod yn y byd?

*f* Fy enaid, cân oherwydd hyn,
A chofia am Galfaria fryn;
A than ei gysgod gwna dy nyth,
Mae yno ddiogelwch byth.

W. W.

## 277 *Nefoedd ar y ddaear.*

*mf* NEF yw i'm henaid yn mhob man,
Pan brofwyf Iesu mawr yn rhan;
A'i weled Ef â golwg ffydd,
*cres.* Dry dywell nos yn oleu ddydd.

*mf* Mwynhad o'i ras maddeuol mawr,
Blaen-brawf o'r nef yw yma 'nawr;
A darllen f'enw ar ei fron,
Sy'n nefoedd ar y ddaear hon.

*p* Ac er na welaf ond o ran,
Ac nad yw profiad ffydd ond gwan;
*f* Y defnyn bach yn fôr a fydd,
A'r wawr a ddaw yn oleu ddydd.

R. AB G. DDU.

## ERNAN. M.H.

*Doh* C. M. 48. L. Mason, 1792—1872.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| S | :m .f \| s :d' | d'.t :l .t \| d' :— | L :l .l \| s :s .t | r'.d' :t .l \| s :— |
| M | :d .r \| m :s | f :f \| m :— | F :f .f \| m :s | s :fe \| s :— |
| D' | :d'.d' \| d' :d' | r' :d'.r' \| d' :— | D' :d'.d' \| d' :r' | m' :r'.d' \| t :— |
| D | :d .d \| d :m | s :s \| d :— | F :f .f \| d :t, | d :r \| s :— |

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| S | :m .f \| s :d' | d'.t :l .t \| d' :— | L :l .l \| s :d'.m' | m'.r' :d'.t \| d' :— |
| M | :d .r \| m :m | s :f \| m :— | F :f .f \| s :m .s | s .f :m .r \| m :— |
| D' | :d'.d' \| d' :d' | r' :r' \| d' :— | D' :d'.d' \| d' :s | l :s \| s :— |
| D | :d .d \| d' :l | s :s \| d :— | F :f .f \| m :d | f :s \| d :— |

**278** *Iachawdwriaeth.*

*mf* O! R iachawdwriaeth fawr yn Nghrist!
Swn melus hyfryd yw i'm clust;
Balm cryf i'm clwyfau o bob rhyw,
A chysur i'm rhag ofnau yw.

*f* Aed swn yr iachawdwriaeth fawr
Oddeutu'r ddaear faith yn awr;
A boed i'r nef a'i lluoedd llon
Gyfodi'n llef i seinio hon. J. W., A.

**279** *Rhyfeddodau y groes.*

*mf* MAE rhyfeddodau mawr diri'
Yn marw Iesu ar Galfari;
*cres.* Cyfiawnder Duw a'i gariad llawn
*f* A gydlewyrchant yn yr Iawn.

*mf* Mae gwerthfawrogrwydd enaid dyn,
A hawliau 'r orsedd fawr ei hun,
A haeddiant Crist a'i angeu loes,
Yn ymddysgleirio yn y groes.

*f* Bydd rhyfeddodau'r groes ryw bryd
Yn llyncu'r rhyfeddodau i gyd;
Dirgelwch mawr ei angeu Ef
Yw prif ryfeddod nef y nef. R. J.

**280** *Cadernid Seion.*

*f* MAE Eglwys Iesu ar y graig,
Hi ddeil i'r lan er gwaetha'r ddraig;
Ni all cynllwynion uffern fawr,
Na'r ddaear chwaith ei chael i lawr.

*f* Tra deil y fraich dragwyddol gref,
Tra safo gorsedd fawr y nef,—
Tra dalio Iesu ei ben i'r lan,
Fe ddiogelir Seion wan. R. J.

**281** *Byddaf fel gwlith.*

*p* O DDUW! bydd ini megys gwlith,
Rho wir adfywiad yn ein plith;
*cres.* Ireiddia'r cras, prydfertha 'r crin,
Gwna ddwyfol waith trwy'th nefol rin.

*mf* Fel lili, gwna i Israel fod,
Yn teg flodeuo er dy glod,
A gwasgar wnelo'i ffrwythau mad,
Eu perarogledd dros y wlad.

*f* Fel olew-wydd ei thegwch fo,
Fel Libanus yn harddwch bro,
Ei cheingciau'n cerdded ar bob pryd,
A'i gwraidd yn lledu dros y byd.
J. G. J.

**282** *Noddfa yn Nghrist.*

*mp* MEWN gofid trwm a galar trist,
*cres.* Cawn gysur cryf yn nghariad Crist;
*mp* Esmwythder hoff tan gystudd hir,
*cres.* A noddfa deg mewn anial dir.

*mf* Llawenydd mawr sy'n llifo 'n llawn,
O ffynon rad ei ddwyfol ddawn,
I ddisychedu 'r enaid sydd
At Grist yn ffoi trwy gywir ffydd.

*mf* Mae 'n olud maith mewn tlodi mawr,
Mae 'n nefoedd lon ar ddaear lawr;
Mae 'n fywyd da yn angeu du,
*f* A'n rhan dragwyddol freiniol fry.
An.

Rhif 59. WINCHESTER. M.H.

*Doh* C. M. 60. B. CRASSELIUS, 1650—1690.

| | | | | | | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | d' | :s | l | :l | s | :f | m | :M | f | :m | r | :s | s | :fe | s | |
| :M | s | :m | f | :f | r | :$t_1$ | d | :D | d | :d | $t_1$ | :r | m | :r | r | |
| :D' | d' | :d' | d' | :f | s | :s | s | :S | l | :s | s | :s | d' | :l | t | |
| :D | m | :d | f | :r | $t_1$ | :$s_1$ | d | :D | $l_1$ | :d | $s_1$ | :$t_1$ | d | :r | $s_1$ | |

| | | | | | | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | d' | :r' | m' | :d' | f' | :m' | r' | :M' | d' | :l | s | :d' | d' | :t | d' | |
| :R | s | :s | s | :s | f | :s | s | :S | f | :f | s | :m.f | s | :f | m | |
| :T | d' | :t | d' | :d' | d'.t | :d' | t | :D' | l | :d' | d' | :d'.r' | m' | :r' | d' | |
| :S | m | :s | d | :m | r | :m.f | s | :D | f | :f | m | :l | s | :s | d | |

## 283 *Llawenydd yn y Nef.*

*mf* PWY draetha'r fath lawenydd sy'
Drwy holl gynteddau'r nefoedd fry,
Pan ddel afradlon tua thref—
Pan aner un etifedd nef!

*mf* Boddloni'n llawen mae y Tad
Wrth weled ffrwyth ei gariad rhad;
A'r Mab yn llon edrycha i lawr
*mp* Ar bwrcas ei ddyoddefaint mawr.

*mf* A hoffi gwel'd mae Ysbryd Duw
Yr enaid marw wnaeth E'n fyw;
A'r saint a'r holl angylion glân,
*f* Am waith ei ras ddyrchafant gân.

*mf* Pan geir y defaid crwydrol oll,
A'r darnau arian fu ar goll,
Prin dichon Salem, er ei maint,
Ddal mawl angylion pur a saint.

WATTS—CYF.

## 284 *Mawredd Duw.*

*mf* BOD gogoneddus wyt, O! Dduw,
Dy orsedd dyrchafedig yw;
*f* Pwy sydd yn mysg y duwiau i gyd
Yn debyg i Greawdwr byd?

*mf* Mae'n marchog ar gymylau'r nen,
Gan daenu'r nefoedd megys llen;
Tywyllwch tew o'i gylch y sydd,
Ond iddo Ef mae'n oleu ddydd.

*mp* Wrth nerth ei daran cryna'r byd,
Ei gerydd wna y môr yn fud;
*cres.* Mae iddo fraich nad oes a'i try,
Cadernid dwyfol iddi sy'.

*f* Mae'n fwy na llond y nef a'r llawr,
Ardderchog yw ei enw mawr;
Mawrhydi a doethineb maith
Sydd yn coroni ei holl waith.

D. S. E.

## 285 *Testyn cân.*

*mf* RWY'N gallu canu ambell dro,
Pan ddel griddfanau'r Ardd i'm [co';
*cres.* Mae'i angeu Ef yn troi fy nghri
Yn gân yn ngolwg Calfari.

*mf* Ar fynydd Seion, O! na bawn,
Mi ganwn yno foliant llawn;
'Rwy'n canu peth y fan lle'r wy',
*f* Pan elwy' i'r nef mi ganaf fwy.

*mp* Os îs fy nghân na'r seintiau sy
Yn seinio'r freiniol anthem fry;
*mf* Ein testyn hyfryd sydd yn un,
Sef dwyfol goncwest Mab y dyn.

*mf* Ar fyr caf wel'd f'anwylyd cu
A'i foli gyda'r nefol lu;
*f* Yn nghwmni'r saint a'r engyl glân,
Lle na bydd diwedd ar fy nghân.

AN.

# ROCKINGHAM. M.H.

*Doh* E♭. M. 72. E. MILLER, Mus. Doc., 1731—1807.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D | m :f :r | d :—:m | s :—:l | s :—:S | d':—:t | l :—:s | s :f :m | m :r |
| :S$_1$ | d :r :t$_1$ | d :—:d | d :—:d.r | m :—:R | d :—:r | d :r :m | t$_1$:r :d | d :t$_1$ |
| :M | s :l :s.f | m :—:s | s :d':l.t | d':—:S | l :—:se | l :t :d' | s :—:s | s :— |
| :D | d :f$_1$:s$_1$ | d :—:d | m :—:f | d :—:T$_1$ | l$_1$:—:m | f :—:m | r :t$_1$:d | s$_1$:— |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :R | s :—:l | t :—:s | d':m :fe | s :—:D | f :—:m | r :—:d | d.,r:m :r | d :— |
| :T$_1$ | r :—:r | r :—:t$_1$ | d :—:d | t$_1$:—:D | t$_1$:—:d | t$_1$:—:l$_1$ | l$_1$ :d :t$_1$ | d :— |
| :S | s :—:fe | s :—:s | s :—:l | r :—:S | s :—:s | s :f :m | l :s :f | m :— |
| :S$_1$ | t$_1$:—:r | s :—:f | m :d :l$_1$ | s$_1$:—:M | r :—:d | s$_1$:—:l$_1$ | f$_1$ :s$_1$:s$_1$ | d :— |

## 286 *Moliant i'r Creawdwr.*

*f* MOLIANWN Iôr! can's hyfryd yw,
Dyrchafu'r llais i foli Duw;
Ei natur, a'i weithredoedd maith,
Sydd yn ein galw at y gwaith.

*mf* Efe a wnaeth holl sêr y nef,
Mae 'u rhif a'u henwau ganddo Ef:
Doethineb Duw sydd ddyfnder mawr,
Lle sudda 'n holl feddyliau 'lawr.

*f* Molianwn a dyrchafwn Ef,
Sy'n taenu tew gymylau 'r nef;
Ac yn darparu 'r gwlaw a'r gwlith,
Er dwyn bendithion fyrdd i'n plith.

*mf* Y bryniau teg, a'r meusydd llawn,
Sy'n dadgan fyth ei ddwyfol ddawn;
Caiff pob creadur yn ei ryw,
Ei nawdd a'i gymorth gan ein Duw.

*mf* Y saint sydd hawddgar ger ei fron,
Ei blant yw ei hyfrydwch llon:
Eu gobaith gwêl, a'u hofnau gwyr,
Ei ddelw arnynt fyn yn llwyr.

WATTS—CYF.

## 287 *Duw yn arbed.*

*mf* MAWR yw'th diriondeb, nefol Dad!
Hyd yma atom ni fel gwlad;
Er haeddu bod o dan dy lid.
Ein harbed 'rwyt o bryd i bryd.

*mf* Ein meusydd gnydiaist Ti yn llon,
A'th roddion hael y flwyddyn hon;
A hin ddymunol roist i ni,
I gasglu 'th drugareddau Di.

*f* Cyduned ein calonau 'n awr
I foli 'th enw, Arglwydd mawr!
A rhoi ein cyrph yn aberth byw,
Er clod i'th ras—ein dyled yw.

AN.

## 288 *Cariad Crist.*

*mf* O BOB hyfrydwch, nos a dydd,
Dy gariad, Iesu! 'n benaf sydd;
*f* Y fendith fwyaf yn y byd,
A delw hardda'r nefoedd glyd.

*mf* Pob gwên o'th wyneb siriol sydd,
*cres.* Yn tanio'n serch a lloni'n ffydd;
*f* Pob hanes am dy ras a'th gur,
A'th enw, sy'n hyfrydwch pur.

*p* Pan fyddi'n cuddio'th wyneb hael,
A ni, dan wylo'n ceisio'th gael,
*mf* Mae pleser dan y poenfawr bwn,
A dagrau'n fêl, mewn gwaith fel hwn.

*p* Er hyn, O Dduw! na thrig yn mhell,
Cael gwel'd dy wedd sydd lawer gwell;
*cres.* Gwell gwel'd ein Harglwydd yn ein plith,
*f* Rhydd Ef fendithion rif y gwlith.

GOMER.

Rhif 61. HURSLEY. M.H.

*Doh* G. M. 72. W. A. MOZART, 1756—1791.

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| D :d :d | d :$t_1$ :d | r :m :r | d :— :— | M :m :m | m :r :m | s :f :m | r :— :— |
| $S_1$ :$s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :— :$s_1$ | $t_1$ :— :$t_1$ | d :— :— | D :d :d | d :$t_1$ :d | d :$t_1$ :d | $t_1$ :— :— |
| M :m :m | m :r :m | f :s :f | m :— :— | S :s :s | s :— :s | s :— :s | s :— :— |
| D :d :d | d :— :d | $s_1$ :— :$s_1$ | $d_1$ :— :— | D :d :d | $s_1$ :— :d | m :r :d | $s_1$ :— :— |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| R :r :m | f :— :r | m :— :f | s :— :— | L :l :l | s :— :m | f :m :r | d :— :— |
| $T_1$ :$t_1$ :d | r :$l_1$ :$t_1$ | d :— :d | $t_1$ :— :— | D :d :d | d :$t_1$ :d | d :— :$t_1$ | d :— :— |
| S :s :s | l :— :s | s :— :f | r :— :— | F :f :f | s :— :d | l :s :f | m :— :— |
| $S_1$ :f :m | r :— :$s_1$ | d :— :$l_1$ | $s_1$ :— :— | $F_1$ :$f_1$ :$f_1$ | $m_1$ :$s_1$ :$l_1$ | $f_1$ :$s_1$ :$s_1$ | $d_1$ :— :— |

## 289 *Y Nefoedd.*

*mf* MAE gwlad o wynfyd pur heb haint,
Byth yno y teyrnasa'r saint;
Lle nid oes tywell nos, ond dydd,
A phleser heb ddim blinder sydd.

*mf* Tu draw i angeu du a'r bedd,
Mae meusydd gwyrddion hardd eu [gwedd;
Mae yno yn dragwyddol haf,
Ni wywa byth ei blodau braf.

*mf* O! am gael ffydd i ymlid ffwrdd
Y cul amheuon sy'n ein cwrdd;
A gallu gwel'd â golwg glir
Drigfanau dedwydd Canaan dir.

WATTS—CYF.

## 290 *Angor yr Enaid.*

*mf* GOBAITH yw angor f' enaid drud
Wrth groesi cefnfor garw 'r byd;
Mawr ydyw grym y gwynt a'r dòn
I'm herbyn drwy y fordaith hon.

*mf* Ond unig obaith f' enaid yw
Addewid ddianwadal Duw;
*cres.* Mi daflaf f' angor yma i lawr
Yn nghanol tònau 'r moroedd mawr.

*mf* Os tònau ddaw, a gwyntoedd mwy
Na 'r rhai y cwrddais gynt â hwy,
*f* Mae gafael f' angor uwch y nen
Yn Iesu fry, tu fewn i'r llen!

AN.

## 291 *Ymostyngiad dan y groes.*

*mf* PA fodd y beiddiaf yn fy oes
Dristâu na grwgnach dan y groes,
A minau'n gwybod am y fraint,
*cres.* Mai'r groes yw coron pawb o'r saint?

*mf* Mae dirmyg Crist yn well i mi
Na holl drysorau'r byd a'i fri;
Ei wawd fel swn perseiniol sydd,
*cres.* Ai groes yn fywyd imi fydd.

*mp* Nid yw blinderau'r saint i gyd,
A'u croesau beunydd yn y byd,
*p* Ond megys dim wrth gyfyng awr,
A thost arteithiau'r Meichiau mawr.

*f* O dan y groes yn mlaen yr awn,
Y groes ddywedodd Ef a gawn;
Ond dyma gysur f' enaid gwan,
Try'r groes yn goron yn y man.

R. AB G. DDU.

## 292 *Rhyfeddodau Angeu Crist.*

*mf* DUW! er mor eang yw dy waith,
Yn llanw'r greadigaeth faith;
*cres.* Does dim yn ngwaith dy ddwylaw oll,
At gadw dyn fu gynt ar goll.

*f* Drwy'r groes mae dy anfeidrol ras
I'r eitha'n cael ei daenu maes;
A holl lyth'renau d'enw gawn
Yn cael eu dangos yma'n llawn.

W. W.

# MELODIA. M.H.

*Doh* B♭. M. 44. — L. MASON, 1792–1872.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| $:S_1$ | $m_1 .s_1 :l_1 \quad :s_1$ | $l_1 .t_1 :d \quad :D$ | $t_1 .r :m \quad :d$ | $t_1 .l_1 :s_1$ ‖ |
| $:M_1$ | $d_1 .m_1 :f_1 \quad :m_1$ | $f_1 .f_1 :s_1 \quad :S_1$ | $s_1 .s_1 :s_1 \quad :l_1$ | $s_1 .fe_1 :s_1$ ‖ |
| $:D$ | $s_1 .d :d \quad :d$ | $d .r :m \quad :M$ | $r .t_1 :d \quad :m$ | $r .d :t_1$ ‖ |
| $:D_1$ | $d_1 .d_1 :d_1 \quad :d_1$ | $f_1 .r_1 :d_1 \quad :D_1$ | $s_1 .s_1 :d \quad :l_1$ | $r .r_1 :s_1$ ‖ |

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| $:S_1$ | $d .r :m \quad :d$ | $f .m :r \quad :R$ | $m .d :l_1 \quad :s_1$ | $l_1 .t_1 :d$ ‖ |
| $:M_1$ | $s_1 .s_1 :s_1 \quad :l_1$ | $l_1 .s_1 :s_1 \quad :S_1$ | $s_1 .s_1 :f_1 \quad :m_1$ | $f_1 .r_1 :m_1$ ‖ |
| $:D$ | $s_1 .t_1 :d \quad :d$ | $d .d :t_1 \quad :T_1$ | $d .d :d \quad :d$ | $l_1 .s_1 :s_1$ ‖ |
| $:D_1$ | $m_1 .s_1 :d \quad :l_1$ | $f_1 .d_1 :s_1 \quad :S_1$ | $d .m_1 :f_1 \quad :d_1$ | $f_1 .s_1 :d_1$ ‖ |

## 293 *Meddwl am y Nefoedd.*

*mf* MAE meddwl am y nefol fro
I mi 'n hyfrydwch lawer tro;
O! am gael mynyd o'r mwynhâd
Sy'n fythol mewn tragwyddol wlad!

*mf* 'Rwyf am gael profi dan fy mron
Dystiolaeth o fy hawl yn hon;
*cres.* Cael profi 'r gwynfyd pur, dilyth—
*f* Digonedd, heb ddigoni byth!

D. T.

## 294 *Tegwch Iesu.*

*mf* FY Mugail gwych, fy Iesu gwiw,
Hoff yw dy lais, hardd yw dy liw!
Rhagori'r wyt, f' Anwylyd cu!
Ar ddeng mil o'r angylion fry.

*mf* Wyt wyn a gwridog, hawddgar oll,
Yn Gyfaill i'r rhai fu ar goll;
O! melus odiaeth yw dy fin,
A'th gariad rhad yn well na'r gwin.

*p* Pan fyddwy'n teimlo bod dy waed,
Yn maddeu meiau mawr yn rhad,
*cres.* Fy nghalon wan enyna'n wir,
Yn ddysglaer fflam o gariad pur.

*mf* Pan allwyf ddweyd mai Ti yw'm rhan,
A theimlo'th hedd yn f'enaid gwan,
*f* Pryd hyn 'rwyf yn dibrisio'r byd,
Ei olud a'i bleserau'i gyd.

W. W.

## 295 *Gogoniant Crist.*

*mf* MAE rhyfeddodau rif y dail,
Yn Mherson hynod Adda'r ail;
Difyrwch penaf nef y nef,
Yw edrych ar ei degwch Ef.

*mf* Na foed i ddim gael dwyn ein bryd,
Oddiwrth Iachawdwr mawr y byd;
*cres.* Ein neges benaf dan y nef,
A fyddo ei adnabod Ef.

W. W.

## 296 *Y Meddyg anffaeledig.*

*mf* ERIOED ni chlywyd mewn un wlad,
Am neb fel Iesu, 'r Meddyg rhad;
Na meddyginiaeth mewn un oes,
Yn gwella pawb, ond gwaed y groes.

*mf* Yr enaid sydd yn teimlo 'i bla,
O! doed at Grist, Ef a'i gwellhâ;
*f* Mae 'n llwyr iachau pob gradd ac oed,
Ni roes i fyny neb erioed.

T. W.

## 297 *Angeu'r Groes.*

*mf* Y MAE hapusrwydd pawb o'r byd
Yn gorphwys yn dy angeu drud;
Hyfrydaf waith angylion fry
Yw canu am fynydd Calfari.

*f* O holl weithredoedd nef yn un,
Y benaf oll oedd prynu dyn;
*mf* Rhyfeddod mwyaf pob rhyw oes
*p* Yw Iesu 'n marw ar y groes!

W. W.

## Rhif 63. WORCESTER. M.H.

*Doh* A♭. M. 80. A. WIDDOP.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D | m :– :d | s :–.f :m | f :m :r | d :– :M | s :– :m | m :r :s | l :s :fe | s :– |
| :$S_1$ | d :– :$s_1$ | $s_1$ :$t_1$ :d | $l_1$ :$s_1$ :$f_1$ | $m_1$ :– :D | d :– :d | d :$t_1$ :r | d :$t_1$ :$l_1$ | $t_1$ :– |
| :M | s :– :m | r :– :d | d :– :$t_1$ | d :– :S | s :– :s | s :– :r | m :r :r | r :– |
| :D | d :– :d | $t_1$ :$s_1$ :$l_1$ | $f_1$ :$s_1$ :$s_1$ | $d_1$ :– :D | m :– :d | $s_1$ :– :$t_1$ | d :r :$r_1$ | $s_1$ :– |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | m :– :s | l :– :s | f :– :m | m :r :$S_1$ | d :– :r | m :–.f :s | f :m :r | d :– |
| :D | d :– :d | d :– :$t_1$ | $l_1$ :$s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :– :$S_1$ | $s_1$ :– :$s_1$ | $s_1$ :$l_1$ :$s_1$ | $l_1$ :$s_1$ :$f_1$ | $m_1$ :– |
| :M | s :– :m | f :– :r | d :r :d | d :$t_1$ :$T_1$ | d :– :$t_1$ | d :– :d | d :– :$t_1$ | d :– |
| :D | d :– :d | $f_1$ :– :$s_1$ | $l_1$ :$t_1$ :d | $s_1$ :– :$S_1$ | $m_1$ :– :$s_1$ | d :$l_1$ :$m_1$ | $f_1$ :$s_1$ :$s_1$ | $d_1$ :– |

### 298 *Duw, Cariad yw.*

*mf* POB peth sy'n dweyd fod Duw mewn bod,
Ac mai un teilwng yw o glod;
A chyda hyny, yn ei ryw,
*cres.* Pob peth sy'n dweyd mai cariad yw.

*mf* Dwed pob creadur is y nef,
Mai Bod daionus ydyw Ef;
A'i holl weithredoedd o bob rhyw
*cres.* Gyd-ddwedant byth mai cariad yw.

*f* Ond beth yw natur eang faith,
Er mor soniarus yw ei hiaith,
At y datguddiad a roes Duw,
Yn dyst i'r byd mai cariad yw?

*mp* Ei anwyl Fab o'i fynwes glyd,
Roes Ef yn Iawn dros feiau'r byd,
Er dangos gras i ddynolryw,
*p* Yn unig am mai cariad yw.

D. S. E.

### 299 *Y Gair yn werthfawr.*

*mf* DY werthfawr Air, O Arglwydd Dduw!
Ein llewyrch a'n harweinydd yw;
Wrth ei ddysgleirdeb nefol, cry',
Cawn wel'd y ffordd i'r nefoedd fry.

*mf* Hyfrydwch pêr i'r enaid rydd,
Adfywia'r holl gynheddfau prudd;
Fe ddwg ein traed crwydredig ni
I rodio yn dy lwybrau Di.

*f* Chwi saint, a alwyd trwyddo Ef,
Clodforwch Dduw ar lafar lef:
Mawrhewch y gras neillduol, gwiw,
A'ch dyg i garu geiriau Duw.

J. R. J.

### 300 *Rhinweddau Aberth Crist.*

*mf* NID i gondemnio dynol ryw
Yr ymddangosodd gwir Fab Duw;
Un arf ni welwyd yn ei law,
Na thanllyd gledd i beri braw.

*mp* Ond cymaint oedd tosturi Duw,
A'i gariad rhad at ddynol ryw;
Anfonodd Ef ei Fab ei hun
I'r byd i achub euog ddyn.

*mf* Dewch bechaduriaid at Fab Duw,
A chredwch yn ei enw gwiw;
*cres.* Cysuron fil o'i enau ddaw,
Bendithion fyrdd a rydd ei law.

*f* O! dyma drysor mawr a drud,
Y gwaed a lifodd dros y byd;
Na fydded ond ei farwol glwy'
Yn sylfaen ein caniadau mwy.

WATTS—CYF.

### 301 *Digonolrwydd Duw.*

*mf* 'NAWR boddlon wyf, can's digon yw
Dy fod yn eiddo i mi, fy Nuw!
*f* Yn t'wynu yn dy wyneb pryd,
Mae mwy na holl drysorau 'r byd.

W. W.

# MARSDEN. M.H.

*Doh* D. M. 80. MacFarlane, 1785—1853.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | s :f :m | l :—:s | s :f :s | m :—:M | m :r :r | r :d :d | d :f :m | r :— |
| :D | d :—:d | d :—:d | r :—:r | d :—:D | d :$t_1$:$t_1$ | $t_1$:d :d | d :$t_1$:d | $t_1$ :— |
| :M | m :f :s | f :—:s | l :—:s | s :—:S | s :—:s | s :—:l | s :—:s | s :— |
| :D | d :—:d | f :—:m | r :—:$t_1$ | d :—:D | s :—:f | f :m :f | m :r :d | $s_1$ :— |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | l :—:s | d':t :l | s :—:l | t :—:T | d':r':m' | s :—:l | d :m :r | d :— |
| :D | d :—:d | d :—:d | $t_1$:m :fe | s :—:S | s :f :m | f :m :d | d :—:$t_1$ | d :— |
| :S | f :—:s | l :s :fe | s :t :r' | r':—:R' | d':t :d' | r':d':l | m :s :f | m :— |
| :D | f :—:m | $l_1$:—:r | m :—:r | s :—:F | m :r :d | $t_1$:d :$f_1$ | $s_1$:—:$s_1$ | d :— |

## 302 *Mor hawddgar yw dy bebyll.*

*mp* MOR hardd, mor deg, mor hyfryd yw
Dy babell sanctaidd Di, O Dduw!
*cres.* Mor loyw y dysgleiria hi
Gan lewyrch gwedd dy wyneb Di!

*mf* Rhagori mae ei chywrain waith
Ar holl balasau 'r ddaear faith;
A'r nef a edrych oddi draw
Ar adail lân dy ddwyfol law.

*mf* Pan welwn yno 'th anwyl wedd,
Pan brofwn yno 'th hyfryd hedd,
Cydganu wnawn ar lafar lef,
'Ti 'n dygaist ni i borth y nef!'

*mf* Mae un diwrnod yn dy dŷ,
Dan dirion wên dy wyneb cu,
Yn well na mil yn ngwledd y ffol,
Sy'n gadael chwerwedd blin ar ol.

*mp* Rho ini 'r fraint o'th wel'd ar frys
O fewn dy lân fendigaid lys;
*mf* Prydferthwch mwya'th babell yw
Dy bresenoldeb Di, ein Duw!

B. F.

## 303 *Nerth yn Nuw.*

*mf* DAL fi, fy Nuw, dal fi i'r lan,
'N enwedig dal fi lle 'rwy'n wan;
*cres.* Dal fi yn gryf nes myn'd i maes
O'r byd sy'n llawn o bechod câs.

*mf* Gwna fi 'n gyfoethog yn mhob dawn;
Gwna fi fel halen peraidd iawn;
Gwna fi fel seren oleu, wiw,
'N dysgleirio yn y byd 'rwy'n byw.

*cres.* Dysg fi, fy Nuw! dysg fi pa fodd
I ddweyd a gwneuthur wrth dy fodd;
*f* Dysg fi ryfela â'r ddraig heb goll,
A dysg fi goncro 'mhechod oll.

*mf* Tra caffwyf rodio 'r ddaear hon,
Rho 'th hedd fel afon dan fy mron;
*cres.* Ac yn y diwedd, moes dy law
*f* I'm dwyn i mewn i'r nefoedd draw.

W. W.

## 304 *Yr addewidion.*

*f* DE'WCH, addewidion, de'wch yn awr,
Dyhidlwch eich trysorau'i lawr;
Myrddiynau ar fyrddiynau sydd
Yn dysgwyl am eich boreu ddydd.

W. W.

## 305 *Dymuno bendith wrth ymadael.*

*mf* YMADAEL 'rydym, Arglwydd cu!
O dan dy fendith gollwng ni;
Dan nawdd dy ras rho i'n calon fod,
A llanw'n genau â dy glod.

*mf* Boed gras ein Harglwydd Crist fel gwlith,
A chariad mawr y Tad i'n plith;
Cymdeithas lon yr Ysbryd Glân,
I Dduw fo'n deffro bywiol gân. An.

Rhif 65. RESIGNATION. M.H.

*Doh* B♭. M. 76. E. MILLER, Mus. Doc., 1731—1807.

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S, | s,:—:s, | l,:—:l, | t,:l,:t, | d :—:S, | m :r :d | t,:l,:s, | s,:d :m | r :— |
| :M, | m,:—:m, | f,:—:f, | s,:—:s, | s,:—:F, | m,:f,:m, | f,:—:r, | s,:—:s, | s,:— |
| :D | d :—:d | d :—:r | r :d :r | d :—:T, | d :—:d | d :—:t, | d :—:d | t,:— |
| :D, | d,:—:d, | f,:—:r, | s,:—:f, | m,:—:R, | d,:—:d, | f,:—:f, | m,:—:d, | s,:— |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S, | s,:—:s, | l,:—:s, | f,:m,:f, | s, :—:S, | s :—:f | m :—:f.r | d :—:t, | d :— |
| :R, | d,:—:m, | f,:—:m, | r,:—:r, | r, :—:M, | s,:—:s, | s,:—:l, | s,:—:s, | s,:— |
| :T, | d :—:d | d :—:d | l,:—:l, | s, :—:D | d :—:t, | d :—:r.f | m :—:r | m :— |
| :S,f, | m,:—:d, | f,:—:d, | r,:—:d, | t$_2$:—:D, | m,:—:s, | d :—:f, | s,:—:s, | d,:— |

## 306 *Gorfoledd yn Nuw.*

*mp* FY Nuw! fy Nhad! fy Nef! fy Rhan!
Anwylyd gwiw fy enaid gwan:
Melusach na'r un bêr-gerdd yw
Y ddau air anwyl hyn—Fy Nuw!

*mp* Pe gwywai 'r ddaear fawr i gyd,
Pe crynai braisg golofnau'r byd
*cres.* A phe darfyddai am bob dyn,
Ymlawenhawn yn Nuw ei hun.

*mf* Caf feddu fyth anfeidrol fôr
O wir ddedwyddwch yn fy Ior;
A'm gwaith tragwyddol yn y nef
Fydd dadgan ei ogoniant Ef.

B. F.

## 307 *Diolch ar ddiwedd Blwyddyn.*

*mf* Y FLWYDDYN hon a wnaed yn llawn
O drugareddau gwerthfawr iawn;
O'i dechreu hyd ei diwedd hi,
Ein Duw, o'i nawdd, a'n cofiodd ni.

*mf* Tra byddwy'n teithio yma ar hyd
Anialwch dyrys hyn o fyd,
Ei roddion gwerthfawr o bob rhyw
A alwant newydd gân i Dduw.

*mf* Ar fin yr hen Iorddonen ddu
Fy nghalon a gyfoda 'n hy';
*cres.* A'i foli fydd fy hyfryd waith
*f* I oesoedd tragwyddoldeb maith.

O. R.

## 308 *Gwisgo Crist yn y Bedydd.*

*mf* Y R hwn sy'n blentyn Duw trwy ffydd,
Gâr fyw i Grist tra pery'i ddydd,
Mae'n gwisgo Crist, wrth ufuddhau
I'w eiriau glan dan lawenhau.

*mf* Yr hwn arddelo Iesu mawr,
Gan fyned ar ei ol yn awr,
A ga ei arddel ganddo Ef,
Pan ddelo ar gymylau'r nef.

E. R.

## 309 *Y Saint yn fyw yr ochr draw.*

*mf* PAHAM yr wylwn am y rhai
Sydd wedi cyrhaedd fry, heb fraw,
*cres.* Yn rhydd oddiwrth bob poen a bai?
Maent eto'n fyw, yr ochr draw.

*p cr.* Yn ymchwydd yr Iorddonen ddu
Yr Arch-offeiriad oedd gerllaw,
I ddal eu pen, a'u dwyn yn hy',
Drwy'i hymchwydd oll i'r ochr draw.

*p* Er rhoi eu cyrph i'r ddaear ddu
I orphwys, hyd y farn a ddaw,
*cres.* Ehedodd eu heneidiau fry:
Maent eto'n fyw, yr ochr draw.

*mf* Pan y cyrhaeddom Salem fry,
A heirdd gynteddau'r nef uwchlaw,
*cres.* Cawn yno wel'd ein brodyr cu,
Maent eto'n fyw, yr ochr draw.

I. G. GEIRIONYDD.

Rhif 66. **TELYN DAFYDD.** M.H.

*Doh* A♭. M 76. J. DANIELL.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | s :-:d.$t_1$ | d :-:l | r :-:s | m :-:- | M:m :m | m :-.r:d.$t_1$ | $l_1$.$t_1$:d :r | m :-:- |
| :$S_1$ | $s_1$:-:$f_1$ | $m_1$:-:$l_1$ | $s_1$:-:$t_1$ | d :-:- | $L_1$:$se_1$:$l_1$ | $t_1$ :- :$l_1$ | $l_1$ :- :$l_1$ | $se_1$:-:- |
| :M | m :-:r | d :-:r | $t_1$:-:r | d :-:- | D :r :m | m :- :m | f :-.m:r.$l_1$ | $t_1$ :-:- |
| :D | d :-:$s_1$ | $l_1$:-:$f_1$ | $s_1$:-:$s_1$ | $d_1$:-:- | $L_1$:$t_1$ :d | $se_1$:- :$l_1$ | $f_1$ :- :$f_1$ | $m_1$ :-:- |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| S :m :d | d :$t_1$ :d | f :-:m | r :-:- | S :s :s | s :-.f:m | m.r:d :$t_1$ | d :- |
| D :$s_1$ :$s_1$ | $s_1$:- :$s_1$ | $s_1$:-:$s_1$ | $s_1$:-:- | $S_1$:$s_1$ :$t_1$ | d :$t_1$ :d | $l_1$ :$s_1$ :$s_1$ | $s_1$:- |
| M:m :m | r :- :d | $t_1$:-:d | $t_1$:-:- | R:m :f | m :r :d | f :m :r | m :- |
| D :d :d | $s_1$:-.$f_1$:$m_1$ | $r_1$:-:$d_1$ | $s_1$:-:- | $T_1$:d :r | d :$s_1$ :$l_1$ | $f_1$ :$s_1$ :$s_1$ | $d_1$:- |

## 310 *Cysuron y Sabboth.*

*mf* YN llwythog dan ofidiau 'r llawr,
*p* A'm calon ar lesmeirio bron,
*cres.* O ! mor gysurol ydyw gwawr—
Hyfrydol wawr y Sabboth llon.

*mf* 'Rol crwydro 'mhlith tymhestloedd byd,
A'm curo 'n flin o dòn i dòn,
Caf hamdden i anadlu 'n glyd
Goruwch eu llid, y Sabboth llon.

*mf* Rhyw lewyrch trwy 'r cymylau du,
Rhyw barthiad bach ar frig y dòn,
A golwg ar fynyddau cu
Y Ganaan draw, yw 'r Sabboth llon.

*f* Ffoed holl drafferthion daear lawr,
Ei hing a'i gofal—ciliant draw!
Na foed o fewn fy mron yn awr
Ond gofal am y byd a ddaw.

T. J.

## 311 *Trugareddau Duw.*

*mf* RHYFEDDOL ac aneirif yw,
Dy drugareddau Di, O Dduw !
*cres.* Fel tywod 'ynt o ran eu rhif,
*f* O ran eu llawnder, fel y llif.

*f* Dy hael ddaioni dirfawr Di,
O Dduw y nef ! a ddaw i ni ;
*cres.* Rhown ninau glod i'th enw glân,
*ff* A'th ddoniau cu a fydd ein cân.

AN.

## 312 *Gwahaniaeth y Ddaear a'r Nef.*

*mp* FY phïol yma sydd yn llawn
O ddyfroedd Mara chwerwon iawn;
*f* Ond gofid, yn y nefol dir,
A lyncir gan lawenydd pur.

*mp* 'Dyw cariad yma, 'n uchaf man,
Ond megys rhyw ddymuniad gwan ;
*cres.* Ond y wreichionen leiaf sy
*f* Yn wenfflam yn y nefoedd fry.

*mf* Yr holl lawenydd yma gawn
Sydd fel rhyw ddafnau bychain iawn ;
*cres.* Ond yno, 'n foroedd mawr di-drai,
Fe leinw 'r etholedig rai.

*mp* Fy ffydd sy'n methu gwel'd yn glir,
*cres.* Ond yno try yn olwg bur ;
Fy ngobaith am y nefol wlad
*f* A lyncir yno mewn mwynhâd.

W. W.

## 313 *Ymbiliau y Pererin.*

*mf* PERERIN wyf mewn anial dir,
Sychedig am gysuron gwir,
Yn crwydro'n boenus, a llesgâu
*cres.* O hiraeth pur am dy fwynhau.

*mp* Carcharor wyf mewn anial wlad,
Yn dysgwyl beunydd am ryddhâd ;
*cres.* O ! deuwch, oriau, tyred, ddydd,
I'm henaid gwan gael myn'd yn rhydd.

W. W.

# DUKE STREET. M.H.

*Doh* E♭. M. 56. J. L. HATTON, 1809—1886.

| | | | |
|---|---|---|---|
| D :m .f \| s :l .t | d' :t.l \| s :— | S :s .s \| l :s | f :m \| r :— |
| S, :d .d \| d :d .r | m :r.d \| t, :— | D :d .d \| d :d | r :d \| t, :— |
| M :s .s \| s :f | s :s.fe \| s :— | M :m .s \| f :s | s :s \| s :— |
| D :d .r \| m :f .r | d :r \| s, :— | D :d .m \| f :m | t, :d \| s, :— |

| | | | |
|---|---|---|---|
| M :m.r \| d.m :s.d' | l.s :f .m \| r :— | S :l .t \| d' :-.f | m :r \| d :— |
| D :d.t, \| d :m | d :t,.d \| t, :— | D :d .f \| m.f :s.d | d :t, \| d :— |
| S :s.s \| s :s | f.s :s \| s :— | S :f .s \| s :-.l | s :s .f \| m :— |
| D :d.r \| m :d | f.m :r .d \| s, :— | M :f .r \| d.r :m.f | s :s, \| d :— |

## 314 *Golwg ar y Nef.*

*mf* PAN adnabyddwyf iaith y wlad,
A phêr ganiadau tŷ fy Nhad,
*f* Dechreuaf gân am farwol glwy'
Na chlywir diwedd arni mwy.

*mf* Enyned tân o gariad cu,
Mewn cydsain â'r angylaidd lu—
Na byddo 'm swydd ond hyfryd sôn
Am nefol rinwedd gwaed yr Oen.

*f* Pan gaffwyf wel'd ei nefol wedd,
A phrofi blâs ei ddwyfol hedd,
Ni bydd gogoniant pena'r byd,
Ond peth annheilwng o fy mryd.

W. W.

## 315 *Diolch am Gynauaf.*

*mf* ABERTHWN fawl i Dduw yn llon,
Am gael cynaua'r flwyddyn hon;
Aneirif yw ei roddion rhad—
*f* Ei glod fo'n adsain dros ein gwlad.

*mf* Ei drugareddau sy'n parhau,
A'i law haelionus sydd heb gau,
*f* Mae myrdd o leisiau 'n tystio 'n un,
Fod Duw yn hoffi cynal dyn.

*mf* Ei roddion geir yn llenwi 'r wlad;
Yn llaw yr hauwr mae 'n rhoi hâd;
A bara i'r bwytawr a roes—
*f* Molianwn Ef bob dydd o'n hoes.

AN.

## 316 *Cwbl yr Enaid yn Nghrist.*

*mf* TYDI, fy Nuw! Tydi i gyd,
Yw'r cwbla a feddaf yn y byd;
*cres.* Yr wyt Ti 'n well, &c.,
Na'r India bell, a'i pherlau drud.

*mf* O fewn i'r anial dyrys, maith,
Yn dysgwyl hyfryd ben fy nhaith,
'Rwy'n gwel'd yn wir, &c.,
Yr oriau 'n hir heb dy fwynhau.

Yn nyfnder pob rhyw drallod mae
Un radd o'th wedd yn llawenhau;
*cres.* Dy wyneb rydd, &c.,
Ddyddanwch sydd yn fwy na'r byd.

*f* Mwy yw fy mhleser, mwy fy rhodd,
A mwy yw f' enaid wrth ei fodd,
I wel'd dy wedd, &c.
A phrofi 'th hedd, na'r byd i gyd.

W. W.

## 317 *Anadliad yr Ysbryd.*

*mf* BYWYD y meirw! tyr'd i'n plith,
A thrwy dy Ysbryd arnom chwyth;
Anadla 'n rymus ar y glyn,
*cres.* Fel byddo byw yr esgyrn hyn.

*p* Dy Ysbryd Arglwydd, oddi fry,
Ddisgyno 'n helaeth arnom ni;
*cres.* Gwnaed ein calonau ni, bob un,
Yn demlau sanctaidd iddo 'i hun.

*mf* Dy lais, O Dduw! â bywyd ddaw,
I ganol teyrnas brenin braw;
*cres.* O! d'wed y gair, a'r esgyrn sych
*f* Ddaw'n fyw i ganu'th glodydd gwych.

J. H.

# JOB. M.H.

*Doh* B♭. M. 48. S. Arnold, Mus. Doc., 1740–1802.

```
D  :d .,d |d  :s,  |l,   :l,   |s,  :—  |S,  :l,.,t, |d   :d   |t,.d:r.t, |d   :—
M, :f,.,f,|s, :m,  |f,   :f,   |m,  :—  |D,  :f,.,f, |m,  :s,  |s,  :s,   |s,  :—
D  :d .,d |d  :d   |d    :d .r |m   :—  |D   :d .,r  |d   :d   |r .m:f.r  |m   :—
D, :r,.,r,|m, :d,  |f,.s,:l,.t,|d   :—  |M,  :f,.,r, |l,  :m,  |s,  :s,   |d,  :—
```

```
M :m .,m |r :m.s  |f .m:r.d|d :t, |S, :l,.,t,|d :— ||: d     :r .,m    |f    :m |r .d :t,|d :—  ||
S,:s,.,s,|s,:s,   |d   :l, |s,:—  |M, :f,.,f,|s,:— |   s,.l,:ta,.,ta,|l,   :s,|f,.m,:r,|m,:— ||
D :d .,d |t,:d.r  |d   :f.m|r :—  |D  :d .,r |m :— |   m     :f .,d    |d .r :d |l,   :s,|s,:— ||
D,:m,.,d,|s,:d.t, |l,.s,:f,|s,:—  |D  :d .,d |d :— |   d     :ta,.,s,  |l,.t,:d |f,   :s,|d,:— ||
```

## 318 *Eto y mae lle.*

*mf* LLEFWCH, genhadon Duw, o hyd,
*p* O! wele, waed Iachawdwr byd!
*cres.* Cymhellwch bawb dd'od ato Fe,
*f* Mae'r Iesu 'n dweyd fod eto le.

*mf* Chwi, rai newynog, tlawd, nesewch,
O amgylch drws Messïa dewch;
*cres.* Gwrandewch ei lais a'i alwad E',
*f* Mae'r Iesu 'n dweyd fod eto le.

*mf* O! dewch, i freichiau 'r Iesu gwiw,
A phrofwch pa mor hawddgar yw;
Chwi gewch groesawiad ganddo Fe,
*cres.* Mae'r Iesu 'n dweyd fod eto le.

*f* Pwy bynag gredo yn Mab Duw,
Yr enaid hwnw byth fydd byw;
Caiff ernes 'nawr o deyrnas ne',
Mae'r Iesu 'n dweyd fod eto le.

Cyf. D. C.

## 319 *Pob peth y Saint.*

*mf* MAE Crist yn bobpeth i'r holl saint:
Pa le mae neb mor fawr eu braint?
Nis gall y rhai 'n fod byth yn dlawd,
Crist yw eu rhan, Crist yw eu brawd.

*mf* Crist, trwy ei waed, a'u gwnaeth yn rhydd;
Crist yw yr haul sy'n gwneyd eu dydd;
*cres.* Crist trwy ei air a'u gwnaeth yn fyw;
*f* Crist yw eu drws a'u ffordd at Dduw.

*mf* Crist yw y Gair a wnaed yn gnawd:
Crist er eu mwyn a ddaeth yn dlawd:
A thrwy anfeidrol rin ei waed,
*cres.* Mae'r wledd i'r tlawd i gyd yn rhad.

*p* Crist erddynt aeth i lawr i'r bedd;
*cres.* Trwy Grist a'i waed maent yn cael
*f* Ar fyr cânt oll fod gydag Ef, [hedd;
Crist, ar eu rhan, sydd yn y nef.

G. L.

## 320 *Coronwch Ef!*

*f* HENFFYCH i enw Iesu gwiw!
Syrthied o'i flaen angylion Duw:
Rhowch iddo barch, holl deulu'r nef:
*cres.* Yn Arglwydd pawb, coronwch Ef!

*f* Chwychwi a brynwyd trwy ei waed,
Plygwch yn isel wrth ei draed;
Fe'ch tynodd â thrugaredd gref:
*cres.* Yn Arglwydd pawb, coronwch Ef!

*f* Boed i bob llwyth, a phob rhyw iaith,
Trwy holl derfynau 'r ddaear faith,
Gydganu 'n llafar mewn un llef:
*cres.* Yn Arglwydd pawb, coronwch Ef!

*p* Er bod ein beiau 'n aml iawn,
*cres.* Mae ganddo iachawdwriaeth lawn;
Ein cânu 'n wŷn wna Brenin nef:
*f* Yn Arglwydd pawb, coronwch Ef!

W. G

# WINDHAM. M.H.

*Doh* F. M. 54. D. READ, Newhaven, Ct.

```
:L, |d   :r   |m  :m  |d   :t,  |l, :L, |d  :t,  |d  :m  |r        :d  |t,  ||
:L, |l,  :t,  |d  :d  |l,  :se, |l, :L, |l, :se, |l, :l, |l,.se,:l,    |se, ||
:D  |m   :s   |s  :l  |l   :m.r |d  :D  |m  :m   |m  :d  |r        :m· |m   ||
:L, |l,  :s,  |d  :l, |m   :m,  |l, :L, |l, :m,  |l, :d  |t,       :l, |m,  ||

:T,  |d   :r   |m  :l  |l   :se  |l  :M  |m  :f   |m  :r  |d   :t,   |l,  ||
:Se, |l,  :t,  |d  :d  |t,  :t,  |d  :D  |d  :d   |d  :l, |l,  :se,  |l,  ||
:M   |m   :s   |s  :f  |f   :m   |m  :L  |l  :l   |s  :f  |m   :-.r  |d   ||
:M,  |l,  :s,  |d  :f  |r   :m   |l, :L, |l, :f,  |d  :r  |m   :m,   |l,  ||
```

## 321 *Yr awr weddi.*

*p* YMGRYMWN oll ynghyd i lawr
Ger bron gorseddfainc gras yn awr;
A pharchus ofn addolwn Dduw,
Mae'n weddus iawn, awr weddi yw.

*p* Awr weddi yw, awr addas iawn,
I draethu cwynion calon lawn;
Gweddiau'r gwael, Efe a glyw,
Yn awr yn wir, awr weddi yw.

*p* Dy Ysbryd, Arglwydd, dod i lawr,
Yn Ysbryd gras a gweddi'n awr,
*cres.* I'n gwneyd yn wir addolwyr Duw:
Mawl fyddo i Ti, awr weddi yw.

AN.

## 322 *Yr Anian dduwiol.*

*mf* O IESU mawr! rho 'th aniau bur
I eiddil gwan mewn anial dir,
*cres.* I'w nerthu drwy 'r holl rwystrau sy'
Ar ddyrys daith i'r Ganaan fry.

*mf* Pob gras sydd yn yr eglwys fawr,
Fry yn y nef neu ar y llawr,
Caf feddu 'r oll, a'u meddu 'n un,
Wrth feddu d' anian Di dy hun.

*mf* Mi lyna'n dawel wrth dy draed,
Mi ganaf am rinweddau 'th waed,
Mi garia'r groes, mi nofia'r dòn,
Ond cael dy anian dan fy mron.

D. C.

## 323 *Cymer fi, Iesu.*

*mp* CYMER fi, Iesu! fel yr wyf,
Cuddia fi yn dy farwol glwyf;
*mf* Can's dyna 'r graig y gwnaf fy nyth,
'Does neb yn ofni yno byth.

*mp* Gâd i mi, Iesu! ddydd a nos,
I dreulio 'm hamser dan dy groes;
'Does gyflwr arall dan y ne'
I'r ofnog rai yn addas le.

W. W.

## 324 *Megys dy ddyddiau, y bydd dy nerth.*

*p* 'RWY'N teimlo 'mod yn llesg a gwan,
Heb allu dringo fawr i'r lan:
*cres.* Ond gair fy Nuw a nertha'm ffydd,
Trwy ddweyd caf nerth yn ol y dydd.

*p* Er bod gelynion cedyrn iawn,
Yn curo'n dost o fore i nawn;
*cres.* Credadyn llesg, gorchfygol fydd,
Trwy dderbyn nerth yn ol y dydd.

*p* 'Rwyf weithiau'n ofni pwysau'r groes,
A chyfyngderau llym fy oes;
*cres.* Ond beth yw'r achos ofni sydd,
Tra paro nerth yn ol y dydd?

*p* Yr angeu du yn fuan ddaw,
Caf deimlo pwys ei farwol law;
*cres* Ond o'i afaelion d'of yn rhydd,
Caf nerth pryd hyn yn ol y dydd.

GOMER.

## 325 *Gweddi a Mawl.*

*mf* ANTURIAF, Arglwydd! yr awr hon,
Yn llwch a lludw ger dy fron;
O flaen dy fainc a'th orsedd Di,
Gweddi a mawl sy'n gweddu i mi.

*mf* Tŵr yn y nos, Ti imi sydd,
Fy Nghraig a'm Cysgod yn y dydd,
I'm cynal:—am dy ofal Di,
Gweddi a mawl sy'n gweddu i mi.

*mp* Tylawd a noeth, gresynus wyf,
Gwan ac anghenus dan fy nghlwyf;
*cres.* Mae ffynon bywyd gyda Thi—
Gweddi a mawl sy'n gweddu i mi.

*mf* Mae yna dorf luosog, lân,
Yn bur eu cerdd, yn bêr eu cân;
Eu mawl yn unig sydd i Ti—
Gweddi a mawl sy'n gweddu i mi.

R. D.

## 326 *Swper yr Arglwydd.*

*mf* RHYW wledd ardderchog sydd i'w chael
I'r saint ar fwrdd eu Harglwydd hael;
Bydd bara a gwin yn nefol ddrych,
Pan roddo Ef ei wyneb gwych.

*mp* Cael golwg ffydd ar waed ei groes,
A gwel'd rhinweddau'i angeu loes,
*cres.* A enyn ynom fawl a chân
O gywir glod i'r Iesu glân.

*p* Cawn ddrych o gariad Brenin nen,
Yn marw drosom ar y pren:
Wrth wel'd y gwin, cawn wel'd y gwaed,
Sy'n golchi'r rhai aflanaf gaed.

*pp* Nesawn mewn cariad 'nawr ynghyd
I gofio am ei angeu drud:
*cres.* A boed ein bywyd îs y nef
Yn glod i'w enw anwyl Ef.

R. J.

## 327 *Huno yn yr Iesu.*

*p* NI ddaw 'nghyfeillion mwya'u hedd
I'm hebrwng, ond hyd lan y bedd;
Try pawb eu cefnau—dyma 'r dydd
Gadawant fi dan leni cudd.

*cres.* Daw i mi dranoeth teg, er hyn,
Caf godi fry i Seion fryn:
Fy llwch ddaw 'n llwyr o bridd y llawr,
Ar ddysglaer wedd fy Mhrynwr mawr!

*f* Caf yno fod yn gwbl rydd—
Ar angeu wedi cario 'r dydd;
Heb unrhyw nychdod mwy, na phoen.
Yn moli 'r croeshoeliedig Oen!

J. T.

## 328 *Gweddi am bresenoldeb Duw.*

*p* MEWN t'wyllwch dudew 'rwyf yn byw,
Yn mhell, yn mhell oddiwrth fy Nuw!
*cres.* Pa bryd, fy Arglwydd!—O! pa bryd
Caf wel'd dy siriol wyneb pryd?

*mf* O! rhwyga 'r tew gymylau sy'
Yn awr yn cuddio 'th wyneb cu;
Rho olwg eto ar dy wedd,
A phrawf o'th felus nefol hedd!

AN.

## 329 *Iesu yn ddigon.*

*mf* O! PWY, ond Iesu, estyn law
O gymorth yn y dyffryn draw?
*p* Pa mor druenus fydd fy ngwedd
Os hebddo Ef yr âf i'r bedd!

*p* Bydd pawb yn cefnu y pryd hyn,
Neb ond myfi yn myn'd trwy'r glyn;
*cres.* 'Does neb, ond Crist, a bery 'n gu
*p* Yn nyfroedd yr Iorddonen ddu.

*mf* Tra byddo bywyd yn fy ngwaed,
Ymbiliaf am drugaredd rad—
Am Gyfaill ffyddlawn fydd i mi,
'N Arweinydd i'r baradwys fry.

D. C. IEU.

## 330 *Marwolaeth Cyfeillion.*

*p* CYFEILLION gerais fel fy hun,
Sy'n myn'd o 'mlaen, o un i un;
'Rwyf finau 'n tynu ar eu hol,
I fyd na ddeuaf byth yn ol.

*mp* Pan byddwy'n rhodio 'r dyffryn du,
Rho wedd dy wyneb, Iesu cu!
*cres.* A dwg fi at y lluoedd llon
Sy'n gwledda 'n wastad ger dy fron.

AN.

## 331 *Rhyfeddodau'r Groes.*

*p* O! FYRDDIWN rhyfeddodau 'r groes!
Dyoddefodd f' Arglwydd angeu loes:
Caru hyd at ddyoddef llid;
Caru a marw yr un pryd.

*mf* Pa ddawn sydd yn y Duwdod mawr
Nad ysgrifenwyd yma i lawr?
Beth all'sai ddangos pwy wyt Ti,
*p* Yn well nag angeu Calfari? W. W.

Rhif 70. ST. CROSS. M.H.

*Doh* F. M. 88. Parch J. B. Dykes, Mus. Doc., 1823—1876.

| D :— \| d :r | m :— \| — :l | s :— \| f :— | m :— \| — :— | M :— \| m :f |
| L, :— \| l, :t, | d :— \| — :d | d :s, \| l, :t, | d :— \| — :— | D :— \| t, :l, |
| M :— \| m :s | s :— \| — :f | m :— \| — :r | m :— \| — :— | D :— \| d :d |
| L, :— \| l, :s, | d :— \| — :f, | s, :— \| s, :— | d :— \| — :— | L, :— \| s, :f, |

| s :— \| d :— | m :— \| r :— | d :— \| — :— | M :— \| m :m | r :— \| m :— |
| s, :— \| d :— | d :— \| t, :— | d :— \| — :— | S, :— \| l, :l, | l, :— \| se, :— |
| d :r \| m :f | s :— \| — :f | m :— \| — :— | M :— \| m :m | f :— \| m :— |
| m, :— \| l, :— | s, :— \| s, :— | d :— \| — :— | D :— \| d :d | t, :— \| m, :— |

| d :— \| r :— | t, :— \| — :— | L, :— \| l, :l, | m :— \| — :r | d :— \| t, :— | l, :— \| — :— |
| l, :— \| t, :l, | se, :— \| — :— | L, :— \| l, :l, | m :— \| — :l, | l, :— \| se, :— | l, :— \| — :— |
| m :— \| f :— | m :— \| — :— | L, :— \| l, :l, | m :— \| — :f | m :— \| r :— | d :— \| — :— |
| l, :— \| r, :— | m, :— \| — :— | L, :— \| l, :l, | m :— \| — :r, | m, :— \| m, :— | l, :— \| — :— |

## 332 *Eiriol ar sail y Gwaed.*

*mp* PECHADUR wyf, da gŵyr fy Nuw,
Llawn o archollion o bob rhyw,
Yn byw mewn eisieu gwaed y groes
Bob mynyd awr o'r dydd a'r nos.

*mp* O! edrych, Arglwydd! 'nawr yn rhad,
Ar un sy'n gorwedd wrth dy draed;
*cres.* A dywed, 'Yn dy waed bydd fyw!'
*f* A molaf byth dy Enw gwiw.

*p* O! cofia fi ger bron y Tad,
A dangos iddo werth dy waed!
*cres.* A dadleu 'n awr yn nghanol ne'
*mf* I Ti roi 'th fywyd yn fy lle.

*mf* Gâd i mi dreulio 'm dyddiau i gyd
I edrych ar dy wyneb pryd;
Difyru f' oes o awr i awr
I garu fy Eiriolwr mawr.

W. W.

## 333 *Swper yr Arglwydd.*

*mp* O! TYR'D yn mlaen, fy enaid trist,
I gofio chwerw angeu Crist;
Fe roes ei hunan yn fy lle,
*cres.* A phwy a gofiaf ond Efe?

*p* Fe'i drylliwyd Ef i'n cadw'n fyw,
A chlwyfau'r Oen, ein lloches yw;
*cres.* Trwy Iawn cymododd ni â'i Dad,
*mf* Diolchwn am ei gariad rhad.

Pedr Fardd.

## 334 *Noddfa Pechadur.*

*p* YN noeth, yn dlawd, yn glwyfus, glaf
Ffoi atat Ti, fy Iesu, wnaf;
Dan gywilyddio yr un pryd,
Im' wrthryfela i'th erbyn c'yd.

*p* Iachawdwr arall, gwn, nid oes,
Na noddfa i'm cadw ond dy groes;
Yn unig yn dy glwyf a'th waed,
'Rwy'n cael i'm henaid esmwythâd.

*mf* O! Gyfaill pechaduriaid! byth
Na'd imi 'th adael tra bo chwyth;
*cres.* Ond aros yn dy gariad mwy—
Ymguddio yn dy farwol glwy'.

D. J., C.

## 335 *Nesáu i farw.*

*mp* O DDYDD i ddydd, o awr i awr,
'Rwy'n nesu i'r tragwyddolfyd [mawr;
Ac yno byddaf cyn bo hir—
*mf* O! am gael etifeddu 'r gwir!

*mp* O groes i groes, o dòn i dòn,
Ymado wnaf â'r fuchedd hon!
Yn fuan af i byrth y bedd—
*cres.* O! am gyrhaeddyd gwlad yr hedd!

*mf* O nerth i nerth, o daith i daith,
Ymlwybraf drwy 'r anialwch maith!
Nid yw 'r Iorddonen ddim yn mhell,
*f* O! am gyrhaeddyd gwlad sydd well!

J. H., Ll.

## Rhif 71. PEN'RALLT. M.H.

*Doh* **F.** M. 52. HUMPHREY ROBERTS, 1886.

```
:D .r |m   :l .s |f   :m .r  |d   :r   |m   :M.f |s   :d .r  |m   :s .f |m   :r   |d   ||
:L,   |l,  :d    |l,  :l,.se,|l,  :l,  |t,  :D   |d   :d .t, |d   :d    |d   :t,  |d   ||
:M    |m   :m    |r   :m     |m   :l   |se  :L   |s   :m .s  |s   :l    |s   :s.f |m   ||
:L,.t,|d   :l,   |r   :d .t, |l,  :f,  |m,  :L,  |m,  :l,.s, |d   :f,   |s,  :s,  |d   ||

:M    |d'  :d'.t |l   :l .s  |f   :m   |r   :D.m |l   :s .f  |m   :m .r |d   :t,  |l,  ||
:M    |m   :m .r |d   :d     |t,  :d   |t,  :D   |d   :d. t, |d   :l,   |l,  :se, |l,  ||
:M    |l   :l .se|l   :d'.s  |s   :s   |s   :M   |f   :s     |s   :f    |m   :m.r |d   ||
:M    |l,  :m    |f   :f .m  |r   :d   |s,  :L,  |f,  :m,.r, |d,  :r,   |m,  :m,  |l,  ||
```

### 336 *Oen Duw.*

*mp* PECHADUR! edrych ar Oen Duw,
Mor addfwyn ac mor llariaidd yw!
*cres.* Mae'i waed yn golchi'r duaf rai,
Ac yn dileu'r ffieiddiaf fai.

*pp* O! gwel o'i fron ar Galfari,
Ei werthfawr waed yn ffrydio'n lli!
*p* O! edrych arno ar y groes,
A gwel E'n marw dan ei loes!

Gwel hoelion llymion drwy ei draed,
A'i ddwylaw pur yn goch o waed!
*cres.* Clyw Ef yn gwaeddi, Geidwad cun,
*f* Gorphenwyd prynedigaeth dyn!

D. S. E.

### 337 *Ychydig bachigyn eto.*

*mf* DYSGWYLIWN ronyn bach trwy ffydd,
O'n rhwymau caeth cawn fyn'd yn [rhydd;
*cres.* Fe dŵr y wawr, cawn oleu clir
Ar fynydd Seion cyn bo hir.

*p* Er bod yn awr yn llesg a gwan,
Heb allu dringo fawr i'r làn,
*cres.* Cawn ganu 'n iach i'r anial dir,
An fynydd Seion cyn bo hir.

*mf* Cawn ganu am glwyfau 'r Oen a'i waed
A rhoi 'n coronau wrth ei draed:
*cres.* Rhad ras fydd cân y teulu 'n wir
*f* Ar fynydd Seion cyn bo hir.

D. W.

### 338 *Dyddanwch yr Ysbryd.*

*mf* TYR'D, Ysbryd yr addewid lân!
Dyddanydd wyt mewn dŵr a thân;
*cres.* Dadguddia 'r gwaed i'm henaid gwan
Yn iachawdwriaeth yn mhob man.

*p* Pan f'wyf ar suddo is y dòn
Ac ofnau 'n rhuo dan fy mron,
*mp* Llefara Di ryw air mewn pryd
A chwâl fy ofnau mawr i gyd.

*p* A phan bwy'n myned tua 'r glyn,
*cres.* Rho dy ddyddanwch y pryd hyn;
A chynal f' ysbryd gwan bob awr
*f* Nes d'od yn iach o'r cystudd mawr.

AN.

### 339 *Gwagedd y Byd yn Angeu.*

*mf* BETH dâl im' roi fy serch a'm bryd
Ar ddim a welaf yn y byd?
*cres.* Da, daear, dyn—pa gysur yw
*p* Y dydd y dêl digofaint Duw?

*mp* Pan bwy'n wynebu angeu du,
Bydd pawb yn cefnu arnaf fi;
*cres.* Pryd hyn, pwy gynal f' enaid gwan
I dd'od o'r anial fyd i'r lan?

*p* Pam cara'i 'r byd a'i wagedd mwy?
Hyd angeu 'n brin y deuant hwy:
*cres.* Gwell genyf garu 'r ffrynd a ddaw
*f* Yn angeu i 'maflyd yn fy llaw.

W. W

Rhif 72. BABYLON. M.H.

*Doh* A♭. M. 54. JACQUES DE CHAMPION, 1600—1672.

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :L, | d :r | m :m | r :d | t, :T, | d :r | m :m | r :r | d ‖ |
| :M, | l, :l, | t, :l, | se, :l, | se, :Se, | m, :s, | s, :l, | l, :s, | m, ‖ |
| :D | m :l | se :m | m :m | m :M | m :t, | d :d | d :t, | d ‖ |
| :L, | l, :f, | m, :d | t, :l, | m, :M, | l, :s, | d :l, | f, :s, | d, ‖ |

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | s :m | r :t, | d :r | m :M | m :r | m :d | t, :t, | l, ‖ |
| :S, | s, :s, | s, :s, | s, :s, | s, :L, | t, :l, | se, :l, | l, :se, | l, ‖ |
| :D | r :d | t, :r | d :t, | d :D | t, :r | t, :l, | f :m.r | d ‖ |
| :D | t, :d | s, :s,.f, | m, :s, | d :L, | s, :f, | m, :f, | r, :m, | l, ‖ |

**340** *Digonedd gras Crist.*

*mf* YN nghanol pob trallodion maith,
A ni yn egwan ar ein taith,
*cres.* O Arglwydd doeth ! amlyga Di,
Mai digon yw dy ras i ni.

*p* Pan fyddo 'n ffydd yn mron llesgâu,
Ofn a thywyllwch am ein cau,
*cres.* Dal ni i'r lân, a dangos Di,
*mf* Mai digon yw dy ras i ni.

*p* A phan y delo angeu du
*cres.* Bydd i ni 'n gymorth o bob tu ;
*mf* Trwy 'r dyffryn tywyll dangos Di,
Mai digon yw dy ras i ni.

AN.

**341** *Megys dy ddyddiau, y bydd dy nerth.*

*mp* O GRISTION gwan ! paid llwfrhau,
*cres.* Mae modd it fyw er maint dy fai ;
*mf* Mae'r Hwn fu farw yn dy le
Yn eiriol drosot yn y ne'.

*mp* O gristion gwan ! paid llwfrhau,
*cres.* Mae pen y bryn yn agosâu ;
Er bod y rhiwiau yma 'n serth,
*f* Yn ol dy ddydd y bydd dy nerth.

*mp* O gristion gwan ! paid llwfrhau,
*cres.* Mae tŷ dy Dad yn agosâu ;
Os cario 'r cledd 'rwyt yn dy law,
*f* Cei'r palmwydd gwyrdd yr ochr draw.

*mf* O gristion gwan ! paid llwfrhau,
*cres.* Mae 'th gam diweddaf yn nesâu,
Er bod yr yrfa yma 'n faith,
*f* Cei goron aur ar ben dy daith.

GOMER.

**342** *Arwain fi.*

*mf* O ARWAIN fi i'th nefol ffyrdd,
Yn nghanol temtasiynau fyrdd ;
*cres.* Yn awr y brofedigaeth ddu,
*p* Dragwyddol Ysbryd ! arwain fi.

*mf* Pererin wyf yn mhell o'm gwlad,
A'm golwg ar drigfanau 'Nhad,
*cres.* Pererin rhwng gelynion lu,
*p* Dad pererinion ! arwain fi.

*mf* O ! arwain fi 'r hyd llwybrau hedd,
Yn ufudd mwyach hyd fy medd ;
Drwy'r olaf brofedigaeth ddu,
*f* Yn orfoleddus, arwain fi.

ISLWYN.

**343** *Dymuniad am nerth.*

*p* DAN gyfyngderau mawr fy oes,
Gad imi edrych ar dy groes ;
*cres.* A'm henaid gwan, rho iddo nerth
I ddringo'r rhiwiau geirwon, serth.

*p* Na âd im' edrych yma a thraw,
*cres.* Ond pwyso ar d'alluog law,
*mf* Nes y diangwyf draw i dref,
*f* I foli'm Ceidwad yn y nef.

T. L., R.

# Rhif 73. CREATION. M.H.D.

*Doh* C. M. 60, *twice*. O "Creation." J. HAYDN, 1732—1809.

```
:S | d':–|–:d' | r':–|–:r' | m':d' |l :r' | d':–|t :S.l | t :d'|r':m' | f':–|–:m'
:S | m :–|–:m  | s :–|–:s  | s :–|f :l   | s :–|–:R    | s :–|s :–   | s :–|–:s
:S | s :–|–:d' | t :–|–:t  | d':–|d':f' | m':–|r':T.d' | r':d'|t :d' | r':–|–:d'
:S | d :–|–:d  | s :–|–:s  | d':m |f :r  | s :–|–:S    | f :m |r :d  | t,:–|–:d

m':r' |d':r' | d':–|t || S | d':–|–:d' | r':–|–:r' | m':d' |l :r' | d':–|t :S.l
s :f  |m :f  | m :–|r || S | m :–|–:m  | s :–|–:s  | s :–|f :l   | s :–|–:R
d':t  |d':l  | s :–|– || S | s :–|–:d' | t :–|–:t  | d':–|d':f' | m':–|r':T.d'
m :s  |l :f  | s :–|– || S | d :–|–:d  | s :–|–:s  | d':m |f :r  | s :–|–:S

t :d'|r':m' | f':–|–:m' | m':r'|d':t  | d':–|– ||   |  :S |s :s | d':–|–:d'
s :–|s :–   | s :–|–:s  | l :–|s :–   | s :–|– || S | s :–|–:s   | s :–|–:s
r':d'|t :d' | r':–|–:d' | l :f'|m':r' | m':–|– ||   |  :  | :S   | s :m |s :d'
f :m |r :d  | t,:–|–:d  | f :–|s :–   | d :–|– || S | s :–|–:f   | m :–|–:–

r':–|–:r' | m':–|–:R' | m':f'|s':m' | r':m'|f':r' | m':f'|s':m' | r':–|– ||   |  :S |s:s
s :–|–:s  | s :–|–:S  | s :–|–:s    | s :–|–:s    | s :–|–:s    | s :–|– || S | s :–|–:s
t :–|–:t  | d':–|–:T  | d':r'|m':d' | t :d'|r':t  | d':r'|m':d' | t :–|– ||   |  :  | :S
s :s |s :s | d':–|–:S | d :–|–:m    | s :–|–:s    | d :–|–:m    | s :–|– || S | s :–|–:f

d':–|–:d'  | r':–|–:r' | m':–|–:R' | m':f'|s':m' | r':m' |f':r'  | d':–|t :–  | d':–|– ||
s :–|–:s   | s :–|–:s  | s :–|–:S  | s :–|–:s    | l :s  |f :l    | s :–|f :–  | m :–|– ||
s :m |s :d' | t :–|–:t | d':–|–:T  | d':t |d':d' | l :de'|r':r'  | m':–|r':– | d':–|– ||
m :–|–:–   | s :s |s :s | d':–|–:S | d :r |m :d  | f :m  |r :f   | s :–|s,:– | d :–|– ||
```

**344** *Y nefoedd sydd yn dadgan gogoniant Duw.*

*f* CYDUNA'R faith ffurfafen fawr,
A'r wybren nwyol gain ei gwawr,
A'r nefoedd lawn dysgleirdeb byw,
I draethu am ogoniant Duw.
*mf* Y diflin haul, o ddydd i dydd,
*f* Yn dangos gallu ei Grëwr sydd,
*mf* Ac yn cyhoeddi drwy bob gwlad
*f* Weithredoedd llaw ei ddwyfol Dad.

*mf* Pan ddel cysgodau 'r hwyr ar led,
Y ganaid loer yr hanes dd'wêd;
Bob nos yn nghlust y ddaear lawr,
Adrodda waith ei Chrëwr mawr.
Tra 'r tanllyd ser, o'i hamgylch sy,
A'r holl blanedau mawrion fry,
*f* Yn traethu 'r hanes ar eu taith,
A'i daenu drwy 'r cyfanfyd maith.

*mf* Ac er mai mewn distawrwydd llwyr
*cres.* Y try 'rhai hyn o foreu i hwyr,
*mf* Ac er na chlywir gair na sain
Drwy holl gylchdeithiau 'r bydoedd [cain,
*f* Yn nghlustiau rheswm, llawenhant,
A thraethu 'n orfoleddus wnant
*ff* Mewn cydgan ogoneddus, fyw,—
'Y llaw a'n gwnaeth, un ddwyfol yw'.
ADDISON—CYF.

**345** *Llwyddiant yr Efengyl.*

*f* BOED i efengyl Iesu mawr
I lanw wyneb daear lawr;
Ei hyfryd sain, a'i goleu clir,
Fo 'n amlwg yn yr anial dir;
*mf* Fel byddo i'r cenhedloedd oll
Ymgasglu 'nghyd, heb un ar goll—
'R Iuddewon hefyd yn gytûn—
*f* I gyd addoli Mab y dyn! D. T.

Rhif 74. BETHESDA. M.H.D.

*Doh* A♭. M. 72. R. S. HUGHES, 1888.

:ᵈL, | d :-.d | t, :t, | m :m | l, :T, | d :r | t, :d .l, | l, :se, | l, || L, | d :-.d | t, :t,
:ᵈL, | l, :-.l, | f, :f, | m, :se, | l, :L, | l, :l, | se, :l, .f, | m, :m, | m, || M, | l, :-.l, | f, :f,
:ᵈL, | m :-.m | r :r | t, :r | d :F | m :f | m :-.r | t, :t, | d || D | m :-.m | r :t,
:ᵈL, | l, :-.l, | l, :l, | se, :m, | f, :R, | d, :$t_2$ | m, :d, .r, | m, :m, | l, || L, | l, :l, | l, :l,

m :m | r :R | s :f | m :d | d :t, | d || S, | d :m | s :-.f | m :m | r :L,
m, :l, | l, :S, | s, :s, | s, :l, | s, :s, | s, || S, | d :m | s, :-.t, | d :d | t, :L,
t, :de | r :T, | d :d.t, | d :d | m :r | m || S, | d :m | r :s | s :s | s :L,
se, :s, | f, :S,.f, | m, :r, | d, :f, | s, :s, | d, || S, | d :m | t, :s, | d.m :r.d | s, :L,

F.t.m.l.

r:f | l :-.s | f :m | r :M | d :r | t, :-.t, | l,.t, :d.r | m :ᵐS | d':s | s :-.f | m :r | d ||
r:f, | l, :-.de | r.t, :d | t, :T, | l, :l, | l, :se, | l, :l, | se, :ᵐS | m :d | d :d | d :t, | d ||
r:f | m :l | l :s | s :M | m :f | m :r | d .t, :l, | t, :ᵐS | s :m | l :l | s :f | m ||
r:f | de:l, | r, :m,.f, | s, :Se, | l, :r, | m, :m, | f, :f, | m, :ᵐS | d :d | f, :f, | s, :s, | {d / d,} ||

## 346 *Pwy yw Hwn?*

*p* PWY yw? Mae'n hoff ei drem a hardd,
O'i flaen y chwardd anwylion nef,
*cres.* Tryliwiog wrid teg flodau gardd
A siriol dardd o'i ruddiau Ef;
*mf* Tywyniad serch ar ddynol lu
A geir yn gu o'i lygaid gwiw,
Mae 'n lân, heb fai, ei ail ni fu,
*f* O hawddgar Un!—Mae 'n dêg, (*p*) *Pwy* [*yw?*

*p* *Pwy yw?* Mae 'r bryniau 'n crynu 'n nghyd,
A'r dreigiau 'n plygu dan ei draed;
*cres.* Gordanbaid nerth sydd yn ei bryd,
A'i loywaf wisg yn llif o waed;
*mf* Mae 'n dàl, heb angen un o'i dû,—
*cres.* Llawn grymusderau o bob rhyw,
O'i flaen y cwymp gelynion lu,
*f* A'i nerthoedd fry—Mae 'n gryf! (*p*) *Pwy* [*yw?*

*p* *Pwy yw?* Mae hwn a'i enw 'n Iôr,
A'i ddirfawr drysor yn ddidrai:
*cres.* Haelioni sydd o'i fewn yn fôr,
I fywhau 'r beïus, lladd y bai;
*mf* I'r tlawd newynog, mae 'n rhoi mael,
*cres.* A gwisg yn wŷn y dû ei liw; [hael!
Mae 'n deg! mae 'n gryf! mae oll yn
*f* Clyw, Seion wael—Dy Iesu yw!
R. P.

## 347 *Pwy yw Hon?*

*mp* PWY yw? Mae hon a'i bron yn brudd,
A llwyd ei grudd o dan y groes,
Y cnawd a'r byd i'w hymlid sydd,
Braidd colli 'r dydd mewn ingol loes;
*cres.* Grym uffern oll gais lethu hon,
*dim.* Gan wneyd ei gwirion fron yn friw:
Yn wael a llesg, heb lewyrch llon, [*yw?*
Tan aml i dòn mae hon—(*p*) *Pwy*

*mf* *Pwy yw?* Mae'n brwydro'n uwch na'r
Ymloywa'n awr mal lleuad ferth; [llawr,
*cres.* Mil purach, gwychach yw ei gwawr,
Na'r heulwen ddirfawr yn ei nerth;
*f* Hi sang yn rymus ar y ddraig,
*cres.* Rhoe's naid o'r aig ofnadwy'n fyw,
A phwys ei phen ar gadarn Graig,
*f* O ryfedd wraig!—Mae'n hardd!—
(*p*) *Pwy yw?*

*mf* *Pwy yw?* y frwydr droes o'i thu,
Banerau i fyny, gwelaf fyrdd;
*cres.* Mae'n dod, mae'n dod o'r anial, fry,
Gan dremio'n hyf ar ŵr o urdd:
*f* Ei Blaenor, cadarn Iôr yw Ef,
Mae'n llon ei llef, a'i gwedd yn wiw,—
*cres.* Bu'n wael—mae'n wych;—bu'n wan—
mae'n gref;
*ff* Adseinied nef,—on'd Seion yw! R. P.

## 348 *Plygu i Dduw.*

*mf* O FLAEN gorseddfainc Iôr y nef
Ymgrymed pawb—eu dyled yw ;
Yr unig fythol Dduw yw Ef— [fyw :
Gall greu, gall ladd, neu gadw 'n
Ei rym, heb ddim o'n cymhorth ni,
A'n gwnaeth o'r pridd yn hardd i
Ac er in' grwydro 'mhell o'i dŷ, [gyd;
*f* Fe 'n dyg yn ol i'w gorlan glyd.

*mf* I'th byrth awn oll â llawen gerdd—
Hyd lys y nef dyrchafwn gân ;
*cres.* Tafodau fyrdd y ddaear werdd [glân ;
Adseiniant fawl trwy 'th demlau
*f* Un led a'r byd yw 'th gyfraith bur ;
Dy gariad byth nid yw 'n ysgoi ;
Fel craig dragwyddol saif dy wir,
*f* Pan byddo 'r nef a'r ddae'r yn ffoi !

WATTS—CYF.

## 349 *Gwisg dy gleddyf ar dy glun.*

*mf* LLWYR noetha 'th fŵa, Iesu ! 'n awr,
Marchoga yn d' ogoniant mawr ;
Cyflawna eiriau 'r llŵon drud
A dyngwyd cyn sylfaenu 'r byd ;
*f* O ! gyr dy saethau gloywon, llym,
I gerdded gyda dwyfol rym ;
A chwymp d' elynion wrth dy draed,
I geisio cymod yn dy waed.

*mf* Cyfoder baner fawr dy ras
Yn mhob rhyw barth o'r ddaear lâs ;
*cres.* Awelon nef fo 'n dànau byw
I seinio 'r iachawdwriaeth wiw ;
*f* Y delwau mudion, fach a mawr,
Fel Dagon gynt, a gwympant 'lawr ;
A chaned holl dafodau 'r byd,
Ganiadau mawr dy angeu drud !

HIRAETHOG.

## 350 *Myfyr am y Gwaed.*

*mf* O ! TYR'D i ben, ddedwyddaf ddydd,
A gâd i'm hysbryd fyn'd yn rhydd ;
Rho brawf, rho brawf, ar frys i mi
O haeddiant aberth Calfari.
*cres.* Fel gallwyf rodio 'n ddinacâd
Dan awel hyfryd rin dy waed
*mf* A threulio 'm hamser, ddydd a nos,
Mewn myfyr am dy angeu loes.

*mf* O ! na foed gras o fewn y nef
Na chaffwyf ran o hono Ef ;
A gwna na byddo genyf flas
Ond yn dy gariad, a dy ras.
*cres.* Fy unig gysur yn y byd
Yw edrych ar dy wyneb pryd ;
A'm horiau elo heibio 'n llawn
*f* Wrth ganu am dy ddwyfol ddawn.

W. W.

## 351 *Heddwch tuag at Dduw.*

*p* I B'LE'R â i 'mofyn heddwch drud ?
At ba greadur yn y byd ?
Pwy laesa 'mhoen, pwy dyn fy maich ?
Nid marwol ddynol gnawdol fraich !
*cres.* Neb ond Tydi fu ar y pren,
Yn dyoddef rhwng y ddae'r a'r nen ;
Mil mwy na'r byd yw dafnau'th waed,
I ro'i i'm hysbryd esmwythâd.

*mf* Fe bwysa gwaed y groes fy mai,
Er cy'd o amser mae'n parhau ;
Er cynddeirioced yw ei ryw,
Ac er mor ddued yw ei liw :
*mp* Duw ydwyt Ti, mae mynyd awr,
O'th wasgu dan y groes i lawr,
*cres.* Yn fwy ei bris, ceir gwel'd ryw bryd,
Na holl bechodau mwya'r byd.

W. W.

## 352 *Gosod fi megys sel ar dy galon.*

*mf* O IESU ! 'r Archoffeiriad mawr !
Rho'm henw ar dy fraich i lawr ;
*cres.* Rho eilwaith, mewn llyth'renau clir,
Ef ar dy ddwyfron sanctaidd, bur :
*mf* Fel, pan ddel arnaf bob rhyw dro,
Fyth gallwyf fod o fewn dy go' ;
Na byddo arnaf unrhyw faich,
Ond fyddo'n pwyso ar dy fraich.

*mf* O ! gwna i'm cariad inau'n rhydd
I redeg atat Ti bob dydd ;
A gwisgo'th enw sanctaidd, llon,
Fel seren ddysglaer ar fy mron ;
*cres.* A dod fy nghalon wag yn llawn
O'th gariad peraidd, fore a nawn ;
Car Dithau finau yn ddidrai ;
*f* A'r undeb hwn byth fo'n parhau.

W. W.

## 353 *Esmwythdra yn Nghrist.*

*mp* FY enaid ! tua'r nefoedd hêd,
A thaen dy galon yno ar led,
*cres.* Os daw cystuddiau i mewn yn lli'
Tafl hwy ar aberth Calfari ;
*mf* Does unrhyw ofid, unrhyw boen,
Na wasgodd ar yr addfwyn Oen,
Ac yn ei ofid Ef a'i gri
*cres.* Mae holl esmwythder f' enaid i.

*mp* Pan del fy Nuw i ben a'i awr,
I roi cystuddiau i mhwyso i lawr,
Rhaid i ergydion pur y ne'
I gadw eu pryd a chadw eu lle ;
*mf* Nis rho'w'd i'm lladd, ond i gael byw,
*cres.* Af finau trwyddynt yn fy Nuw :
Tros byth caiff genyf gân ddigoll,
*f* Am iddo'm dwyn i trwyddynt oll.

W. W.

## Rhif 75. HUDDERSFIELD. M. 8au. 6ll.

*Doh* **F**. M. 72. J. NEWTON.

```
S :-|s:l  | s :f|m:l | s :-|m:- | r :-|M:f | s:-|l:t | d':-|t.,l:s | s:-|fe:-
D :-|d:d  | d :-|d:- | d :-|d:- | t,:-|D :- | d:-|d:r | m :-|r  :- | r:-|r :-
M:-|m:f   | m :l|s:f | m :-|s:- | s :-|S :- | s:-|f:- | s :-|s  :- | t:-|l :-
D :-|d:f, | d :-|d:- | d :-|d:- | s,:-|D :r | m:-|f:r | d :-|s, :t,| r:-|r :-
```

```
s :-|-:-  || S :-.f|m:f | s:-.l|s:f | m:f|s:l | s:-|-:S | l:s|f :m  | r :-.m|r :l
r :-|-:-  || M:-.r|d:r  | m:-.f|m:r | d:r|m:f | m:-|-:M | f:m|r :d  | t,:-.d|t,:f
t :-|-:-  ||  :   | :   |  :   | :  |  : | :  |  : | :  |  : | :   |  :   | :
s,:-|-:-  || D :— |d:d  | d:— |-:d  | d:-|d:- | d:-|-:D | d:-|t,:d  | s,:— |-:f,
```

*cres.*

```
l :s |s.,f:m | m :—|r  || S | l :s |l :t | d' :—|—:f | m :—|r :—  | d :—|—:—
f :m |m.,r:d | d :—|t, || D | d :—|d :r | m :r |d :d | d :—|t,:—  | d :—|—:—
 :   |   :   |  :—|    || S | f :s |f :— | m :f |s :l | s :—|s :f  | m :—|—:—
d :— |d   :— | s,:—|—  || M | f :m |f :r | d :r |m :f | s :—|s,:—  | d :—|—:—
```

M. 96.

```
D' :d' :d'   | t :-.l:s  | s :— :fe    | s  :— :S  | s  : :s       | l  : :l
M  :m  :m    | r :— :r   | m  :r :d    | t, :— :R  | m  : :m       | f  : :f
S  :s  :s    | s :— :s   | d' :t :l    | s  :— :T  | d' : :d'      | d' : :d'
D  :d.r:m.f  | s :— :t,  | d.l,:r :r,  | s, :— :S, | d.t,:d.r:m.d  | f.m:r.m:f.r
```

```
t : :t          | d' : :s         | s :— :s  | l  :— :r' | t :— :t  | d' :— :—
r : :r          | m  : :d.r       | m :— :m  | f  :— :f  | r :— :r  | m  :— :—
s : :s          | s  : :s         | s :— :d' | d' :l  :l | s :— :s  | s  :— :—
s.fe:s.f:m.r    | d.m:s.f:m.r     | d :— :d  | f  :— :r  | s :— :s, | d  :— :—
```

### 354 *Duw yn maddeu.*

*f* DUW mawr y rhyfeddodau maith !
Rhyfeddol yw pob rhan o'th waith ;
*mp* Ond dwyfol ras, mwy rhyfedd yw
Na 'th holl weithredoedd o bob rhyw !
*f* Pa Dduw sy'n maddeu, fel Tydi,
Yn rhad ein holl bechodau ni !

*mp* O ! maddeu'r holl gamweddau mawr,
Ac arbed euog lwch y llawr ;
Tydi yn unig fedd yr hawl,
Ac ni chaiff arall ran o'r mawl.
*f* Pa Dduw sy'n maddeu, fel Tydi,
Yn rhad ein holl bechodau ni !

*mf* Clodforwn am faddeuant llawn,
Yn llawen ei gymeryd wnawn ;
Maddeuant o bob pechod du,
Trwy waed yr Iesu cywir, cu.
*f* Pa Dduw sy'n maddeu, fel Tydi,
Yn rhad ein holl bechodau ni !

*mf* O ! boed i'r gras anfeidrol gwiw,
A chariad anfesurol Duw,
Orlenwi 'r ddaear faith a'i glod,
A thanio'r nef ar beraidd nod.
*f* Pa Dduw sy'n maddeu fel Tydi,
Yn rhad ein holl bechodau ni !

GOMER.

Rhif 76. STELLA. M. 8au. 6ll.

*Doh* E♭. M. 80. AN.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | s :m :s | s :— :d' | d' :t :l | s :— :S | s :f :m | r :m :f | m :s :m | r :— |
| :M | m :d :m | m :— :m | d :— :d | d :— :M | m :r :d | $t_1$ :d :r | m :d :d | $t_1$ :— |
| :D' | d' :s :d' | d' :— :s | l :s :f | m :— :M | m :f :s | s :— :s | s :— :s | s :— |
| :D | d :— :d | d :— :d | d :— :d | d :— :D | d :r :m | f :m :r | d :m :d | $s_1$ :— |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | s :m :s | s :— :d' | d' :t :l | s :— :S | s :f :m | r :m :f | m :— :r | d :— |
| :R | m :d :m | m :— :m | d :— :d | d :— :M | m :r :d | r :de :r | d :— :$t_1$ | d :— |
| :T | d' :s :d' | d' :— :s | l :s :f | m :— :M | m :f :s | l :s :f | s :— :f | m :— |
| :$S_1$ | d :— :d | d :— :d | d :— :d | d :— :D | d :r :m | f :m :r | $s_1$ :— :$s_1$ | d :— |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :R | r :-.m :f | m :— :s | s :m :l | s :— :S | l :d' :l | s :-.f :m | f :— :r | d :— |
| :$T_1$ | $t_1$ :-.d :r | d :— :m | m :d :d.f | r :— :D | d :f :f | m :-.r :d | $l_1$ :r :$t_1$ | d :— |
| :S | s :— :s | s :— :d' | d' :— :d' | t :— :S | f :l :d' | d' :-.s :s | f :l :s.f | m :— |
| :$S_1$ | $s_1$ :— :$s_1$ | d :— :d | d :— :f | s :— :M | f :— :f | d :— :d | $f_1$ :— :$s_1$ | d :— |

## 355 *Cariad at yr Iesu.*

*mp* O IESU! fy Ngwaredwr cu!
Clyw fi pan lefwyf arnat Ti;
Clyw fi oddiar dy uchel sedd,
A rho imi brawf o'th nefol hedd.
*cres.* O! rho imi ras, Iachawdwr byd!
I'th garu Di yn fwy o hyd.

*mp* Yr ydwyf wedi oedi 'n hir
Heb feddwl am dy gariad pur;
*mf* Mi rof fy nghalon i Ti 'n awr
Yn aberth byw, fy Iesu mawr!
*cres.* O! rho imi ras, Iachawdwr byd!
I'th garu Di yn fwy o hyd.

*p* Pa beth a welaist yn of fi,
Yn deilwng o dy gariad Di?
Ti gofiaist am bechadur gwael,
Mor fawr yw'th ras a'th gariad hael!
*cres.* O! rho imi ras, Iachawdwr byd!
I'th garu Di yn fwy o hyd.

*f* Am danat, Iesu! boed fy nghân,
Mor felus yw dy eiriau glân!
Mi fyddaf mwy yn eiddo i Ti,
A Thithau byth yn eiddo i mi.
*cres.* Rho imi ras, Iachawdwr byd!
I'th garu Di yn fwy o hyd.

H.

## 356 *Cuddio yn y frwydr.*

*p* PWY 'm cynal ar y rhiwiau serth?
Pwy 'm cuddia yn y frwydr boeth?
*mf* Pwy, ond Preswylydd mawr y berth,
A'm dysga i ryfela 'n ddoeth?
*cres.* O! dysg fy enaid gwan o hyd
I bwyso arnat yn y byd!

*mf* O dan dy gysgod dwyfol byth
Mae rhyw amddiffyn mawr yn bod;
Tydi fo imi yn nawdd a nyth
Tra bwyf mewn rhyfel is y rhod!
*cres.* O! dysg fy enaid gwan o hyd
I bwyso arnat yn y byd!

AN.

Rhif 77. EATON. 8au. 6ll.

*Dòh* E. M. 60. Z. WYVILL, 1762—1837.

```
:D |d  :r  |m  :s .f |m  :r  |d  :R  |m  :fe |s  :d' |t  :l  |s   ||
:S,|l, :t, |d  :m .r |d  :t, |d  :T, |d  :d  |r  :m  |r  :r .d|t,  ||
:M |m  :s  |s  :l    |s  :s .f|m  :S |s  :l  |s  :s  |s  :fe |s   ||
:D |l, :s, |d  :f,   |s, :s, |d  :S, |d  :l, |t, :d  |r  :r  |s,  ||

:S |s  :f  |m  :s  |s  :f  |m  :S  |l  :l  |s  :d' |f  :m  |m  :r .||
:D |m  :d  |d  :d  |m  :r  |d  :D  |d  :r  |m  :m  |r  :d  |d  :t,.||
:M |s  :l  |s  :m  |s.d':d'.t|d' :M |f  :f  |m.s:l  |l  :l  |s  :- .||
:D |d  :f, |d  :d  |d  :s, |d  :D  |f  :t, |d  :l, |f, :fe,|s, :- .||

.D |d' :l  |s .,f:m.d |d' :l  |s  :-.T,|d .r :m.f |s  :-.f |m  :r  |d  ||
.D |d  :d  |d  :-.d   |d  :d  |d  :-.S,|s,.t,:d.d |d  :-.r |d  :t, |d  ||
.M |m  :f  |m .,l:s.m |m  :f  |m  :-.S |s  :-.d   |d.d':t.l|s  :s.f|m  ||
.D |d  :f, |d  :-.d   |d  :f, |d  :-.F |m .r :d.l,|m, :-.f,|s, :s, |d  ||
```

357 *Cariad Duw.*

*f* CYDRODDWN fawl i'n Harglwydd glân,
Na fydded diwedd ar ein cân,
Am iddo 'n caru cyn ein bod,
A'r cariad pur oedd ynddo erioed,
*cres.* Nes rhoi ei Fab—etifedd Ne'
I fyw a marw yn ein lle.

AN.

358 *Awydd am bresenoldeb Duw.*

*p* RHOIST yn fy nghalon riddfan cry',
Nid oes a'i tyn ef allan ddim;
Pob pleser is na 'r nefoedd fry
Sydd heddyw wedi colli ei rym:
*cres.* Rho imi nerth, rhag llwfrhau
Dy ras yw'n sylfaen i barhau!

*mp* Euogrwydd, galar, colled, poen,
Yw'r oll a welwn yma 'n un,
Gorphwysfa nid oes yma i'w chael,
Mewn dim ond ynot Ti dy hun:
*cres.* Rho imi nerth, rhag llwfrhau,
Dy ras yw'n sylfaen i barhau!

W. W.

359 *Gweddi yr Edifeiriol.*

*mp* DUW 'r cariad! o'th drugaredd gu,
O! clyw fy llef, ymbiliwr gwael;
Plyg o'th eisteddle uchel fry—
Gorseddfainc dy Fawrhydi hael,
*mf* O! gwrando 'm gweddi, maddeu 'mai,
*cres.* Fel bo i'm henaid lawenhau.

*mp* O'm da fy hun 'dwy'n enwi dim,
Can's gwael ac euog, euog wyf;
O flaen dy fainc, pan fyddo im'
I feiddio d'od, gan deimlo 'm clwyf,
*cres.* Fy nadl yw enw Iesu cu—
Yr Hwn sydd werthfawr iawn i mi.

*mf* Gan hyny, Dad trugarog, cu!
O! gwrando gŵyn ymbiliwr gwael:
Plyg Di o'th uchel orsedd fry—
Gorseddfainc dy Fawrhydi hael,
*cres.* O! erglyw 'm llais, fy Arglwydd da,
A'm calon drist a lawenhâ!

AN.

J. H. Roberts, Mus. Bac., 1888.

Doh A♭. M. 60. E♭.t.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| M :— | s :— | :M | d :r.m | f :m | r :d | t, :-.R | ᵐl :d' |
| S, :— | s, :— | :T, | l, :t, | d :d.t, | l, :s, | s, :-.S, | ˢd :d |
| D :— | r :— | :M | m :s | l :s | f :m | r :-.T, | ᵈf :s |
| D :— | t, :— | :S, | l, :s, | f, :d, | r, :m,.f, | s, :-.S, | ᵈf :m |

f.A♭.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| f :m.f | r :-.s | s :-.d' | t :l | s :-.d | m :r | ᵈs,:-. | .S, | l, :t, |
| r.t,:d | d :t, | d :-.d | d :d.r | m.r:d.d | d :t, | ᵈs,:-. | .S, | f, :f, |
| l.s :-.l | s :s | s :-.s | s :f | m.f:s.l | s :-.f | ᵐt,:-. | .D | d :r |
| r :d.f, | s, :-.f, | m, :-.m, | f,.s,:l,.t, | d.r:m.f | s :s, | ᵈs,:-. | .M, | f, :r, |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| d :-.t, | d.t, :d.r | m :-.D | r :d | f :-.m | m.r:r.d | d :t,.M | m :-.r |
| m, :-.se, | l,.se,:l,.t, | d :-.S, | l, :s, | d :-.d | l, :l, | s, :-.Se, | l, :t, |
| d :-.m | m :m.s | s :-.M | f :m | l :-.s | f :f | m :r.M | m :m |
| l, :-.m, | l,.m, :l,.s, | d :-.D | d :d | d :-.d | f, :f, | s, :-.M, | b, :se, |

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| d :d.m | s :-.f | m :-.d | l :t, | d.s :s.f | m :r | d :— |
| l, : | .t, :d.r | d :-.d | d :s, | s,.d :d | d :t, | d :— |
| m :d.m | s :-.s | s :-.m | f :r.s | s :l | s :-.f | m :— |
| l, : | .s, :l,.t, | d :-.d | f, :f, | m, :f, | s, :s, | d :— d, :— |

## 360 *Cymdeithas y saint.*

*mf* BRAINT, braint,
Yw cael cymdeithas gyda'r saint,
Na welodd neb erioed ei maint;
*cres.* Ni ddaw un haint byth iddynt hwy;
Y mae'r gymdeithas yma'n gref,
*f* Ond yn y nef hi fydd yn fwy.

*mf* Daeth trwy
Ein Iesu glân a'i farwol glwy',
Fendithion fyrdd—daw eto fwy:
*cres.* Mae ynddo faith ddiderfyn stor;
Ni gawsom rai defnynau i lawr;
*f* Beth am yr awr cawn fyn'd i'r môr?

*mf* Gwledd, gwledd
O fywyd a thragwyddol hedd
Sydd yn y byd tu draw i'r bedd;
*cres.* A hardd fydd gwedd y dyrfa i gyd
Sy'n byw ar haeddiant gwaed yr Oen,
O sŵn y boen sydd yn y byd. An.

## 361 *Anthem gras.*

*mf* GRAS, gras,
Yw'r newydd gân bêreiddia'i blas
Fu 'rioed ar wyneb daear las;
*cres.* Hi ddeil ei blas pan losgo'r byd,
A berwi'r môr a'i donau'n dân,
*f* Y newydd gân fydd gras i gyd.

*f* Mawr, mawr,
Yw'r gras eglurwyd ini'n awr,
Mae'n dyled wedi ei thalu i lawr,
Mae'r ffordd o'r llawr i'r nef yn rhydd,
Gelynion yn eu hol yn troi,
Yn gorfod ffoi rhag arfau ffydd.

*mf* Bydd, bydd,
Rhyw ganu peraidd iawn ryw ddydd,
Pan ddelo'r caethion oll yn rhydd,
*cres.* Fe droir eu ffydd yn olwg fry;
Cydunant byth heb dewi a son,
*f* I foli'r Oen fu ar Galfari. An.

Rhif 79. GLAN 'R AFON. M. 2.8.

*Doh* G. M. 92. D. DAVIES.

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D | s :—:L | s :—:f | m :—:r | d :—:m | r :—:R | m :—:l | s :—:f |
| :$S_1$ | d :—:D | $t_1$:—:$l_1$.$s_1$ | $s_1$:—:$s_1$ | $l_1$:—:$s_1$ | $s_1$:—:$T_1$ | d :—:d | d :—:d |
| :M | m :—:F | r :—:d .r | d :—:r | m :—:d | $t_1$:—:S | s :—:f | s :—:l |
| :D | d :—:$F_1$ | $s_1$:—:$l_1$.$t_1$ | d :—:$t_1$ | $l_1$:—:$m_1$ | $s_1$:—:$S_1$ | d :—:$f_1$ | $m_1$:—:$f_1$ |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| m :—:r | d :— | D | m :—:r | d :—:m | s :—:m | s :—:M | l :—:s | f :—:m |
| d :—:$t_1$ | d :— | $S_1$ | d :—:$t_1$ | $l_1$:—:$s_1$ | $s_1$:—:$s_1$ | $t_1$:—:D | d :—:$t_1$ | $l_1$:—:$s_1$ |
| s :—:f | m :— | M | s :—:f | m :—:m | r :—:d | r :—:D | f :—:r | d :r :m |
| $s_1$:—:$s_1$ | $d_1$:— | D | d :—:$s_1$ | $l_1$:—:d | $t_1$:—:d | $s_1$:—:$L_1$ | $f_1$:—:$s_1$ | $l_1$:$t_1$ :d |

://:

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| r :—:d | r :— | M | s :—:m.r | d :—:r | m :—:l | s :—:f | m :—:r | d :— |
| $l_1$:—:$l_1$ | $t_1$:— | D | r :—:$t_1$ | d :—:$t_1$ | d :—:d | d :—:d | d :—:$t_1$ | d :— |
| f :—:m | s :— | S | s :—:s.f | m :—:s | s :—:f | s :—:l | s :—:f | m :— |
| $f_1$:—:$l_1$ | $s_1$:— | D | $t_1$:—:$s_1$ | $l_1$:—:$s_1$ | d :—:$f_1$ | $m_1$:—:$f_1$ | $s_1$:—:$s_1$ | $d_1$:— |

### 362 *Rhinweddau gras Crist.*

*f* GRAS, gras,
Yn genllif grymus ddaeth i maes,
Grisialaidd afon loyw, las;—
Rhinweddol flas i'r euog rai;
Lle i bechaduriaid yma gaed,
I'w cánu'n rhad oddi wrth bob bai.

*mf* I'r lan,
Os dringo gawn o'r anial fan,
Bydd hyfryd seinio yn y man;
Pawb yn ei ran yn moli'r Oen,
Mewn melus anthem, newydd iaith,
Ar ben y daith, heb friw na phoen.

*mf* Gwych sain
Fydd eto am y goron ddrain,
Yr hoelion llym, a'r bicell fain;
*cres.* Wrth gofio 'rhai'n caiff uffern glwy'
Cadwynau tynion aeth yn rhydd;
*ff* Fe gaed y dydd, Hosanna mwy.
J. R., LL.

### 363 *Llawenydd diddarfod.*

*mf* DAW dydd,
Y cân y dinasyddion sydd,
Gan rym y dòn, a'u bron yn brudd;
Y boreu tawel sydd gerllaw,
Ac yno bydd soniarus dôn,
O fawl i'r Oen, heb boen na braw.

*f* Bydd, bydd
Llawenydd yn ymdoni 'n rhydd,
I bawb sy'n meddu bywiol ffydd;
Can's dyma'r dydd bydd gwaeddi 'Dewch,
Chwi fendigedig blant fy Nhad!'—
I'r nefol wlad, o'i rad yr ewch.
AN.

### 364 *Canmol Cariad Crist.*

*f* CLOD, clod
I'r Oen a laddwyd eyn fy mod;
Y parch a'r mawl i'w enw boed,
Am iddo erioed, o'i gariad rhad,
Roi 'i serch ar wael golledig ddyn!
Mawr iawn yw rhin ei werthfawr waed!
W. W.

## 365 *Dydd rhyddhad y carcharorion.*

*mf* DAW dydd
I'r carcharorion fyn'd yn rhydd,
O'u holl gadwynau tynion sydd;
*cres.* Mor felus fydd eu canu hwy!
Am ddyoddefaint addfwyn Oen,
*f* Bydd hyfryd son heb ddiwedd mwy.

*mf* Y rhai'n
A wisgir oll a llian main,
Telynau gânt o beraidd sain,
*cres.* I ganu anthem faith o glod,
I'r Hwn fydd yn teyrnasu mwy,
*f* Am farwol glwy', tra'r nef yn bod.

*mf* Fe ddaw
Yr hyfryd foreu, mae gerllaw,
Bydd pawb a'i delyn yn ei law,
*cres.* Heb ofn na braw, yn nghwmni'r Oen,
Yn canu i dragwyddoldeb maith,
*f* Ar ben y daith heb friw na phoen.

An.

## 366 *Moliant i'r Oen.*

*f* CLOD, clod,
I'r hwn a'm carodd cyn fy mod,
Mae 'm llef am ddilyn ol ei droed,
*mf* Nes im' gael d'od i'w dawel hedd,
I'r lle mae llawnder ar bob llaw,
*cres.* Heb boen, na braw, tu draw i'r bedd.

*mp* Yr wyf,
Fel ar y terfyn i fyn'd trwy,
I'r wlad na bydd im' deimlo clwy'—
*cres.* Rhyw hyfryd Sabboth pur dilŷth,
Yn mysg y dyrfa hardd ddiboen,
*f* Yn canu i'r Oen heb ddiwedd byth!

An.

## 367 *Rhinweddau angeu y groes.*

*mf* Y GROES,
Yw etifeddiaeth fawr fy oes,
A'm grym i lynu dan bob loes;
'Rwy'n gwel'd nad oes o dan yr haul,
Neb gaf mewn cyfyngderau dwys,
*cres.* I ddal fy mhwys, ond Adda'r Ail.

*mf* Y llen,
Oedd rhyngwyf gynt a'r nefoedd wen,
A rwygodd Iesu hyd y nen;
*cres.* I'r wlad uwchben fe'm harwain Ef,
I'm llon orphwysfa dringo gaf,
*f* I fynwes Naf o fewn y nef.

*mf* Ni ddaw
Na phoen na gofid, och, na braw,
I neb o'r saint yr ochr draw;
*cres.* Dont yn ei law i'r hyfryd wlad,
*f* I seinio cân dragwyddol mwy,
Am farwol glwy', ac am y gwaed.

An.

## 368 *Rhagluniaeth dyner.*

*mf* LLAWN, llawn,
O drugareddau gwerthfawr iawn,
Yw 'n celloedd oll o foreu i nawn;
Pob gwerthfawr ddawn oddi wrthyt ddaw
I ni, annheilwng blant y llawr,
*f* O Arglwydd mawr! (*p*) o'th dyner law

*mf* Clod, clod
I'th enw Di, 'r anfeidrol Fôd!
Yr hwn breswyli uwch y rhod;
O'th law mae'n d'od ein hymborth ni;
Ar dy ddaioni 'r y'm yn byw—
*f* O Arglwydd Dduw! boed mawl i Ti.

*mf* Gwawr, gwawr
Dy ddoeth ragluniaeth sydd bob awr
I'n lloni ni, drigolion llawr;
O Arglwydd mawr! a thirion Dad!
*cres.* Y mawl, a'r clod, fo yn ddi-nam,
I'th enw am dy roddion rhad.

W. W., T.

## 369 *Bwrdd y Wledd.*

*mf* POB dawn,
Dymhorol, fedd y nefoedd, gawn,
Ond daw y dydd pan eu gadawn;
*cres.* Mewn ardal lawn, mŷn Ior dilyth,
Fy arddel i wrth fwrdd y wledd,
*f* Uwchlaw y bedd, O! diolch byth.

Dewi Arfon.

## 370 *Effeithiau 'r Iawn.*

*mf* GWIR, gwir,
Ddod newydd da o'r nefol dir,
Fod llyfrau 'r nef yn awr yn glir;
Mae hyn yn wir, fe gafwyd Iawn,
Cyhoeddodd Ior uwch Calfari,—
"Derbyniais I foddlonrwydd llawn."

*mf* Mawr, mawr
Oedd cariad Duw at lwch y llawr,
Fe bwysodd hwn y Mab i lawr;
*cres.* A thorodd gwawr ar achos dyn,
Cawd modd i leddfu euog fron,
*ff* Fe burir hon fel nef ei hun.

T. H., Ll.

## Rhif 80. GOLGOTHA. M. 2.8.

*Doh* B♭. M. 92. J. H. ROBERTS, Mus. Bac., 1880.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :L, | m :—:D | r :—:f | m :—:d | t,:—:l, | m :—:M | s :—:m | r :—:d |
| :M, | m, :—:M, | l,:—:l, | l,:se,:l, | m,:—:l, | se,:—:L, | s,:—:s, | t,:—:l, |
| :D | t, :—:L, | l,:—:r | t,:—:l, | t,:—:r | t, :—:M | r :—:m | s :—:m |
| :L, | se,:—:L, | f,:—:r, | m,:—:l, | s,:—:f, | m, :—:D | t,:—:d | s,:—:l, |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| t,:—:t, | l, :— | M | m :—:r.d | t, :—:r | r :—:d.t, | l,:—:T, | d :—:r |
| l,:—:se, | l, :— | S, | s,:—:l, | s, :—:l, | f,:—:m, | d,:—:M, | m,:—:s, |
| f :—:m.r | d :— | D | d :—:l, | t, :—:l, | l,:—:se, | l,:—:Se, | l,:—:t, |
| r,:—:m, | l,, :— | D, | m,:—:f, | s, :—:f, | r,:—:m, | f,:—:M, | l,:—:s, |

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| m :—:s | fe:—:m .re | m :—:M | s :—:m | r :—:d | t,:—:t, | l, :— |
| s, :—:t, | l,:—:s,.fe, | s, :—:S, | s, :—:s, | s, :—:m, | f,:—:m,.r, | d, :— |
| d :—:r | d :—:t, | t, :—:M | r :—:d | t, :—:l, | l,:—:se, | l, :— |
| d :—:s, | l,:—:t, | m, :—:D | t, :—:d | s, :—:l, | r,:—:m, | l,, :— |

### 371 *Cymhwysiad o waed Crist.*

*mf* O! TYN,
Y gorchudd yn y mynydd hyn;
Llewyrched Haul Cyfiawnder gwyn,
*dim.* O ben y bryn bu'r addfwyn Oen
Yn dyoddef dan yr hoelion dur,
*cres. p* O gariad pur i mi mewn poen.

*p* Golch ni,
Oddiwrth ein beiau aml ri',
Yn afon werthfawr Calfari;
*cres.* Mae hono'n lli' o haeddiant llawn,
Er cymaint ein haflendid ni,
Yn dorf ddiri' ein golchi gawn.
H. J., M.

### 372 *Goruchafiaeth croes Crist.*

*mf* DAL fi,
Er fy ngelynion aml eu rhi,
A'm golwg tua Chalfari;
A gwrando gri fy enaid gwan,
Mewn gorthrymderau o bob rhyw:
*cres.* Trwy allu Duw y dof i'r lan.

*mf* Ei wedd,
A leinw f'enaid gwan a hedd,
Nes llyncu ofnau barn a bedd;
A dyma wledd i enaid trist,
Cael golwg ar ei angeu loes,
*f* Ac ar y groes ogoniant Crist.
R. J., W.

### 373 *Diogelwch y Credadyn.*

*mf* NID oes,
Ni bu, ni ddaw, mewn unrhyw loes,
O gymaint gwerth a gwaed y groes,
Y farwol loes ga'dd Brenin nef!
*p* O gariad mawr! diderfyn 'stôr,
*cres.* Sydd fel y môr byth ynddo Ef!

*mf* Af drwy
Fy nhemtasiynau aml mwy
Dan aden cariad dwyfol glwy'—
*cres.* Fe'u maeddaf hwy'n ei goncwest Ef;
A'i allu yw fy noddfa glyd
Nes myn'd o'r byd i ganol nef.
W. W.

Rhif 81. DORCAS. M. 2.8.

*Doh* C. M. 84. D. J. JAMES, Penrhyndeudraeth.

```
|L  :— |l  :Se|l  :t  |d' :-.t|l  :— |se :l  |m  :— |T  :— |d' :r'
|M  :— |m  :M |d  :m  |m  :—  |m  :— |r  :m  |m  :— |M  :— |m  :s
|D' :— |l  :T |l  :se |l  :—  |l  :— |t  :d' |t  :— |Se :— |l  :t
|L, :— |d  :M |f  :m  |l, :—  |d  :— |t, :l, |m  :— |M  :— |l  :s

|m' :— |— :r' |d' :— |t  :— |l  :— |— :— ||T  :— |d' :r' |m' :— |r' :—
|s  :— |— :f  |m  :— |r  :— |d  :— |— :— ||M  :— |m  :s  |s  :— |s  :—
|d' :— |— :l  |l  :— |se :— |l  :— |— :— ||Se :— |l  :t  |d' :— |t  :—
|d  :— |— :r  |m  :— |m  :— |l, :— |— :— ||M  :— |l  :s  |d' :— |s  :—

|d' :l  |t  :— |D' :— |l  :r' |d' :— |l  :— |se :l    |m  :— |L  :— |t  :r'
|m  :l  |se :— |S  :— |f  :f  |s  :— |m  :— |m  :m    |m  :— |D  :— |m  :f
|l  :d' |m' :— |M' :— |d' :l  |d' :— |d' :— |r' :d'.l |se :— |L  :— |se :l
|l  :f  |m  :— |D  :— |f  :f  |m  :— |d  :— |t, :l,   |m  :— |F  :— |m  :r

                 :||:
|d' :-.t|l :— |t  :— |d' :r' |m' :— |— :r' |d' :— |t  :— |l  :— |— :— ||
|m  :-.r|d :— |m  :— |m  :s  |s  :— |— :f  |m  :— |r  :— |d  :— |— :— ||
|l  :— |— :—  |se :— |l  :t  |d' :— |— :l  |l  :— |se :— |l  :— |— :— ||
|l  :— |— :—  |m  :— |l  :s  |d  :— |— :r  |m  :— |m  :— |l, :— |— :— ||
```

## 374 *Ol y waewffon.*

*mf* PA le,
Y gwnaf fy noddfa dan y nef
Ond yn ei glwyfau dyfnion Ef?
*p* Y bicell gref aeth dan ei fron,
*cres.* Agorwyd ffynon i'm glanhau,
*f* 'Rwy'n llawenhau fod lle yn hon.

*mf* Oes, oes,
Mae rhin a grym yn ngwaed y groes,
I lwyr lanhau holl feiau f'oes:
*p* Ei ddwyfol loes, a'i ddyfal lef,
Mewn gweddi drosof at y Tad
*cres.* Yw fy rhyddhad, a'm hawl i'r nef.
H. J., M.

## 375 *Nerth mewn temtasiynau.*

*mf* FY llef
Ddyrchafaf at fy Nuw i'r nef,
Yn ngwyneb pob temtasiwn gref;
Ni wrthyd Ef fy llefain i,
*cres.* Mae'n gwrando cri pob enaid trist
Yn haeddiant Crist ar Galfari.

*mf* Rhy wan
Wyf fi fy hun i ddôd i'r lan,
Gelynion cryfion sy'n mhob man,
Fe'm llethid gan eu nerthoedd hwy;
*cres.* Ond deuaf drwy y rhwystrau i gyd,
Mae'm nerth o hyd mewn marwol glwy.
M.

## 376 *Rhyfeddodau y Groes.*

*mf* O! PWY
All chwilio dyfais marwol glwy',
Sydd anchwiliadwy hollol trwy
Bob rhan o honi oll i gyd?
Dyfnderau mawr ei gariad Ef,
*cres.* Ddadseinia 'r nef pan ddarfo 'r byd.

*mf* 'Does dim,
O dan y nefoedd fawr o rym,
A'm deil i'r lan dan gystudd llym,
Ond cariad pur fy Arglwydd cu,
*cres.* A hwn a'm nertha i fyn'd yn mlaen
Trwy ddwfr a thân i'r nefoedd fry.
W. W.



H

Rhif 82. HIRAETH. M. 6.4.6.4.6.6.4.

*Doh* E. M. 92. JOHN HULLAH, LL.D., 1812—1884.

| | | | |
|---|---|---|---|
| M :— \|d :r | m :m \|l :— | S :— \|d :m | r :— \|— :— |
| D :— \|d :d | d :d \|d :— | D :— \|d :d | t, :— \|— :— |
| S :— \|m :f | s :s \|l :— | D' :— \|s :s | s :— \|— :— |
| D :— \|d :d | d :d \|f :— | M :— \|m :d | s, :— \|— :— |

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| M :— \|d :r | m :m \|l :— | T :— \|l :t | s :— \|— :— | D' :— \|m :f |
| D :— \|d :d | d :d \|d :— | R :— \|d :d | t, :— \|— :— | D :— \|d :d |
| S :— \|m :f | s :s \|m :— | S :— \|fe :fe | s :— \|— :— | S :— \|d :d |
| D :— \|d :d | d :t, \|l, :— | R :— \|r :r | s, :— \|— :— | M, :— \|l, :l, |

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| s :s \|d :— | F :— \|m :r | s :s \|f :— | R :— \|m :r | d :— \|— :— |
| d :t, \|d :— | D :— \|d :t, | d :d \|d :— | D :— \|t, :t, | s, :— \|— :— |
| r :f \|m :— | L :— \|s :s | ta :ta \|l :— | Fe :— \|f :f | m :— \|— :— |
| s, :s, \|l, :— | R, :— \|s, :f, | m, :m, \|f, :— | L, :— \|s, :s, | d :— \|— :— |

## 377 *Yn nes i Dduw.*

*mf* DIOLCHAF am y groes
Er trymed hi,
A'm cyfyd, O fy Nuw!
Yn nes i Ti;
*cres.* Hyn yw fy nghân a'm cri,
Yn nes, fy Nuw, i Ti—
*p* Yn nes i Ti!

*p* Er bod fel teithiwr blin,
A'm bron yn brudd,
Yn huno ar gareg oer
Heb oleu dydd;
*cres.* Mewn breuddwyd 'hedwn i
Yn nes, fy Nuw, i Ti—
*p* Yn nes i Ti!

*mf* Rho yno wel'd fy ffordd
Yn risiau i'r nef,
Ac engyl ar bob gris
Yn llon eu llef,
*cres.* Yn gwa'dd fy ysbryd i
Yn nes, fy Nuw, i Ti—
*p* Yn nes i Ti!

*mf* Os yn y byd deffrown,
Cyfodwn i
O'm holl ofidiau i gyd
'Fethel' i Ti!
*cres.* O'r dyfnder galw fi
Yn nes, fy Nuw, i Ti—
*p* Yn nes i Ti!

*mp* Neu, os ehedeg wnawn
Trwy 'r wybren fry,
*cres.* Uwch law yr haul a'r sêr
At nefol lu,
*f* Hyn fydd fy nghân a'm cri,
Yn nes, fy Nuw, i Ti!
Yn nes i Ti!
SARAH F. ADAMS—CYF.

## 378 *O! derbyn fi.*

*p* ER imi grwydro 'n ffol,
I estron wlad;
*cres.* Anturiaf yn fy ol,
Fy nhirion Dad!
*mf* Trugarog ydwyt Ti,
*cres.* O! derbyn, derbyn fi;
O! derbyn fi.

*p* Rwy'n dyfod fel yr wyf,
Yn wael fy ngwedd;
Nid oes a wella 'm clwyf
Ond balm dy hedd!
*mf* Fy mywyd ydwyt Ti!
*cres.* O! derbyn, derbyn fi;
O! derbyn fi.

*p* Mi glywais am yr Iawn,
Roed ar y groes,—
*cres.* Anfeidrol daliad llawn
Dros feiau f'oes.
*mf* Yn haeddiant Calfari,
*cres.* O! derbyn, derbyn fi;
O! derbyn fi. M.

## Rhif 83. GLANHAFREN. M. 6.4.6.4.6.6.6.4.

*Doh* A. M. 92. Alaw Gymreig.

```
D :- |d :s, |d :r |m :- |F :- |m :r |d :- |- :- ||R :- |r :m |f :m |r :-
S, :- |s, :s, |m, :s, |s, :- |L, :- |s, :f, |m, :- |- :- ||R, :- |f, :s, |l, :s, |s, :-
M :- |m :r |d :t, |d :- |D :- |d :t, |d :- |- :- ||T, :- |l,.t, :d |d.t, :d |t, :-
D :- |d :t, |l, :s, |d :- |F, :- |s, :s, |d, :- |- :- ||S, :- |f, :m, |r, :m,.f, |s, :-
```

```
D :— |t, :l, |s, :— |— :— ||S, :— |d :m |s :f |m :— |S :— |m :r
S, :— |s, :fe, |s, :— |— :— ||S, :— |s, :d |d :t, |d :— |S, :— |s, :t,
M :— |r :d |t, :— |— :— ||T, :— |d :s |d :r |d :— |R :— |m :f
D :— |r :r, |s, :— |— :— ||S, :—.f, |m, :d, |m, :s, |l, :— |T, :— |d :s,
```

```
d :m |r :— ||R :— |m :r.m |f :m.f |s :— |F :— |m :r |d :— |— :— ||
l, :s, |s, :— ||S, :— |s, :s, |f, :s,.l, |s, :— |L, :— |s, :f, |m, :— |— :— ||
m :d |t, :— ||T, :— |d :t, |d :d |d :— |D :— |d :t, |d :— |— :— ||
l, :m, |s, :— ||S, :— |d :s, |l, :s,.f, |m, :— |F, :— |s, :s, |d, :— |— :— ||
```

### 379 *O! Ryfedd ras!*

*mf* DAETH ffrydiau melus iawn,
Yn llawn fel lli',
O ffrwyth yr arfaeth fawr,
Yn awr i ni;
*cres.* Hen iachawdwriaeth glir
Aeth dros y crindir cras:
Bendithion amod hedd—
*f* O! ryfedd ras!

*mf* Fe gymerth Iesu pur
Ein natur ni;
*cres.* Enillodd Ef i'w saint
Bob braint a bri;
*p* Gadawai'r nef o'i fodd,
Fe gym'rodd agwedd gwas,
*cres.* Ffrwyth y cyfamod hedd—
*f* O! ryfedd ras!

*mf* Fe gymerth Iesu blaid
Trueiniaid trist;
Ysigodd ben y ddraig;
Ein Craig yw Crist:
*cres.* Cawn ninau fod yn bur,
Uwch cur, a phechod câs,
Yn berffaith ar ei wedd—
*f* O! ryfedd ras!

### 380 *Ail Ran.*

*mf* BOED clod i'n Prynwr rhad—
Ein Ceidwad cu;
Fe dorodd rym yr hen
Iorddonen ddu:
*cres.* Gorchfygodd angeu cryf,
Er awch ei gleddyf glâs,
A drylliodd rwymau 'r bedd—
*f* O! ryfedd ras!

*mf* Wrth orphwys ar yr Iawn
Ni gawn i gyd
Felusion ffrwythau 'r groes,
Drwy 'n hoes o hyd:
*cres.* Mae yma hyfryd win,
I flin, o beraidd flâs,
Maddeuant pur a hedd—
*f* O! ryfedd ras!

*p* Yn rawnwin, ar y groes,
Fe droes y drain;
Caed balm o archoll ddofn
Y bicell fain:
*cres.* Dechreuwn fawl cyn hir
Na flinir ar ei flâs,
Am Iesu 'r aberth hedd—
*f* O! ryfedd ras! PEDR FARDD.

## Rhif 84. YSTRAD FFLUR. M. 6.4.6.4.6.6.6.4.

*Doh* E♭. M. 92. W. EVANS (Alaw Afan), 1887.

```
|M :— |m :d  |f    :m |r  :— |D  :— |d  :r  |m  :— |— :— ||S :— |s :m  |
|D :— |d :d  |d.r  :d |t, :— |L, :— |l, :l, |t, :— |— :— ||D :t,|d :d  |
|S :— |s :s  |l .s :s |s  :f |M  :— |l  :l  |se :— |— :— ||S :f |m :s  |
|D :— |d :m  |l,.t,:d |s, :— |L, :— |f, :f, |m, :— |— :— ||M :r |d :ta,|
```

B♭.t.

```
|l  :s   |f  :— |(r)S,  :— |l, :t, |d  :— |— :— ||D  :— |l, :f  |m  :r  |d  :—  |
|d  :ta, |l, :d |(t,)M, :— |f, :f, |m, :— |— :— ||F, :— |f, :l, |s, :f, |m, :—  |
|f  :m   |f  :l |(s)D   :— |d  :r  |s, :— |— :— ||L, :— |d  :d  |d  :t, |d  :—  |
|l, :d   |f, :— |(s,)D, :— |f, :r, |d, :— |— :— ||F, :— |f, :r, |s, :s, |d  :ta,|
```

E♭.t.

```
|D  :— |l, :r  |d  :t,  |(l,)m :—  ||M :— |d :s |f   :m |r  :—  |D  :r  |m  :r  |d :— |— :— ||
|F, :— |f, :l, |l, :se, |(l,)m :t, ||D :— |d :d |d.t,:d |t, :—  |D  :—  |d  :t, |d :— |— :— ||
|D  :— |d  :f  |m  :r   |(d)s  :—  ||S :— |l :s |s   :s |s  :—  |S  :l  |s  :f  |m :— |— :— ||
|L, :— |f, :r, |m, :m,  |(l,)m :—  ||D :— |f :m |r   :d |s, :f, |M, :f, |s, :s, |d :— |— :— ||
```

### 381 *Ffyrdd rhagluniaeth.*

*mf* RHAGLUNIAETH fawr y nef,
Mor ryfedd yw
Esboniad helaeth hon
O arfaeth Duw!
*cres.* Mae 'n gwylied llwch y llawr,
Yn trefnu llu y nef,
Cyflawna 'r cwbl oll
O'i gynghor Ef.

*mf* Llywodraeth faith y byd
Sydd yn ei llaw;
Mae 'n tynu yma i lawr,
Yn codi draw:
*cres.* Trwy bob helyntoedd blin,
Terfysgoedd o bob rhyw,
Drychafu 'n gyson mae
Deyrnas ein Duw.

*mf* Ei th'wyllwch dudew sydd
Yn oleu gwir;
A thrwy bob d'ryswch daw
Y drefn yn glir;
*cres.* Hi ddaw â'i throion maith
Yn fuan oll i ben,
Bydd synu wrth olrhain rhai 'n
Tu draw i'r llen.

D. C.

### 382 *Iddo Ef.*

*pp* FEL Oen arweiniwyd Ef
I ddyoddef loes;
Gogwyddo wnaeth ei ben,
Ar bren y groes:
*mf* Gorphenodd yno 'r gwaith
O brynedigaeth dyn;
*f* O diolch! nef a llawr
Sy'n awr yn un!

*mf* Fe genir cyn bo hir
Yn glir ei glod;
Rhyfeddu 'r cariad fydd
Y dydd sy'n d'od:
*f* Datgenir 'Iddo Ef!'
Yn lân gan nefol lu:
Mynegant rinwedd gwaed
Y Ceidwad cu!

H. AB I.

### 383 *Adgyfodiad Crist.*

*p* 'ROL rhoddi 'n Harglwydd hael,
Yn wael ei wedd—
Rhyfeddod fwya' erioed,
Yn ngwaelod bedd!
*f* Ar foreu'r trydydd dydd
Yn rhydd yr aeth Efe;
Palmantodd lwybr gwych
I entrych ne'.

W. W.

Rhif 85. MASON. M. 6.4.6.4.6.6.6.4.

*Doh* G. M. 120. L. MASON, 1792—1872.

```
M:—:—|r :—:d  | d :—:l,|l, :—:— | S,:—:—|d :—:m   | r :—:—|—:—:
S,:—:—|f, :—:m,| l, :—:f,|f, :—:— | S,:—:—|s, :—:s, | s, :—:—|—:—:
D :—:—|t, :—:d | f :—:d |d :—:—  | M:—:—|d :—:d    | t, :—:—|—:—:
D :—:—|s, :—:l,| f, :—:f,|f, :—:— | D,:—:—|m, :—:d, | s, :—:—|—:—:

M:—:—|r :—:d  | d :—:l,|l, :—:— | S, :—:d |t,:—:r  | d :—:—|—:—:
S,:—:—|f, :—:m,| l, :—:f,|f, :—:— | M,:—:s,|s,:—:s,  | s, :—:—|—:—:
D :—:—|t, :—:d | f :—:d |d :—:—  | D :—:m |r :—:f   | m :—:—|—:—:
D :—:—|s, :—:l,| f, :—:f,|f, :—:— | S, :—:—|s,:—:s, | d, :—:—|—:—:

S :—:—|l :—:s  | s :—:m |s :—:—  | S :—:—|l :—:s   | s :—:m |r :—:—
D :—:—|d :—:d  | d :—:d |d :—:—  | D :—:—|d :—:d   | s, :—:s,|s,:—:—
M:—:—|f :—:m   | m :—:d |m :—:—  | M:—:—|f :—:m    | r :—:d |t,:—:—
D :—:—|d :—:d  | d :—:d |d :—:—  | D :—:—|f, :—:d  | t, :—:d |s,:—:—

M:—:—|r :—:d  | d :—:l,|l, :—:— | S, :—:d |t,:—:r  | d :—:—|—:—:
S,:—:—|f, :—:m,| l, :—:f,|f, :—:— | M,:—:s,|s,:—:s,  | s, :—:—|—:—:
D :—:—|t, :—:d | f :—:d |d :—:—  | D :—:m |r :—:f   | m :—:—|—:—:
D :—:—|s, :—:l,| f, :—:f,|f, :—:— | S, :—:—|s,:—:s, | d, :—:—|—:—:
```

## 384 *Na wyled teulu Duw.*

*mf* NA wyled teulu Duw
Ar ol y saint,
*cres.* Maent gyda'r Iesu'n fyw,
Mawr yw eu braint;
*f* Does yno neb yn glaf,
Mae yno'n haf o hyd,
*mp* Yn nghwmni'r addfwyn Oen,
O boen y byd.

*mf* Tu draw i'r afon ddu
Mae tŷ fy Nhad,
*cres.* 'Rol croesi at y làn
Mae'r Ganaan wlad;
*mf* Er garwed ydyw'r glyn,
Mae yn y dyffryn du
Oleuni dysglaer mawr,
Yn awr i ni.

*mf* Pan genir udgorn Duw,
Gan angel nef,
Y meirw oll ddeffroir,
*cres.* Gan nerth y llef!
*f* Ceir concwest ar y bedd,
Ofnadwy 'i wedd a'i rym
A bloeddio, Angeu! p'le
Mae'th golyn llym? AN.

## 385 *Daioni Duw.*

*mf* DRUGAROG Arglwydd da!
Drwy 'n gyrfa 'i gyd,
Yr Un wyt Ti 'n parhau,
Er beiau 'r byd!
*cres.* Dy ddoniau, ddydd i ddydd,
Ddont ini 'n rhydd a rhad;
*p* Mor dyner atom ni,
Wyt Ti, ein Tad!

*mf* Agori Di dy law,
A daw bob dydd,
Ryw newydd ddawn, gryfha,—
Berffeithia 'n ffydd:
*cres.* Y ddaear gân i gyd,
A hyfryd yw ei hiaith,—
Dy glodydd lon'd pob tant
O'i moliant maith.

*mf* Fydd mawl dy blant yn ol?
Anfeidrol fawr
Yw'n dyled ni bob un
I'n Iesu 'n awr!
*cres.* Dy Ysbryd, ynom dod,
I seinio 'th glod yn glir,
*f* Cawn uno cydgan gref
Y nef cyn hir. M.

## Rhif 86. ST. NICHOLAS. M. 6.4.6.4.6.6.6.4.

*Doh* F. M. 80. Alaw Germanaidd.

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| D :d :m | m :-.r :d | R :$l_1$:$t_1$ | d :-:- | D :d :m | m :-.r :r | M:s :fe | s :-:- |
| $S_1$:$s_1$:d | d :-.$t_1$:$l_1$ | $L_1$:$l_1$:$s_1$ | $s_1$:-:- | $S_1$:$s_1$:d | d :-.$t_1$:$t_1$ | M:r :d | $t_1$:-:- |
| M:m :s | s :-.f :m | F :r :r | m :-:- | M:m :s | s :-.s :s | S :t :l | s :-:- |
| D :d :d | $s_1$:-.$s_1$:$l_1$ | $F_1$:$f_1$:$s_1$ | d :-:- | D :d :d | $s_1$:-.$s_1$:$s_1$ | D :r :$r_1$ | $s_1$:-:- |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| M:m:m | m :-.r :r | R :r :f | f:-.m:m | S :s :d' | d':-.l :l | S :s :s | d:-:- |
| D :d:d | d :-.$t_1$:$t_1$ | $T_1$:$t_1$:r | r:-.d:d | D :$t_1$:d | d :-.d :d | $T_1$.r:d :$t_1$ | d:-:- |
| S :s:s | s :-.s :s | S :s :s | s:-.s:s | M:f :s | l :-.f :f | F :m :r | m:-:- |
| D :m:d | $s_1$:-.$s_1$:$s_1$ | $S_1$:$t_1$:$s_1$ | d:-.d:d | D :r :m | f :-.$f_1$:$f_1$ | $S_1$ :$s_1$:$s_1$ | d:-:- |

### 386 *Adgyfodiad Crist.*

*mf* DAETH Prynwr dynolryw,
Yn fyw o'i fedd ;
A dysglaer ddelw Duw,
Yn harddu 'i wedd.
*f* Dymchwelodd deyrnas gaeth,
Hen deyrn marwolaeth du,—
*cres.* Rhaid ydoedd rhoi rhyddhad
I'n Ceidwad cu.

*mf* Gwnaeth waith y cymod hedd,
'Mewn llwyredd llawn ;
Mae 'i feddrod gwag yn dweyd
Ei wneyd yn Iawn.
*f* Drwy 'r codi, rhoes y Tad
Fawrhad ar Galfari,
*cres.* A thorodd gwawr ar nos
Ein hachos ni.

*mf* Yn ngoleu 'r trydydd dydd
Cwyd ffydd ei phen,
Gwel Iesu 'n selio 'i hawl
I fawl nef wen ;
*cres.* A thrwy 'i ddyrchafiad Ef
Gwel hefyd nef i ni,—
Nef lawn o fywiol hedd
Ei wedd yw hi.

*mf* A thra bo'm yn y byd,
Ei hyfryd hedd,
Dry adfyd cario 'r groes
A'r loes yn wledd.
*p* Fe ŵyr yr addfwyn Oen
Am chwerwaf boen y byd,
*cres.* A'i gydymdeimlad llawn
Fwynhawn o hyd.

M.

### 387 *Marwolaeth Crist.*

*p* RHYFEDDA hyd a lled,
Fy enaid trist,
*cres.* Uchder a dyfnder maith
*dim.* Marwolaeth Crist ;
Pan gym'rodd agwedd gwas,
A phechod câs ei ryw,
Bu farw yn ddigŵyn
I'n dwyn at Dduw.

*mf* Fe gymerth Ef ein cnawd,
Ein Brawd a'n bri !
*cres.* Fe safai ar y bryn,
Yn erbyn llu,
*f* Gan sathru dan ein traed,
Trwy 'i briod waed ei hun
Elynion ar fyr dro,
Heb ado'r un.

*mf* 'Rol gorphen ar ei waith,
Fe aeth i'r nef,
Lle mae Ef yr awr hon
Yn gwrando 'n llef,
*cres.* Yn eiriol drosom draw ;
Ar fyr daw i'n rhyddhau,
*f* Mae 'r amser, ddydd a nos,
Yn agoshau.

W. W.

Rhif 87. LIVERPOOL. M. 6.4.6.4.6.6.6.4.

*Doh* C. M. 96. Parch J. ROBERTS (IEUAN GWYLLT), 1822–1877.

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| L :— | m :s | l :l | s :— | L :— | d' :t. | l :— | — :— | D' :— | d' :s |
| M :— | d :r | f :f | m :— | M :— | m :r | d :— | — :— | D :— | d :m |
| D' :— | l :t | d' :d' | d' :— | L :— | l :se | l :— | — :— | L :— | s :d' |
| L :— | l :s | f :f | d :— | D :— | l, :m | l, :— | — :— | F :— | m :d |

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| l :t | d' :— | R' :— | t :l | s :— | — :— | M' :— | d' :m' | r' :d' | t :— |
| f :f | m :— | R :— | r :d | t, :— | — :— | S :— | s :s | s :s | s :— |
| d' :r' | s :— | S :— | s :fe | s :— | — :— | D' :— | m' :d' | f' :m' | r' :— |
| f :r | d :— | T, :— | r :r | s, :— | — :— | D' :— | d' :d' | t :d' | s :— |

| | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| R' :— | d' :l | s :fe | m :— | T :— | l :d' | d' :l | t :— | L :— | l :se | l :— | — :— |
| S :— | m :m | m :re | m :— | M :— | m :m | m :—.re | m :— | M :— | f :m | d :— | — :— |
| T :— | d' :d' | t :l | s :— | Se :— | l :l | l :l | se :— | D' :— | t :t | l :— | — :— |
| S :— | l :l, | t, :t, | m :— | M :— | d :l, | l, :f | m :— | D :— | r :m | l, :— | — :— |

388 *Adgyfodiad y corph.*

*mf* NIS gallodd angeu du
Ddal Iesu 'n gaeth
Ddim hwy na 'r trydydd dydd—
Yn rhydd y daeth!
*cres.* Ni ddelir un o'i blant,
*dim.* Er myn'd i bant y bedd;
*cres.* Fe 'u gwelir ger ei fron
Yn llon eu gwedd!

*p* Er huno 'n llwch y bedd—
Bro farwaidd, fud,
*cres.* Daw Iesu i'm codi 'n llon
Ger bron ryw bryd;
*mf* A'm llygaid i a'i gwêl,
Mae 'r gair dan sêl yn wir,
*cres.* Ar newydd ddedwydd ddydd,
Boreuddydd clir!

*mp* O Dduw! dod imi ffydd,
Bob dydd o'r daith,
Wel'd Seion yn nesau
Dros fryniau maith:
*mf* Yn ben mae yno 'n byw
Fy Iesu 'n Dduw a dyn,
*mp* Fu yma 'n wael ei wedd
*rall.* Mewn bedd ei hun! W. E.

389 *Marwolaeth y Saint.*

*mf* PA beth yw angeu i'r saint?
Rhagorfraint yw;
*cres.* Cant godi 'fyny 'n fwyn,
A'u dwyn at Dduw:
*f* Yn Iesu, huno wnant,
Ac ânt i wynfyd cu,
I blith nefolaidd ryw,
Sydd lonwiw lu.

*mf* Nac wylwn mwy ar ol
Y duwiol rai—
Maent gyda Duw a'r Oen,
Heb boen, na bai:
*cres.* Uwch law gofidiau 'r byd,
Y maent i gyd ar gael;
*f* Mwynhânt dragwyddol wledd
Mewn hedd yn hael.

*mf* O Gristion! er dy bla,
Nac ofna di
Rhag angeu llym—pan ddêl,
Gwel Galfari!
*cres.* Dy Iesu, ar y groes,
A droes ei niwed draw;
I'th ddwyn drwy 'r glyn yn glan,
E'n ddiau ddaw! R. E.

390 *Hyder y Cristion.*

*mf* NI phery anial maith
Fy nhaith yn hir;
Caf fyned yn y man
I Ganaan dir:
*cres.* Fe geidw Iesu ei saint,
Er cymaint llid eu câs;
Gorchfyga 'r gelyn llym
*f* Trwy rym ei ras! AN.

## Rhif 88. PENYGROES. M. 6.4.6.4.6.6.6.4.

*Doh* F. M. 80. H. J. GAUNTLETT, Mus. Doc., 1806—1876.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| M :d :$t_1$ | $t_1$ :-.$l_1$:$l_1$ | L :s :f | m :— :— | M :d :$t_1$ |
| M :d :$t_1$ | $se_1$ :-.$l_1$:$l_1$ | M :m :r | $t_1$ :— :— | M :d :$t_1$ |
| M :d :$t_1$ | r :-.d :d | $D^1$ :$d^1$ :l | se :— :— | M :d :$t_1$ |
| M :d :$t_1$ | $m_1$ :-.$l_1$:$l_1$ | $L_1$ :d :r | m :— :— | M :d :$t_1$ |

C.t.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| $t_1$ :-.$l_1$:$l_1$ | S :m :r | d :— :— | $^m$L :l :t | $d^1$ :-.t :l |
| $se_1$ :-.$l_1$:$l_1$ | D :d :$t_1$ | d :— :— | $^{ta_1}$Ma:m :m | m :-.m :m |
| r :-.d :d | M :s :f | m :— :— | $^s$ $D^1$ :$d^1$ :se | l :-.t :$d^1$ |
| $m_1$ :-.$l_1$:$l_1$ | $S_1$ :$s_1$ :$s_1$ | d :— :— | $^d$ F :m :m | l :-.$l_1$:$l_1$ |

f.F.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| $D^1$ :$d^1$ :$r^1$ | $m^1$ :-.$r^1$:$^{d^1}$s | $D^1$ :s :f | m :-.r :d | M :d :$t_1$ | $l_1$ :—:— |
| Fe :s :s | s :-.f :$^m$ $t_1$ | D :d :r | d :-.$t_1$:$l_1$ | $Se_1$:$l_1$ :$se_1$ | $l_1$ :—:— |
| $Re^1$:$m^1$ :t | $d^1$ :-.$d^1$:$^{d^1}$s | S :s :s | s :-.s :m | M :m :m | d :—:— |
| L :s :s | $d^1$ :-.d :$^d$ $s_1$ | M :m :$t_1$ | d :-.$s_1$:$l_1$ | $M_1$ :$m_1$ :$m_1$ | $l_1$ :—:— |

391 *Duw yn noddfa a nerth.*

*mp* YN ngorthrymderau'r daith,
A'i hanrhaith hi,
*cres.* Mae Duw yn nawdd o werth,
*mf* A nerth i ni.
*p* Mewn cyfyngderau dwys,
Dan bwys trallodion byd,
*cres.* Ei gymorth sydd i'w gael
*rall.* Yn hael o hyd.

*mp* Pan ddel temtasiwn gref,
*cres.* Cawn Ef yn blaid;
I gwrdd y gelyn llym,
*mf* Cawn rym wrth raid.
*cres.* O ŵydd euogrwydd du,
Ymguddfa gu a gawn,
Ac ynddi ger ein bron
*rall.* Ddigonol Iawn.

*mf* Mae Ef yn nyfnder nos,
Yn dangos dydd;
I'r glyn fe ddaw o'i fodd
I'n rhoddi 'n rhydd.
*cres.* Yn nydd y farn a ddaw,
Ni chyffry braw ei blant—
*f* Cant seinio 'i foliant Ef,
*rall.* Ar nefol dant. ALAFON.

392 *Yr Iawn.*

*p* AF at orseddfainc nef,
Rhof lef i'r lan;
*cres.* Mae arni gadarn Iôr,
Yn gwrando'r gwan:
*mp* Er gweled cleddyf Ner
Yn fflachio llymder llawn,
*mf* Mae rhyngof mwy a'i fin
*rall.* Wir rin yr Iawn.

*p* Dwyn ar fy enaid wae,
Mae 'meiau mawr;
Ni wel fy llygaid llaith
Ddim gobaith gwawr;
*cres.* Ond haul ein gobaith ni,
Ar Galfari, a gawn
Yn chwalu 'r ddunos flin,
*rall.* Trwy rin yr Iawn.

*p* Y cwpan chwerw iawn,
Oedd lawn o lid,
A yfodd Iesu pur
Dan gur i gyd.
*cres.* I ni daeth hwn yn ol
A'i lon'd o ddwyfol ddawn—
Y cwpan droes yn win
*rall.* Trwy rin yr Iawn. LLIFON.

 MYNYDD SEION. M. 6.5.6.5.6.6.6.5.

*Doh* E♭. M. 56. J. H. ROBERTS, Mus. Bac., 1888.

:M | m :-.m :f .m | m :r .M:f .s | f :m || S | s :-.s :s .l
:D | d :-.d :r .d | d :$t_1$.D :d .r | d :d || $T_1$ | r :-.$t_1$ :r .r
:S | s :-.s :s .s | s :-.S :f .r | s :s || S | s :-.s :s .fe
:D | d :-.d :$t_1$.d | $s_1$ :-.$S_1$:$l_1$.$t_1$ | d :d || $S_1$ | $t_1$ :-.$s_1$ :$t_1$.r

f. A♭.

t :-.T:d'.t | t.,l :s || S | s :-.s :s .s | s :— :$^{s}$R | f :-.f :f .f
r :-.R:r .r | d :$t_1$ || S | f :-.m :re.m | m :r :$^{m}T_1$ | d :-.d :d .d
s :-.S:l .s | fe :s || S | r' :-.d':t .d' | d' :t :$^{d'}$S | l :-.l :f .l
s :-.S:fe.s | r :$s_1$ || $S_1$ | s :-.s :s .s | s :— :$^{d}S_1$ | $f_1$ :-.$f_1$:$l_1$.$f_1$

E♭.t.

f :m || $^{s}$D' | t :-.d':r'.f | m .f :s .L:t .d' | m :— :r | d :— ||
d :— || $^{s_1}$D | r :-.m :f .r | d :-.D:f .m | d :— :$t_1$ | d :— ||
l :s || $^{r}$S | s :-.s :s .l,t | d'.t,l:s .F:s .s | s :— :f | m :— ||
d :— || $^{t_1}$M | r :-.d :$t_1$.$s_1$ | d .r :m .F:r .d | s :— :$s_1$ | d :— ||

393 *Mynydd Seion.*

*mf* MAE 'r Oen, a'i dyrfa gu,
Ar Fynydd Seion;
A'u mawl fel dirif lu
O delynorion,
*cres.* Yn seinio 'i foliant Ef,
Mewn grym fel taran gref;
*f* Ond eto un yw llef
Y gwaredigion.

*mf* Mae'r ddedwydd dyrfa lân
Mewn pob digonedd,
*cres.* Ac ar eu nefol gân,
Ni chlywir diwedd.
*p* Dringasant, er yn wan,
*cres.* O'r cystudd mawr i'r lan,
*f* A safant yn eu rhan
Mewn byth orfoledd.

*mf* Gwyryfon sanctaidd yw
Y dyrfa hynod,
Dilynwyr Iesu gwiw,
Trwy glod ac anghlod.
*cres.* Gadawsant lygredd llawr,
Mae 'u gwisg mor lân a'r wawr,—
*f* Blaenffrwyth cynauaf mâwr
Sydd eto i ddyfod.

CYNDDELW.

394 *Y Swper Mawr.*

*mf* GWNAETH Iesu Swper mawr,
Ar Fynydd Seion;
A gwahodd iddo 'n awr,
Y mae ei weision.
*cres.* Mae yn yr arlwy fras,
Ddanteithion goreu gras,—
Yn winoedd per eu blas
A phasgedigion.

*mf* Mae 'r udgorn arian mawr
Yn galw 'n swynol,
Genhedloedd daear lawr
I'r wledd Frenhinol!
*cres.* Mwynha torfeydd diri'
Ei seigiau graslawn hi,
Gan ddyrchu mawl a bri
Y cariad Dwyfol.

*f* Mae 'r Brenin wrth ei fodd
Yn mhlith y cwmni,
A phara i wahodd
Mae 'r gweision iddi;
*cres.* Cynydda 'r cwmni mad,
A chwydda eu mwynhad;—
Mae gwledd trugaredd rad
Yn nefoedd ini.

S.

## Rhif 90. GLAN R' IORDDONEN. M. 6.5.6.5.6.6.6.5.

*Doh* **F.** M. 88. J. H. ROBERTS, Mus. Bac., 1880.

```
|(s)M  :—|m :r  |d  :—|t,  :— |l, :—|—:T,  |d  :r |m :l  |s  :—|fe :—
|(d)L, :—|l, :l,|l, :—|se, :— |l, :—|—:Se, |l, :s,|s, :d |t, :—|— :l,
|(ma)D :—|m :f  |m  :—|m   :r |d  :—|—:M   |m  :r |d :m  |m  :—|re :—
|(d)L, :—|d :r  |m  :—|m,  :— |l, :—|—:M,  |l, :t,|d :l, |t, :—|— :—

|m  :—|—:— ||M :—|m  :l  |s  :—|d  :— |r  :—|—:M   |m  :—|d  :—
|s, :—|—:— ||S,:—|d  :d  |d  :—|l, :— |t, :—|—:T,  |d  :t,|l, :—
|m  :—|—:— ||D :—|m  :f  |s  :—|m  :— |s  :—|—:M   |m  :—|m  :—
|m, :—|—:— ||D :—|l, :f, |m, :—|l, :— |s, :—|—:Se, |l, :—|l, :s,

                          D.t.m.l.
|r  :—|—:—    |m   :—|—:— ||(m)S  :—|m :f |m :-.r |r  :M |f  :l |r' :d'
|l, :—|t, :l, |se, :—|—:— ||(l,)D :—|d :d |d :-.t,|t, :D |d  :d |f  :s.f
|f  :—|—:—    |t,  :—|—:— ||(de)M :—|s :l |s :-.s |s  :S |d' :l |l  :s.l
|f, :—|—:—    |m,  :—|—:— ||(l,)D :—|d :d |d :-.s,|s, :D |l  :f |r  :m.f

|d' :—|t ||S |m' :r' |r' :d' |d' :L |s :d' |m :—|r  :— |d :—|—:— ||
|m  :—|r ||S |s  :f  |f  :m  |f  :D |d :m  |d :—|t, :— |d :—|—:— ||
|s  :—|— ||T |d' :t  |t  :d' |l  :F |s :l  |s :—|—:f   |m :—|—:— ||
|s  :—|— ||S |d' :s  |s  :l  |f  :F |m :d  |s :—|s, :— |d :—|—:— ||
```

### 395 *Glan yr Iorddonen.*

*p* AR lan 'r Iorddonen ddofn
 'Rwy'n oedi'n nychlyd,
Mewn blys myn'd trwy, ac ofn
 Ei stormydd enbyd:
*cres.* O! na bai modd i mi
Ysgoi ei hymchwydd hi,
*f* A hedfan uwch ei lli'
 I'r Ganaan hyfryd.

*mp* Wrth gofio grym ei dw'r
 A'i thonog genlli',
A'r mynych rymus wr
 A suddodd ynddi,
*cres.* Mae braw ar f' enaid gwan
Mai boddi fydd fy rhan,
Cyn cyrhaedd tawel lan
 Bro y goleuni.

*mf* Ond pan y gwelwyf draw
 Ar fynydd Seion,
Yn iach, heb boen na braw,
 Fy hen gyfeillion,
*f* Paham yr ofnaf mwy?
Y Duw a'u daliodd hwy
A'm dyga inau drwy
 Ei dyfroedd dyfnion.

I. G. GEIRIONYDD.

### 396 *Sylwedd y cysgodau.*

*mp* TRWY y cysgodau cudd,
 'Roedd rhai yn canfod
O bell, â golwg ffydd,
 Oen Duw, yn dyfod:
*cres.* Y Sylwedd mawr ei ddawn
I dalu perffaith Iawn,
A rhoi gollyngdod llawn,
 Drwy waed y cymod.

*mf* A syllu draw o bell
 A wnaent yn fynych,
Gan waeddu—'Gwlad sydd well
 Yr ym yn chwenych:'
*cres.* Dieithriaid am eu hoes,
Cyfarchent bob rhyw loes,
A'u cred yn Oen y groes—
*f* Ef oedd eu gwrthddrych.

S. R.

# MOAB. M. 6.5.6.5.6.6.6.5.

*Doh* **G**. M. 76. Parch J. Roberts (Ieuan Gwyllt), 1822—1877.

:L, | l, :d | t, :l, | s, :— | — :L, | d :d | t, :— | t, :— | — || D | d :l, | t, :d
:M, | m, :l, | s, :f, | m, :— | — :L, | l, :l, | l, :— | se, :— | — || L, | l, :l, | se, :l,
:D | d :m | r :d | d :— | — :D | m :m | f :— | m :— | — || M | m :m | m :m
:L, | l, :l, | m, :f, | d, :— | — :F, | m, :m, | m, :re, | m, :— | — || L, | l, :d | t, :l,

| r :— | — :T, | d :m | r :— | m :— | — || S | m :f | r :t, | d :— | — :R
| l, :— | — :Se, | l, :t, | d :t,.l, | t, :— | — || D | d :d | t, :s, | s, :— | — :S,
| f :— | — :M | m :m | l :— | se :— | — || M | s :l | s :f | m :— | — :S
| r, :— | — :M, | l, :s, | f, :— | m, :— | — || D | d :f, | s, :s, | d :— | — :T,

| m :s | s :fe | m :— | — || M | l :l | s :m | s :— | — :M | d :r | t, :— | l, :— | — ||
| d :t, | t, :l, | se :— | — || T, | m :d | s, :s, | t, :— | — :L, | m, :l, | l, :se, | l, :— | — ||
| s :m | m :re | m :— | — || Se | l :m | r :m | r :— | — :D | l, :f | m :r | d :— | — ||
| d :m | t, :t, | m :— | — || R | d :l, | t, :d | s, :— | — :L, | l, :r, | m, :— | l, :— | — ||

## 397 *Ymbil am wenau Duw.*

*p* O ARGLWYDD! dyro 'n awr,
Oleuni 'th Ysbryd,
*cres.* A thored arnom wawr,
Adfywiad hyfryd;
*mp* Dy Seion, athrist yw,
A'i gwedd yn wan, a gwyw,
*cres.* Nid oes ond gwen ei Duw,
Ddyddana'i bywyd.

*p* Fel gwyliwr ar y mur,
Yn ocheneidio,
Am wel'd y wawrddydd bur
Yn ymddysgleirio,
*mf* Y mae dy Seion brudd,
A'i dagrau ar ei grudd,
*cres.* Yn dysgwyl toriad dydd,
A bron diffygio.

*mf* O! paid a'i chadw'n hir,
Heb wen dy wyneb,
Rho iddi oleu clir,
Dy bresenoldeb;—
*cres.* Mwynhad o hyfryd wledd,
Cysuron pur dy wedd,
Yn sicrwydd llawn o'th hedd
*f* I dragwyddoldeb. M.

## 398 *Duw yn ymguddio.*

*p* PAHAM y sefi draw,
O Dduw! 'r achubydd?
*cres.* Paham mae'th rymus law
Mor hir yn ymgudd?
*f* Mae 'r gelyn yn cryfhau,
Pechodau 'n amlhau,
A'th bobl yn llesghau
*p* Mewn ofnau beunydd.

*mp* Pa bryd y daw y dydd,
Y cawn dy weled?
*cres.* Pa bryd cawn fyn'd yn rhydd
O'r blin gaethiwed?
*mf* O! tyred, Arglwydd cu!
Fel yn y dyddiau fu,
*cres.* Rho brawf dy fod o'n tu,
Ac yn ein gwared.

*mf* Pan y dychwelaist Ti
Gaethiwed Seion,
*cres.* Llawenydd redai 'n lli
I'w chlwyfus galon:
*f* Rho ninau eto 'n rhydd,
Gwna 'n llawen deulu 'r ffydd,
A'th fawl yn helaeth fydd,
Waredydd tirion! Alafon.

## Rhif 92. BRYNAMAN. M. 6.5.6.5.6.6.6.5.

Doh A. M. 76. D. W. Lewis, F.T.S.C., Brynaman.

```
:L,.t, |d    :r   |m    :d .t,  |l,  :—  |— :D    |t,  :l,  |r    :d   |t,  :—  |—  ||
:M,    |m,   :l,  |se,  :l,.se, |l,  :—  |— :L,   |se, :l,  |l,   :—   |se, :—  |—  ||
:D .t, |l,   :l,  |t,   :m .r   |d   :—  |— :M    |m   :m   |m    :—   |m   :—  |—  ||
:L,.se,|l,.s,:f,  |m,   :m,     |l,  :—  |— :L,   |t,  :d   |t,   :l,  |m,  :—  |—  ||

                                          E.t.                          f.A.
:L,.t, |d    :r   |m    :d .t,  |l,  :—  |— :D.r  |(m)l  :r' |d'   :t   |(l)m  :— |—  ||
:M,    |m,   :l,  |se,  :l,.se, |l,  :—  |— :L,   |(t,)m :m  |m    :r   |(d)s, :— |—  ||
:D .t, |l,   :l,  |t,   :m .r   |d   :—  |— :M    |(s)d' :t  |l    :se  |(l)m  :— |—  ||
:L,.se,|l,.s,:f,  |m,   :m,     |l,  :—  |— :L,   |(m,)l,:t, |d .r :m   |(l,)m,:— |—  ||

:D .t, |l,   :s,  |l,   :t,     |d   :—  |— :M.r  |d   :t,  |d    :r   |m   :—  |—  ||
:S,    |f,   :m,  |f,   :f,     |s,  :—  |— :F,   |m,  :se, |l,   :l,  |t,  :—  |—  ||
:S,    |d    :d   |d    :f      |m   :—  |— :T,   |d   :m   |m    :l   |se  :—  |—  ||
:M,    |f,   :d,  |f,.m,:r,     |d,  :—  |— :S,   |l,  :m,  |l,.s,:f,  |m,  :—  |—  ||

:M     |l    :l   |s    :f      |m   :—  |— :R    |d   :r   |d    :t,  |l,  :—  |—  ||
:D     |d    :d   |d    :t,     |d   :—  |— :T,   |l,  :l,  |l,   :se, |l,  :—  |—  ||
:S     |f    :f   |s    :s      |s   :—  |— :F    |m   :f   |m    :r   |d   :—  |—  ||
:D     |f,   :f,  |m,   :s,     |d   :—  |— :S,   |l,  :r,  |m,   :—   |l,  :—  |—  ||
```

**399** *Hiraeth am y Nef.*

*mf* O! NA chawn fyned fry,  
  I'r Ganaan hyfryd,  
I blith y dyrfa sy  
  Mor fawr eu gwynfyd!  
*cres.* Molianant oll ar dân  
Mewn rhyw ardderchog gân,  
Byth, byth yr Iesu glân  
  Yn nhir y bywyd!

*f* Caf yno balmwydd gwyrdd  
  Y fuddugoliaeth,  
Yn mhlith cyfeillion fyrdd  
  Heb ofn marwolaeth!  
*cres.* Caf orsedd ddydd a ddaw,  
Teyrnwialen yn fy llaw,  
O gyrhaedd briw a braw,  
  A phob rhyw alaeth!

An.

**400** *Seion yn yr Anial.*

*mp* MAE Seion ar ei thaith,  
  Trwy faith anialwch,  
Yn griddfan lawer pryd,  
  Mewn byd o dristwch;  
*mf* O'i blaen mae cwmwl clir,  
  A'r golofn danllyd bur,  
*cres.* I'w dwyn o'r anial dir  
  I'r gwir ddedwyddwch.

*mf* Mae 'r addewidion rhad,  
  Mewn gwlad o gystudd,  
I gynal Seion wan  
  O dan bob tywydd;  
Tra byddo ar ei thaith,  
Yn myn'd trwy 'r anial maith,  
Cyferfydd lawer gwaith  
  A blin ystormydd.

*mf* Os yw'r Iorddonen gerth  
  O nerth aruthrol,  
*cres.* Gwahenir hon rhyw ddydd,  
  Hyn fydd ryfeddol:  
*f* Ceir ffordd yn rhydd a rhad,  
I lwyr feddianu 'r wlad,  
Er gwaethaf llid a brad,  
  Y llu gelynol.

R. ab G. Ddu.

# MOSCOW. M. 6.6.4.6.6.6.4.

*Doh* G. M. 76. F. GIARDINI, 1716–1796.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| S :m :d | r :— :t, | d :— :— | D :r :m | f :— :m |
| D :t, :d | l, :— :s, | s, :— :— | S, :s, :s, | l, :— :s, |
| M :s :m | f :— :r | m :— :— | M :r :d | d :— :d |
| D, :m, :l, | f, :— :s, | d, :— :— | D :t, :d | f, :— :d, |

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| r :— :— | S :m :d | s, :— :— | R :m :f | m :-.r :d |
| s, :— :— | S, :s, :s, | r, :— :— | T, :d :r | d :-.s,:s, |
| t, :— :— | T, :d :d | t, :— :— | S :s :s | s :-.f :m |
| s, :— :— | M, :d, :m, | s, :— :— | S, :d :t, | d :-.d :d |

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| R :m :f | m :-.r \| d | D :d :d | s :-.f :m | R :d :t, | d :— :— |
| T, :d :d | d :-.t, \| l, | D :t, :l, | d :-.t,:d | L, :s, :s, | s, :— :— |
| S :s :l | s :-.f \| m | M :m :f | s :-.r :m | F :m :r | m :— :— |
| S, :d :f, | d :-.d \| d | L, :s, :f, | m, :-.r,:d, | F, :s, :s, | d, :— :— |

## 401 *Dy lwybrau a ddiferant frasder.*

*mf* DY lwybrau, Arglwydd mawr!
Ddiferant frasder lawr,
Bob dydd a nos;
*cres.* Mae 'r ddaear fel yr ardd,
Pob maes a dol a dardd,
*f* A phob glaswelltyn chwardd,
*rall.* Dan goron dlos.

*mf* Mae swn yr ŷd a'r gwair,
Yn chwareu 'u clychau aur,
Yn foliant llawn:
*cres.* A'r meusydd yn ddidaw,
Dan rin y gwlith a'r gwlaw,
*f* A roddant fawl i'r llaw
Sy'n rhoi pob dawn.

*f* Yn Nuw, ymlawenhawn,
Mae'r ddaear fawr yn llawn
O ddoniau 'r nef!
*cres.* Ei ras, fel afon bur,
Ddylifa dros y tir,
Yn ffrydiau gloyw, clir,
*rall.* O'i gariad Ef. S.

## 402 *Hossanna mwy.*

*mf* O! FAINT ei gariad Ef!—
Nis gall holl ddoniau 'r nef
Ei dreiddio trwy:
Mae hyn i mi 'n beth syn,
I riddfan pen y bryn,
*cres.* Droi 'n gân i mi fel hyn—
*f* Hosanna mwy!

*mf* Pan ddelo 'r plant ynghyd,
O bedwar cwr y byd,
I'w mangre hwy;
Gobeithiaf yn ddilŷth,
Gael telyn yn eu plith,
*cres.* I ganu, heb gwyno byth—
*f* Hosanna mwy!

*mf* Na ddigied neb o'r plant,
Am i mi ganu ar dant
O'u telyn hwy:
Myfyrio 'r tywydd du
Fu ar ein Iesu cu,
*cres.* A droes fy nghân mor hy'—
*f* Hosanna mwy! ALUN.

## 403 *Calfaria mwy.*

*f* AGORWYD pyrth y nef
Trwy rin ei aberth Ef—
Calfaria mwy!
Trysorau mawrion drud
Sy'n d'od o hyd, o hyd,
Yn rhad i euog fyd—
Calfaria mwy!

*f* Y gair 'Gorphenwyd' yw
Sail ymffrost eglwys Dduw—
Calfaria mwy!
Ei air diweddaf Ef
Yw penaf dant y nef,
A chanant âg un llef—
Calfaria mwy! AN.

Rhit 94. MALVERN. M. 6.6.4.6.6.6.4.

*Doh* B♭. M. 80. Alaw Eglwysig.

```
| S, :— |m, :s, | d  :r  |d  :— | D :— |l, :d  | r     :m     |r  :— | D  :— |t, :l,  |
| M, :— |d, :d, | m, :f, |m, :— | S,:— |f, :s, | f,    :m,.f, |s, :— | S, :— |s, :fe, |
| D  :— |s, :d  | d  :t, |d  :— | D :— |d  :d  | l,.t, :d     |t, :— | M  :— |r  :d   |
| D, :— |d, :m, | l, :s, |d, :— | D,:— |f, :m, | r,    :d,    |s, :— | D, :— |r, :r,  |

| s, :— || M  :— | m  :r  |l,? 
```

```
| s, :— || M  :— | m  :r  |d  :t,  | l, :— |R  :— | r  :d  |t, :l,    |
| s, :— || S, :— | s, :f, |m, :r,  | d, :— |F, :— | l, :s, |s, :s,.fe, |
| t, :— || D  :— | d  :t, |l, :se, | l, :— |L, :— | l, :d  |r  :d     |
| s, :— || D, :— | m, :s, |l, :m,  | f, :— |R, :— | f, :m, |s, :r,    |
```

```
| s, :— |S, :— | l, :t, |d  :r  | m  :— |F  :— | m  :r  |d  :— ||
| s, :— |M, :— | f, :s, |m, :s, | s, :— |L, :— | s, :f, |m, :— ||
| t, :— |D  :— | d  :m  |m  :t, | d  :— |D  :— | d  :t, |d  :— ||
| m, :— |D, :— | f, :m, |l, :s, | d  :— |F, :— | s, :s, |d, :— ||
```

**404** *Deisyf cawodydd bywiol.*

*mf* O! TYRED, Arglwydd mawr,
Dyhidla o'r nef i lawr
Gawodydd pur;
Fel byddo i'r egin grawn,
Foreuddydd a phrydnawn
*cres.* I darddu'n beraidd iawn
O'r anial dir.

*mf* Arosaf drwy fy oes,
Byth bellach dan dy groes,
I'th wir fwynhau;
*f* Mi wn mai'r taliad hyn
Wnaed ar Galfaria fryn,
*cres.* A'm càna'i oll yn wyn
Oddiwrth fy mai.

*mf* Yn nyfnder dwr a thân
Calfaria fydd fy nghân,
Calfaria mwy;
*f* Y bryn ordeiniodd Duw
Yn nhragwyddoldeb yw,
*cres.* I godi'r marw'n fyw,
*p rall.* Trwy farwol glwy'.

W. W.

**405** *Grym duwioldeb.*

*mf* DUWIOLDEB yn ei grym
Sydd werthfawrocach im'
Nag aur Peru;
Hi geidw'm henaid gwan
Yn ddiogel yn mhob man;
*cres.* O'r diwedd dwg fi i'r lan
*f* I gôl fy Nuw.

J. H. D.

**406** *Y gân newydd.*

*mf* AR aur delynau'r nef
Bydd seinio uchel lef,
Heb ball na phoen;
*f* Yr anthem felus, faith,
Fydd am achubol daith
*cres.* A phur rinweddol waith
Y nefol Oen.

*mf* I'r nefol byrth ni ddaw
Na phechod, poen, na braw,
I roddi clwy';
*f* Pwy na hiraethai'n wir
Am rodio'r santaidd dir,
*cres.* A chanu'r anthem glir,
Heb dewi mwy?

T. J.

## 407

*Teilwng yw'r Oen.*

mf GYDUNED nef a llawr
I foli 'n Harglwydd mawr,
Mewn hyfryd hoen;
f Clodforwn tra fo chwyth,
Ei ras a'i hedd dilyth,
cres. Ac uchel ganwn byth—
ff 'Teilwng yw 'r Oen!'

mf Tra dyrcha'r saint eu cân,
O gylch yr orsedd lân,
Uwch braw a phoen,
f O! boed i ninau 'n awr,
Drigolion daear lawr,
cres. Ddyrchafu ei enw mawr—
ff 'Teilwng yw 'r Oen!'

mf Er goddef cur a loes,
Tra yma 'n cario 'r groes,
Mewn byd o boen,
f Rhown deyrnged hyd y nef,
O foliant iddo Ef,
cres. Dadseiniwn âg un llef—
ff 'Teilwng yw 'r Oen!'

I. C.

## 408

*Calfaria mwy.*

mf MEWN stormydd o bob rhyw
Mi ganaf tra bwyf byw,
Calfaria mwy!
mp Lle bu ein Ceidwad cu
Yn nghanol t'wyllwch du
Yn dyoddef drosom ni—
cres. Calfaria mwy!

f Fry, gyda'r seintiau glân,
Caf finau seinio cân
Calfaria mwy!
Caf delyn aur y nef,
I chwareu 'r anthem gref,
cres. 'Gogoniant iddo Ef!'—
ff Calfaria mwy!

mf Yn yr Iorddonen ddofn
Mi ganaf yn ddi-ofn
Calfaria mwy!
f Er ei hystormydd cryf
A'i dirfawr donog lif,
cres. Mi ganaf ynddi 'n hyf
ff Calfaria mwy!

f Ger bron yr orseddfainc
Caf daro 'r felus gainc,
Calfaria mwy!
'Rol llosgo'r ddaear faith,
'R un eto fydd fy iaith,
cres. I'r Oen, a'i werthfawr waith—
ff Calfaria mwy!

AN.

## 409

*Ffordd rydd.*

mp O'R diwedd daeth yr awr—
Yn nhragwyddoldeb mawr
Arfaethwyd Ef;
p Bu farw Brenin nen
O gariad ar y pren;
cres. Agorwyd led y pen
Holl byrth y nef!

mf Wel, bellach awn yn mlaen,
Nac ofnwn ddwfr na thân;
Ni biau 'r dydd:
cres. Mae 'n Brenin cadarn, cry',
Yn mlaenaf un o'r llu,
Yn tori 'rhwystrau sy—
f Mae 'r ffordd yn rhydd!

cres. Mae heddyw, yn y nef,
Fyrddiynau gydag Ef,
Yn canu ei glod:
ff Dewch! dringwn tua 'r lan!
Cawn feddu yn y man
Yr ardal ddaeth i'n rhan—
Hyfryda' erioed!

W. W.

## 410

*Gwaed y Groes yr unig Feddyginiaeth.*

mf IACHAWDWR dynolryw!
Tydi yn unig yw
Fy Mugail da:
cres. Mae angeu 'r groes yn llawn
O bob rhinweddol ddawn,
A ffrwythau melus iawn:—
f 'Rhai'n a'm iachâ.

mf Mae torf aneirif fawr
Yn ddysglaer fel y wawr,
'Nawr yn y nef,
cres. Trwy ganol gwawd a llid,
A gwrth'nebiadau 'r byd,
Ac angeu glâs ynghyd,
f A'i carodd Ef.

mf Ni thâl pleserau 'r byd,
Na phob teganau 'nghyd,
Ddim i'm boddhau:
cres. Y gwrthddrych mwya' erioed
O gariad ac o glod,
Sydd uwch neu is y rhod,
f Wyf yn fwynhau!

W. W.

## Rhif 95. LLANBEBLIG. M. 6.6.4.6.6.6.4.

*Doh* B M. 92. Alaw Gymreig.

```
L, :—  |l, :t,  |d  :—  |t,  :—  |l, :—  |—   :—  |T,  :—  |d  :r
M, :—  |m, :f,  |m, :—  |r,  :—  |d, :—  |—   :—  |M,  :—  |m, :s,
D  :—  |l, :l,  |l, :—  |se, :—  |l, :—  |—   :—  |Se, :—  |l, :t,
L2 :—  |d, :r,  |m, :—  |m,  :—  |l2 :—  |—   :—  |M,  :—  |l, :s,

m  :—  |r  :—  |m   :—  |M  :r   |d  :—  |t,  :—  |l, :—  |—  ||M
s, :—  |l, :—  |se, :—  |L, :f,  |m, :—  |—   :r, |d, :—  |—  ||S,
d  :—  |l, :—  |t,  :—  |L, :—   |l, :—  |se, :—  |l, :—  |—  ||S,
d, :—  |f, :—  |m,  :—  |D, :r,  |m, :—  |m,  :—  |l, :—  |—  ||D,

r  :d       |t, :d .r  |m   :—  |—  :M   |m  :r    |d  :t,   |l, :—  ||S,  :—
s, :l,      |t, :l,    |se, :—  |—  :L,  |l, :se,  |l, :se,  |l, :—  ||M,  :—
t, :r       |r  :l,    |t,  :—  |—  :D   |m  :m    |m  :r    |d  :—  ||D   :—
s, :s,.fe,  |s, :f,    |m,  :—  |—  :L,  |d  :t,   |l, :m,   |f, :—  ||D,  :—

l, :t,  |d  :r   |m  :—  |—  :R   |d  :—  |t,  :—  |l, :—  |—  :—  ||
f, :s,  |m, :s,  |s, :—  |—  :F,  |m, :—  |—   :r, |d, :—  |—  :—  ||
d  :m   |m  :t,  |d  :—  |—  :L,  |l, :—  |se, :—  |l, :—  |—  :—  ||
f, :m,  |l, :s,  |d, :—  |—  :R,  |m, :—  |m,  :—  |l2 :—  |—  :—  ||
```

### 411 *Ceisio nerth yn erbyn gelynion.*

*mp* O IESU! tyr'd yn glau,
Mae weithian yn hwyrhau,
A moes dy law;
*mf* Yr wyf am wel'd dy wedd,
A phrofi'th hyfryd hedd,
*cres.* Yr ochr hon i'r bedd,
A'r ochr draw.

*mf* Os rhodiaf yn dy ffyrdd,
Bydd imi elynion fyrdd,
Am rwystro'm taith;
A'r rhai'n, gan faint eu grym,
Fel eirth neu lewod llym,
Yn ceisio niwaid im',
Trwy'r anial maith.

*f* Ond yn dy allu mawr,
Tywysog nef a llawr,
Mi af yn mlaen;
*cres.* Yn Nghrist ymddiried wnaf,
Ac ynddo llawenhaf,
Ac ar ei ol mi af
Trwy ddwfr a thân.

T. L.

### 412 *Erfyn am faddeuant.*

*mp* O ARGLWYDD! trugarha
Er dyfned yw fy mhla,
A'm beiau mawr;
*mf* Dilea rhai'n yn rhad
A maddeu yn y gwaed,
*cres.* A dyro wir iachad
I'm clwyfau 'nawr.

*mp* Golch fi oddiwrth fy mai;
*cres.* Ti elli fy nglanhau,
A'm cânu'n wyn;
*mf* Er dyfned yw fy nghlwy',
Anfeidrol ras sydd fwy,
Mae wedi dyfod trwy
Galfaria fryn.

*f* O! can, fy enaid! mwy,
Mae Meddyg i dy glwy',
Er dyfned yw;
*cres.* Mae modd i'th gyfiawnhau,
Mae ffynon i'th lanhau,
Yn nghyd a llwyr iachau
Dy farwol friw.

R. J., W.

## 413 *Trugaredd Duw.*

*mp* O DDUW! pwy fel Tydi,
Sy'n gwrando cwyn a chri,
Gan drugarhau?
*cres.* A maddeu beiau byth,
A'u claddu, rif y gwlith,
A golchi'n lân ddilyth,
A llwyr iachau!

*mf* Mwy gwerthfawr imi yw,
Trugaredd rad fy Nuw;
Na pherlau'r byd;
*cres.* Rhydd imi gymod llawn
Trwy yr anfeidrol Iawn
Anhraethol yw ei ddawn,
*p* Trwy angeu drud! AN.

## 414 *Pa beth a wnaf?*

*p* PA beth yw 'r ofnau hyn,
Sy'n llenwi 'm henaid syn,
A gwg fy Naf?
*cres.* Euogrwydd sy'n crynhoi,
A'm cyfiawnderau 'n ffoi,
Ni welaf fan i droi,
*p* Pa beth a wnaf?

'R wy'n gwel'd mai trengu raid
Os na chaf Iesu 'n blaid,
I'm henaid claf!
*cres.* Yn rhinwedd aberth hwn
Caf ysgafnhau fy mhwn,
Yn awr, yn awr, mi wn
*f* Pa beth a wnaf!

*mf* Gorweddaf dan fy loes,
Ar haeddiant angeu 'r groes,
A llawenhaf,
*cres.* Fe dry 'm heuogrwydd cas,
*f* Yn ganu am ddwyfol ras,
A moli gyda blas
Fy Iesu wnaf! EMRYS.

## 415 *Cofio am farwolaeth Crist.*

*p* AM farw Iesu Grist,
Y mae fy enaid trist,
Yn cofio 'n awr;
Ei waed yn ffrydio 'n lli
Ar fynydd Calfari
Wrth brynu 'm bywyd i,
*pp* O farw mawr!

*mp* Ei farw fydd fy nghan,
Pan elo 'r byd yn dan;
*cres.* Hosanna mwy!
*f* Mi welaf yn yr Iawn,
Fy iachawdwriaeth lawn,
Orphenwyd un prydnawn—
*p* Trwy farwol glwy'.
D. H.

## 416 *Deled dy Deyrnas.*

*mp* O! BRYNWR mawr y byd!
Tyr'd bellach, mae'n llawn bryd,
Mae yn brydnawn:
*cres.* Gâd imi wel'd dy ras
Ar frys yn tori i maes
Dros wyneb daear lâs,
*f* Yn genllif llawn.

*mf* Y geiriau oll i gyd
Roist imi o bryd i bryd,
Am ddydd dy ras—
*cres.* Gâd ini glywed llef
Efengyl gadarn gref,
O gŵr i'r llall i'r nef,
*f* Yn swnio i maes! W. W.

## 417 *Y Llwybr cul.*

*p* GWNES addunedau fil
I rodio 'r llwybr cul,
Ond methu 'rwy';
*cres.* Preswylydd mawr y berth!
Chwanega eto 'm nerth,
I ddringo 'r creigiau serth
Heb flino mwy!

*p* Gelynion lawer mil,
Sy o ddeutu 'r llwybr cul,
A minau 'n wân;
*cres.* Dal fi â'th nerthol law
Rhag crwydro yma a thraw:
Yn mhob rhyw drallod ddaw
Bydd ar fy rhan! M. R.

## 418 *Ffydd yn Nghrist.*

*mf* FY ffydd sydd ynot Ti,
Yr Oen fu ar Galfari,—
Iachawdwr byw!
*cres.* Clyw 'm cri wrth orsedd gras,
Dilea 'm llygredd cas,
Gwna fi o hyn i maes
Yn blentyn Duw.

*p* Hyd lwybrau troellog fyd,
Drwy 'r temtasiynau i gyd,
O! arwain fi;
*mf* O! tro fy nos yn ddydd,
Sych ddagrau 'm gwelw rudd
*cres.* N'ad imi grwydro 'n gudd
Oddiwrthyt Ti.

*p* Daw breuddwyd oes i ben,
Daw niwloedd angeu 'n llen
'Gylch f' ysbryd prudd;
*cres.* Ond yn yr olaf awr,
Boed gwên fy Iesu mawr,
Yn agor dorau gwawr
*f* Tragwyddol ddydd!
CYF. CERNYW.



I

Rhif 96. **TREFDEYRN.** M. 6.6.4.6.8.8.7.6.

*Doh* F. M. 76. Alaw Gymreig.

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D | s :f | m :f | r :— | — :M | d :m | d :d | $t_1$ :— | — ‖ |
| :$S_1$ | $s_1$ :$t_1$ | d :d | $t_1$ :— | — :$T_1$ | $l_1$ :d | $t_1$ :$l_1$ | $se_1$ :— | — ‖ |
| :M | r :r | d :l | s :— | — :Se | m :m | m :m | m :— | — ‖ |
| :D | $t_1$ :$s_1$ | $l_1$ :$f_1$ | $s_1$ :— | — :$M_1$ | $l_1$ :$l_1$ | $l_1$.$se_1$ :$l_1$ | $m_1$ :— | — ‖ |

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :$L_1$ | d :r | d :l | s :D | f :m | r :— | — ‖ | M | s :s | s :m |
| :$L_1$ | $l_1$ :$t_1$ | d :d | $t_1$ :D | d :d | $t_1$ :— | — ‖ | $S_1$ | $s_1$ :$t_1$ | d :d |
| :D | m :s | m :f | f :M | l :s | s :— | — ‖ | D | r :f | m :s |
| :$L_1$ | $l_1$ :$s_1$ | d :$f_1$ | $s_1$ :$L_1$ | $r_1$ :$m_1$.$f_1$ | $s_1$ :— | — ‖ | D | $t_1$ :$s_1$ | d :d |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| l :l | l :R | f :f | f :r | s :s | s :S | m :d' | f :l |
| d :d | r :R | r :r | r :r | r :$t_1$ | d :D | $s_1$ :d | d :d |
| f :f | f :L | l :l | s :s.l | t :r | m :M | d :m | f :f.m |
| $f_1$ :$f_1$ | f :F.m | r :r.d | $t_1$ :$t_1$.$l_1$ | $s_1$ :$s_1$ | d :D | d :$l_1$ | $l_1$ :$f_1$ |

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| s :— | m :S | f :m | r :r | d :— | — ‖ |
| $t_1$ :— | d :$T_1$ | $l_1$ :$s_1$.d | d :$t_1$ | d :— | — ‖ |
| r :— | d :R | d.r :m | l :s.f | m :— | — ‖ |
| $s_1$ :— | $l_1$ :$S_1$ | $l_1$.$t_1$ :d | $f_1$ :$s_1$ | d / $d_1$ :— | — ‖ |

## 419 *Ffoi i Seion.*

*mf* DEWCH, dewch, o fawr i fân,
Cyn delo 'r diluw tân,
I'r arch mewn pryd—
*cres.* Fe lysg y byd yn lân :
*f* O ddinas distryw, brysiwch, ffowch !
Ar y gwastadedd nac ymdrowch !
I sanctaidd fynydd Seion,
O ddynion ! pam na ddewch ? AN.

*mf* Yn awr, fy enaid, clyw !
Yn awr yw amser Duw
Am gymod teg—
*cres.* Dy unig adeg yw :
*f* Dy alw di mae Iesu mawr—
O tyred ! tyred ato 'n awr !
Rhydd fywyd yn dragywydd—
*ff* Mae 'n Llywydd nef a llawr. R. E.

## 420 *Ffrwythau cariad Crist.*

*mf* MAE'N bryd i lawenhau,
Daeth Iesu'r Oen difai,
*cres.* O'r nefoedd fry,
I'n cadw ni rhag gwae :
*f* Rhyfeddwn gariad Iesu gwiw,
At wael golledig ddynolryw ;
*dim.* Fe aeth o'i fodd i'r lladdfa,
*cres.* Er mwyn i ni gael byw !

*p* Fe lefodd yn ei waed,
'O madde'u beiau, Dad !'
*cres.* Ar Galfari
Fe gaed i ni ryddhad ;
*mp* Ei waed a liwiai'r groes hyd lawr,
Golgotha'n goch mewn rhyfel mawr,
*cres.* Enillodd Iesu'r frwydr—
*f* Byth cenir am yr awr. AN.

421 *Tangnefedd i bell ac i agos.*

*mf* TEG wawriodd arnom ddydd
A welwyd gynt drwy ffydd,
Gan rai sy'n awr
O'u cystudd mawr yn rhydd;
*cres.* Ac os oedd dyled arnynt hwy
I foli 'r Oen, a'i farwol glwy',
*f* Mae 'n dyled ni, genhedloedd,
Fil myrdd i foli mwy. AN.

422 *Llwyddiant yr Efengyl.*

*mf* DAW'R gareg oddi draw,
A dorwyd nid â llaw,
*cres.* Lle treigla hon
Bydd llawer bron mewn braw;
*f* Cynhyddu wna fel mynydd mawr,
Fe gwymp allorau Baal i'r llawr;
Y nos yn mhell a redodd,
*ff* A gorodd dorau'r wawr. AN.

423 *Dydd yr Arglwydd.*

*f* HOSANNA, dyma'r dydd,
Hoff iawn, coffawn mewn ffydd,
Am un a ddaeth
I roddi'r caeth yn rhydd;
Datguddiwyd cariad Tri yn Un
Pan wisgodd Iesu natur dyn,
I'w achub o'i drueni,
A'i godi ato'i hun.

*f* Mae udgorn Jubili,
Am haeddiant Calfari
Yn seinio'n llon,
Newyddion goreu i ni;
*cres.* Gwir lawenhâ, fy enaid prudd,
Enillodd Iesu mawr y dydd;
Daw carcharorion angeu
O'u rhwymau oll yn rhydd. AN.

424 *Bod gyda Crist*

*mf* YR ochr draw i'r bedd,
Y saint fydd ar ei wedd:
Hwy gânt i gyd
Fwynhau ei hyfryd hedd;
*f* A'u holl ganiadau yn gytûn
Fydd byth am gariad Tri yn Un,
Ac am dragwyddol arfaeth,
Yn iachawdwriaeth dyn!

*mf* Mae tyrfa fawr, heb ri',
Fu ar ein daear ni,
Dan lawer loes,
A llid, a chroes, a chri,
*cres.* Yn awr mewn bywyd, hyfryd hoen,
Ger bron gorseddfainc Duw a'r Oen
Heb deimlo mwy flinderau,
Effeithiau llid a phoen!

*mf* Fe dderfydd dwyn y groes
Yn lân, a phob rhyw loes;
Cawn adaw 'r byd,
A'r adfyd—bêr yw 'r oes:
*cres.* Bydd Seion wych mewn siriol wawr,
'Rol codi o'r llwch, a gado 'r llawr
Ar ddysglaer wedd ei Phriod,
*f* Yn moli 'r Duwdod mawr! AN.

425 *Efengyl hedd a'i gwledd.*

*mf* ARDDERCHOG yw ein braint,
Mewn pwysig werth a maint,
Tu hwnt i hawl
Myrdd o sylweddol saint;
*cres.* Mae heddyw wir efengyl hedd,
Heb len na gorchudd ar ei gwedd,
Yn cynyg i'r truanaf
*f* Ei llawn felusaf wledd.

*mf* Paham yr ofnaf lu?
Mae 'r cadarn Iesu cu
Mewn nefol wlad,
Ger bron y Tad, o'm tu;
*f* Ni cheisiaf neb yn rhan, ond Ef—
Mae 'n gadarn graig, mae 'n noddfa [gref,
Mae 'n wastad dros ei bobl
Yn eiriol yn y nef.

*f* Dyrchafwn heddyw lef,
Yn daer at orsedd nef,
Am fendith lawn,
O'i drysor eurlawn Ef;
*cres.* Mae ynddo ras fel môr didrai,
I lenwi diffyg y fath rai:
O'i rwyddaf drugareddau
'Fe biau maddeu bai. J. T.

426 *Mawl i'r Iesu o gylch y bwrdd.*

*mf* DEWCH frodyr, o un fryd,
Canmolwn Iesu i gyd,
O gylch y bwrdd,
Lle cawsom gwrdd yn nghyd,
I gofio cariad Crist ein Pen,
A'i ddyoddefaint ar y pren;
Ni ganwn, Diolch iddo,
Tra paro 'r nefoedd wen.

*mf* Pwy, pwy a brofodd flas
Ei gariad Ef a'i ras,
All dewi 'n hwy,
Heb seinio 'n fwy-fwy maes?—
*f* Gogoniant byth i'n Prynwr mâd,
*dim.* Fu farw 'n ufudd yn ei waed;
*cres.* Fe dalodd ein dyledion,
A ninau 'n rhyddion wnaed. **J. W.**

## Rhif 97. Y CROESHOELIAD. M. 6.6.4.6.8.8.7.6.

J. H. ROBERTS, Mus. Bac., 1888.

Doh F. M. 60. C.t. f.F.

```
:M  | l,:d  |t,:t, |l,:-|-:T, |d f :s |l  :d'.t |l :-|- ||r L |s :m|r :M
:L, | m,:l, |l,:se,|l,:-|-:Se,|l r :m |f  :l .se|l :-|- ||l M |r :d|t,:T,
:D  | m :m.l|f :m  |d :-|-:M  |m l.t:d'|d'.r':m'|d':-|- ||l M |s :s|s :Se
:L, | d :l, |r :m  |l,:-|-:M, |l r :d |f  :m    |l :-|- ||f D |t,:d|s,:M,

d :l,t,d|t,:t, |l, :-|- ||D |m :m |s :m |r :m.f|m :M|l :r.m|f :l .s
l,:l,   |l,:se,|l, :-|- ||L,|s,:d |r :d |d :t, |d :M|l :r.m|f :r
m :r    |f :m.r|d  :-|- ||M |d :m |r :s |l :s  |s :M|l :r.m|f :l .ta
l,:f,   |r,:m, |l, :-|- ||L,|d :l,|t,:d |f,:s, |d :M|l :r.m|f :f,.s,

f :m  |r  ||T, |d :l,|r :t,  |f :m.r|m :L   |s.f:m.r|d  :t,  |l, :-|-
r :de |l, ||Se,|l,:l,|l,:se, |se,:- |l,:D   |r  :d  |l, :se, |l, :-|-
l :l.s|f  ||M  |m :m |f :m   |t.r:m.f|m :M.l|l  :l  |l.m:m.r|d  :-|-
l,:l, |r, ||M, |l,:d |t,:m   |r :t, |d :L,  |r  :m.f|m  :m,  |l, :-|-||
```

**427** *Y Croeshoeliad.*

*p* A'i Iesu 'n Ceidwad drud
Sydd ar y groes yn fud—
O'i ben i'w draed,
Yn chwys a gwaed i gyd?
*mf* Hwn yw Efe, medd haul y nen,
*dim.* Ac mewn tywyllwch cuddiai 'i ben,
*cres.* Rhag gweled Crëwr y bydoedd
*dim.* Mewn ingoedd ar y pren!

*p* Dan hoelion garw'r groes,
Dyoddefodd angeu loes,
*cres.* A dwyfol Iawn,
I'r ddeddf, yn llawn a roes:
*p* A phan y trengodd ar y bryn,
Fe deimlai 'r meirw ddaeargryn,
*cres.* A safai calonguriad
*rall.* Y cread mawr pryd hyn! S.

**428** *Crist yn dyoddef drosom.*

*p* BU Crist ar Galfari
Yn aberth drosom ni,
Ein Meddyg da,
Ei waed dywalltai 'n lli'!
*cres.* Ac yn ein lle fe dalai 'n llawn
O dan yr hoelion un prydnawn—
Gostegodd lid y gyfraith
Trwy wneuthur perffaith Iawn!

*p* Y person mwyaf pur
Oddefodd galed gur
Yn friw ei fron,
O dan yr hoelion dur;
*cres.* Rhoes yn ei lafur uchel lef,
A dirfawr grynai 'r ddaear gref,
A'r heulwen a ymguddiai
*rall.* Dan len, duai 'r nef! AN.

**429** *Iachawdwriaeth yn y Groes.*

*mf* TRWY Grist, a'i werthfawr waed,
Y daeth maddeuant rhad—
I ddynol ryw
*cres.* *p* Iachawdwr gwiw a gaed;
Ei fywyd pur, a'i angeu loes,
A'i ddyoddefaint ar y groes,
*cres.* A ddygo fy serchiadau
Tra paro dyddiau f' oes.

*mf* Yn nyfnder pob rhyw loes,
A gorthrymderau f' oes,
Fy noddfa a'm nerth
Yw 'r aberth fu ar y groes:
*cres.* Rhinweddol haeddiant marwol glwy'
Yw 'm cysur yn y byd tra bwy',
A'm hunig ddigonoldeb,
*f* I dragwyddoldeb mwy. AN.

## Rhif 98. MANCHESTER. M. 6.6.6.4. D.

H. Round, trefnwyd gan R. H. Price, Carnarvon, 1888.

```
Doh E♭. M. 84.                                                              B♭.t.
|M :— |d :r    |f  :-.f  |m :— |S :— |m :f   |l  :-.l  |s :— ||d'F :— |m :r
|S,:— |d :t,   |d  :-.d  |d :— |D :— |d :t,  |t, :-.t, |d :— ||rS, :— |s, :s,
|D :— |m :s    |l  :-.l  |s :— |S :— |s :s   |s  :-.s  |s :— ||feT, :— |d :t,
|D :— |l, :s,  |f, :-.f, |d :— |M :— |d :r   |f  :-.f  |m :— ||rS, :— |s, :f,

                              f.E♭.
|s  :-.t, |d  :— |R :— |m :r   |ds :— |— :— ||D' :— |t :l          |s :-.f   |m :—
|s, :-.f, |m, :— |L,:— |s, :f, |mt, :— |— :— ||D :— |d :-.f        |m :-.r   |d :—
|d  :-.r  |d  :— |D :— |d :t,  |ds :— |— :— ||S :— |f.m :f.r       |m.r :m.f |s :—
|m, :-.s, |l, :— |F,:— |s, :s, |d,s, :— |— :— ||M, :— |f,.s, :l,.t, |d :-.d   |d :—

|L :— |s :f        |m :-.r   |d :— ||F :— |m :l   |s :-.t  |d' :—  |M :— |r :-.d    |d :— |— :— ||
|D :— |t, :d.s,    |s, :-.t, |d :— ||D :— |d :d   |d :-.r  |m :r   |D :— |t, :-.d   |d :— |— :— ||
|F :— |r :d.r      |m :-.s   |s :— ||L :— |d' :d' |d' :-.s |s :fe  |S :— |f :-.m    |m :— |— :— ||
|F,:— |s, :l,.t,   |d :-.f   |m :— ||L :— |s :f   |m :-.r  |d :l,  |S,:— |s, :-.s,  |d :— |— :— ||
```

### 430 *Gogoniant Duw.*

*mf* MAE'R greadigaeth faith,
Yn dangos mawredd Duw,
*cres.* A thraetha'n glir ei hiaith,—
Anfeidrol yw!
*f* Cyduna dydd a nos,—
Y ddaear fel y nef,
*ff* I seinio 'r anthem dlos,—
Mor fawr yw Ef!

*mf* A threfn rhagluniaeth rydd,
Glodforedd llawn i'w Llyw,—
*cres.* Cylchdeithiau 'r bydoedd sydd
Yn canmol Duw;
*f* Tymhorau 'n myn'd a do'd,
Wrth drefniad Brenin nef,
*ff* A chwyddant seiniau 'i glod,—
Mor ddoeth yw Ef!

*f* Ond, iachawdwriaeth yw
Y ddawn bereiddia 'i gyd,—
Cân hon am ras ein Duw,
Yn cadw'r byd!
*cres.* A thestyn teulu'r ffydd,
Mewn mawl a sigla'r nef,
*ff* Am dragwyddoldeb fydd,
Ei gariad Ef! M.

### 431 *Gwledd Trugaredd.*

*mf* MAE llais efengyl hedd,—
Hyfrydlais nefoedd fry,
*cres.* Yn galw pawb i wledd
Trugaredd gu;
*f* Er cymaint oedd y draul,
I'w hael arlwyo hi,
Mae'r cyfan wedi ei ro'i
Yn eiddo i ni!

*mf* Byth, byth, ni welir trai,
Ar ei chyflawnder hi,
*cres.* O! dewch, newynog rai,
Mae'ch eisieu chwi!
*f* Mae'r Iesu wrth y bwrdd,
I'ch cwrdd â chroesaw cu,
Derbyniad cynes gewch,
O! dewch i'w dŷ.

*mf* Anfeidrol gariad Duw,
Mor ryfedd yw ei ddawn,
*cres.* Yn galw dynolryw,
I wledd mor lawn!
*f* O! na folianem ni,
Dosturi 'r dwyfol Dad;
Pob bendith ini sydd,
Yn rhydd a rhad! M.

Rhif 99. **RHOSYMEDRE.** M. 6.8.

Parch J. D. EDWARDS, M.A., 1805—1885.

```
Doh A. M. 80.                                        D.C.
:S, | d :d  |r :r  |m :— |— :D |f :f  |m :r  |d:— |—||S  |m :m  |m :s |f :— |m:—
:M, | s,:m, |l,:s, |s,:— |— :D |d :d  |d :t, |d:— |—||S, |s,:s, |d :d |t,:— |d:—
:D  | d :d  |d :t, |d :— |— :M |l :l  |s :f  |m:— |—||R  |d :m  |s :s |s :— |s:—
:D, | m,:l, |f,:s, |d :— |— :L,|f,:r, |s,:s, |d:— |—||T, |d :d  |d :m |r :— |d:—

                                  :||:
r :— |—||S  |f :m  |r :d  |t, :d  |r  :T,    |d :r  |m :f  |m :— |r :— |d :— |—||
t,:— |—||T, |d :s, |s,:m, |m, :m, |s, :S,    |s,:s, |s,:l, |s,:— |f,:— |m,:— |—||
s :— |—||R  |d :d  |t,:l, |se,:l, |t, :R     |d :t, |d :d  |d :— |t,:— |d :— |—||
s,:— |—||S, |l,:d  |s,:l, |m, :l, |s, :S,.f, |m,:s, |d :f, |s,:— |s,:— |d,:— |—||
```

**432** *Sancteiddier dy Enw.*

*mf* DUW mawr y nefoedd faith,
Un pur a hynod yw!
Mor rhyfedd yw ei waith
Yn achub dynolryw!
*f* Sancteiddier enw'r Arglwydd Iôr,
Trwy'r ddaear faith a'r eang fôr.

*mf* Daioni dwyfol Iôn,
Ganfyddir yn mhob lle;
Am dano eled sôn,
O'r dwyrain draw i'r de;
*f* Sancteiddier enw'r Arglwydd Iôr,
Trwy'r ddaear faith a'r eang fôr.

*f* Sôn am ei enw mawr,
A'i gariad pur dilyth,
A lanwo'r ddaear lawr,
Boed moliant iddo byth;
*cres.* Sancteiddier enw'r Arglwydd Iôr,
Trwy'r ddaear faith a'r eang fôr. AN.

**433** *Cyfoeth Crist.*

*mf* Y MAE trysorau gras
Yn llifo fel y môr,
*cres.* Mae yn fy anwyl Frawd
Ryw gyfoeth mawr yn 'stôr;
*f* Yn mlaen yr âf, er dued wyf,
Mae digon yn ei farwol glwyf.

*mf* Ni chollodd neb y dydd,
Anturiodd arno Ef;
*cres.* Mae'n gwrando cŵyn y gwan,
O ganol nef y nef;
*f* Ac am fod Iesu'n eiriol fry,
Caiff Seion fyw er gwaetha'r llu.
W. L.

**434** *Iddo Ef.*

*mf* O NEFOL, addfwyn Oen!
Sy'n llawer gwell na'r byd,
A lluoedd maith y nef
Ro'nt arnat Ti eu bryd;
*cres.* Mae'th ddawn, a'th ras, a'th gariad drud,
Yn llanw'r nef, yn llanw'r byd.

*f* Ymgrymed pawb i lawr
I enw'r addfwyn Oen;
Yr enw mwyaf mawr
Erioed a glywyd sôn:
*ff* Y clod, y mawl, y parch, a'r bri,
Fo byth i enw'n Harglwydd ni!
W. W.

**435** *Tangnefedd Duw.*

*mf* YMLAWENHAF yn Nuw,
Tra byddwyf byw'n y byd,
Er maint y croesau 'n awr
A'm gofid mawr i gyd;
*f* Cael gwir fwynhad o'i hyfryd hedd,
I'm henaid tlawd sydd hynod wledd.

*mf* Am Iesu mawr a'i ras
Y mae caniadau'r nef;
*cres.* A'r anthem gyda blas
Sy'n myn'd i'w glustiau Ef:
*f* Telynau aur sy'n canu'n un
Effeithiol goncwest Mab y dyn.

*mf* Dy gariad, Awdwr hedd!
A'th fwyn dangnefedd yw
Fy nghysur melus, gwir,
Tra b'wyf ar dir y byw;
*f* O dwg fi'n deg i'th nefol dŷ,
Byth ger dy fron i'th foli fry. AN.

Rhif 100. DARWALL. M. 6.8.

Doh E♭. M. 92. Parch J. DARWALL, 1731—1789.

```
:D |m  :d |s  :m  |d' :— |— :T  |l :s |f  :m |r  :— |—
:D |d  :d |r  :d  |m  :— |— :M  |d :d |t, :d |t, :— |—
:M |s  :m |r  :s  |l  :— |— :S  |f :s |s  :s |s  :— |—
:D |d  :d |t, :d  |l, :— |— :M  |f :m |r  :d |s, :— |—

            B♭.t.                                   f.E♭.
:R  |m :d |l r  :d       |t, :S, |s  :f  |m  :— |r  :—  |d s  :— |— || S  |l :— |t :—
:T, |d :d |m l, :s,      |s, :S, |s, :l, |s, :— |— :f,  |m t, :— |— || D  |d :— |r :—
:S  |s :s |d' f :m       |r  :T, |d  :d  |d  :— |t, :—  |d s  :— |— || D' |l :— |f :—
:S, |d :m |l r, :m,.f,   |s, :F, |m, :f, |s, :— |s, :—  |d s, :— |— || M  |f :— |r :—

|d' :— |— :d |r  :m  |f  :S |l :t |d' :r' |d' :— |t  :— |d' :— |—
|m  :— |— :d |s, :s, |d  :D |d :f |m  :r  |m  :— |r  :f |m  :— |—
|s  :— |— :m |r  :s  |f  :M |f :f |s  :l  |d' :— |s  :— |s  :— |—
|d  :— |— :d |t, :d  |l, :D |f :r |m  :f  |s  :— |s, :— |d  :— |—
```

## 436 *Gorchestion Gras.*

*mf* MAE 'r Brenin yn y blaen,
'Rym ninau oll yn hy;
*cres.* Ni saif na dwfr na thân
O flaen fath arfog lu;
*f* Ni awn, ni awn, dan ganu i'r lan,
*cres.* Cawn wel'd ein concwest yn y man.

*mf* Ni wehr un yn llesg
Yn myddin Brenin nef,
*cres.* Can's derbyn maent o hyd
O'i nerthoedd hyfryd Ef:
*f* Ni gawn, ni gawn y gloyw win,
*cres.* O felus ryw, sancteiddiol rin. W. W.

## 437 *Dydd Crist.*

*mf* A HEIBIO'R dywell nos,
Fe ffŷ cymylau'r nen,
*cres.* Fe ddaw'r addewid wir
A'i geiriau pur i ben;
*f* Ceir gwel'd, ceir gwel'd yr hyfryd dir
*cres.* Ar fyr o dro yn oleu, glir.

*mf* Mi welaf oleu 'r haul
Ar fryniau tŷ fy Nhad,
*cres.* Yn dangos imi sail
Fy iachawdwriaeth rad:
*f* Fod f' enw fry ar lyfrau 'r nef,
*cres.* Ac nad oes a'i dilëa Ef. W. W.

## 438 *Adgyfodiad Crist.*

*mf* O RWYMAU angeu caeth,
Yn rhydd y daeth Mab Duw—
*cres.* Gorchfygu 'r bedd a wnaeth
Mewn buddugoliaeth wiw;
*f* Derbyniodd Ef bob gallu mawr
*cres.* Trwy 'r ddaear lawr, yn awr, a'r nef.

*mf* Cyfododd Brenin hedd,
Iachawdwr dynolryw,
*cres.* Mewn gogoneddus wedd,
O'r marwol fedd yn fyw:
*f* Ein bywiol Ben esgynodd fry,
*cres.* Goruwch pob llû, tu draw i'r llen.

*mf* Daw 'r saint o lwch y bedd
Ar wedd eu Prïod eu,
*cres.* I lawn dragwyddol wledd,
Mewn gwir orfoledd fry:
*f* Dyrchafant draw o'r dyfnder cudd,
*cres.* Cant dd'od yn rhydd, mae 'r dydd ger llaw.

*mf* Pan losgo 'r ddaear lawr,
A'i mawredd o bob rhyw,
*cres.* Fe genir am yr awr
Daeth Ef o'i fedd yn fyw:
*f* Bydd côf am hon gan ddysglaer lu
*cres.* Aneirif fry, byth ger ei fron.
R. AB G. DDU.

## 439 *Edrych ar y groes.*

*mf* OS caf breswylio byth,
Yn mhlith angylion hardd,
A gwel'd yr Iesu eu,
Fu'n chwysu yn yr ardd;
*f* Fy ngwaith i fydd rhyfeddu fry,
Am iddo olchi un mor ddu.

*mf* Mi garaf Grist o hyd,
Er gwaetha'r byd a'i boen;
Er maint yw llid y ddraig,
Am dduo gwraig yr Oen,
*f* Fe'i myn hi'n lân fel eira gwyn,
Fe dalodd ddigon ar y bryn. J. R., LL.

## ALUN. M. 6.8.

*Doh* E♭. M. 72. J. A. LLOYD, 1815-1874.

```
:S |s :f |m :r |m :— |— :M |r :s |d' :l |s :— |— ‖ S |l :s |f :m |f :— |— :R
:D |d :d |d :t, |d :— |— :D |r :r |d :d |t, :— |— ‖ D |d :d |d :d |d :— |— :T,
:M |m :l |s :s |s :— |— :S |s :s |s :fe |s :— |— ‖ M |f :m |f :s |l :— |— :S
:D |d :f, |s, :s, |d :— |— :D |t, :t, |l, :r |s, :— |— ‖ D |f :d |l, :d |f, :— |— :S,

|m :s |f :r |d :— |— ‖ S |l :t |d' :s |f :m |r :M |f :s |l :d' |m :r |d ‖
|d :d |d :t, |d :— |— ‖ D |d :f |m :m |r :d |t, :D |d :d |d :d |d :t, |d ‖
|s :ta |l :s |m :— |— ‖ M |f :s |s :s |s :s |s :S |f :m |f :m |s :f |m ‖
|d :m, |f, :s, |d :— |— ‖ D |f :r |d :d |t, :d |s, :D |l, :d |f, :l, |s, :s, |d ‖
```

### 440 *Iesu, ffynon dedwyddwch.*

*mf* YR Iesu yw fy Nuw,
Fy noddfa gadarn gref;
Ni fedd fy enaid gwan
Ddim arall dan y nef;
*f* Mae Ef ei hun, a'i angeu drud,
Yn uwch na'r nef, yn fwy na'r byd.

*mf* O! ffynon fawr ei rhin,
Yn llawn o win a llaeth!
Sydd yn ei haeddiant Ef,
O'r nefoedd tarddu wnaeth;
*f* Dewch, bawb ynghyd, i wel'd y fraint
A ga'dd y lleiaf un o'r saint.

*mf* Mae'm dymuniadau i gyd
Yn cael boddlonrwydd llawn,
A'm holl serchiadau 'nghyd,
Hyfrydwch nefol ddawn,
*f* Pan fyddwy'n gwel'd, wrth oleu'r wawr,
Mai eiddo im' yw Iesu mawr.

W. W.

### 441 *Amcan Angeu'r Groes.*

*f* MAE lluoedd maith yn mlaen,
'Nawr o'u carcharau'n rhydd,
A gorfoleddu maent,
Oll wedi cael y dydd:
*cres.* I'r lan, i'r lan, diangasant hwy,
Yn ol eu traed y sangwn mwy.

*mf* Gadawn y byd ar ol—
Y byd y cawsom wae;
Y byd ag sydd bob dydd
Yn ceisio 'n llwfrhau:
*f* Ni welwn wlad uwch sêr y nef
Sydd fil o weithiau 'n well nag ef.

*mf* Ni chollwyd gwaed y groes
Erioed am ddim i'r llawr;
Ni phrofwyd angeu loes
Heb rhyw ddybenion mawr!
A dyna oedd ei amcan Ef—
Ein dwyn o'r byd i deyrnas nef.

W. W.

### 442 *Dilyn Crist yn y Bedydd.*

*f* DEWCH, hen ac ieuanc, dewch
Dan faner Iesu cu,
Ufudd-dod parod rhowch
I eiriau deddfau 'i dŷ;
*cres.* Mae'n werth i ddilyn Iesu glân,
Y canol ŵr, trwy ddw'r a thân.

*p* Daeth Crist trwy fedydd gwaed,
O gariad atom ni;
Mewn môr o ingoedd caed
E'n soddi yn y lli!
Ai gormod peth i lwch y llawr,
Wneyd darlun o'i ddyoddefaint mawr!

*mf* Ar gais y nef mi af
Ar ol yr Iesu mawr,
Cydwybod dawel gaf,
A sylw Duw i lawr,
*cres.* A phlygu wnaf i'r sanctaidd arch,
Yn medydd Crist, o dduwiol barch.

AN.

443 *Boed i bawb deimlo grym Efengyl.*

mf MAE enw'r addfwyn Oen
Fel peraroglau drud,
cres. Am dano eled son
Dros holl derfynau'r byd!
f Doed pobloedd, ieithoedd, o bob gwlad,
I geisio heddwch trwy ei waed.

f I'r gogledd, dwyrain, de,
Ac i'r gorllewin faith,
Yr elo ei enw E'
Yn glodfawr gan bob iaith:
cres. Am glwyfau 'r Oen, a'i gariad rhad,
Boed melus ganmol yn mhob gwlad.

f Aed grym efengyl Crist
Yn nerthol trwy bob gwlad,
Sain melus gan bob clust
Fo iachawdwriaeth rad;
ff O! cyfod, Haul Cyfiawnder mawr,
Dysgleiria'n llwyr dros wyneb llawr.
W. L.

444 *Fforddolion Seion.*

mf FFORDDOLION Seion, sy
Yn teithio tua'r nef,
Dyrchefwch gyda mi
Ei enw gwerthfawr Ef,
f Nes ini ganu gyda'r llu
Sy'n ddysglaer yn y nefoedd fry.

mf Yn nes i'n cartref fry
O ddydd i ddydd yr awn:
cres. Preswylwyr Seion sy
Yn orfoleddus iawn
Ar ben eu taith, heb friw na phoen,
Yn tawel orphwys gyda'r Oen.
WESLEY—CYF.

445 *O Dad, maddeu iddynt.*

mf O! C'OD, fy enaid cu!
Anadla tua'r lan;
Yr Aberth gwaedlyd sy
'N ymddangos ar dy ran:
Gwel Iesu o flaen yr orsedd draw;
'Rwy'n argraffedig ar ei law.

mf Cymodwyd fi â Duw,
'Rwy'n blentyn iddo Ef;
Ei lais maddeuol, gwiw,
Roes imi hawl i'r nef:
f 'Rwyf gyda hyder dinacâd
Yn gallu llefain, Abba, Dad!
WESLEY—CYF.

446 *Yr Oen ar Galfari.*

f I ENW'R Iesu mawr
Boed moliant hyd y nen!
Rhoed pawb trwy nef a llawr
Y goron ar ei ben!
Gwnaeth Iawn i'w Dad, a hedd i ni,
dim. Trwy waed ei groes ar Galfari.

mf Diderfyn gariad maith,
Tragwyddol gariad yw!
p Mòr ingol oedd ei daith
I achub dynolryw!
O! wele'r Oen ar Galfari—
Yr Iesu'n marw drosom ni! T. J.

mf Pa dafod, neu pa ddawn,
A fedd angylaidd lu,
All draethu byth yn llawn
Am ras ein Ceidwad cu?
p Ei waed a roes o'i gariad gwiw,
cres. I olchi 'r euog dua 'i liw.

mf Mae cariad yn ei wedd
At wael golledig fyd—
Cyfiawnder llym, a hedd,
Yn ymgusanu 'nghyd—
cres. Trugaredd a gwirionedd pur
A ymddysgleiriant yn ei gur!
B. F.

447 *Gweddi am wyneb Duw.*

mf DYSGLEIRIA, foreu wawr,
'Rol nos o faith barhâd;
Dadguddia imi 'n awr
Ryw ran o'r hyfryd wlad,
cres. Lle rheda cariad pur i maes,
Fel môr di-drai, dros feusydd gras.

mf 'Rwyf yno wrth fy modd,
Ond edrych ar dy wedd:
Fy nghalon galed dôdd
Wrth brofi o dy hedd:
f Ti wyt fy oll, fy Arglwydd mawr!
O fewn y nef, ac ar y llawr.
W. W.

448 *Tân Cariad.*

mf MAE carn 'Mhrynwr mawr,
Ac edrych ar ef wedd,
Y pleser mwya'n awr
Sy i'w gael tu yma'r bedd:
f O gariad rhad! O gariad drud!
Sydd fil o weithiau'n fwy na'r byd!

mf Enynodd ynof dân
O gariad pur y nef;
'Dall neb ei ddiffodd chwaith
Tra credwyf ynddo Ef: [waed,
f Mae'i lais, mae'i wedd, mae rhîn ei
Yn troi ngelynion dan fy nhraed.
W. W.

Rhif 102. CLAUDIA. M. 6.8.

*Doh* G. M. 84. Alaw Gymreig.

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D | d :— :m | f :— :m.r | m :— :M | s :— :l | s :— :m | s :— ‖ | |
| :S, | s, :— :d | d :— :t, | d :— :D | d :— :d | d :— :d | t, :— ‖ | |
| :M | m :— :l | l :— :s | s :— :S | s :— :f | s :— :s | s :— ‖ | |
| :D | d :— :l, | f, :— :s, | d :— :D | m :— :f | m :— :d | s, :— ‖ | |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | m :—:r | d :—:m | r :—:S | f :—:m | r :—:r | d :— ‖ | M | s :—:l |
| :T, | d :—:t, | l, :—:d | t, :—:D | d :—:d | d :—:t, | d :— ‖ | D | r :—:d |
| :R | m :—:f | m :—:s | s :—:D | f :—:s | l :—:s.f | m :— ‖ | S | s :—:m |
| :S, | d :—:s, | l, :—:m, | s, :—:M, | l, :—:d | f, :—:s, | d :— ‖ | D | t, :—:l, |

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| s :—:m | d :— :m | r :— :S | l :d' :l | s :— :f | m :— :r | d :— ‖ |
| r :—:d | d :— :d | t, :— :D | d :—:d | d :— :d | d :— :t, | d :— ‖ |
| r :—:s | s :— :s | s :— :S | f :—:f | m :— :l | s :— :f | m :— ‖ |
| t, :—:d | m :— :d | s, :— :M, | f, :l, :f, | d :— :f, | s, :— :s, | d, :— ‖ |

## 449 *Llesiant gweddi.*

*mf* MAE Duw yn llon'd pob lle—
Presenol yn mhob man;
Y nesaf yw Efe
O bawb at f'enaid gwan;
*cres.* Wrth law o hyd i wrando 'm cri,
"Nesau at Dduw sydd dda i mi."

*mf* Yr Hollgyfoethog Dduw!
Ei olud ni leiha—
Diwalla bob peth byw,
O hyd â'i 'wyllys da;
*cres.* Un dafn o'i fôr sy'n fôr i ni,
"Nesau at Dduw sydd dda i mi."

*p* Mewn trallod at bwy'r âf,
Ar ddiwrnod tywyll du?
Mewn dyfnder, beth a wnaf,
A'r tonau o bob tu?
*mf* O fyd! yn awr beth elli di?
*f* "Nesau at Dduw sydd dda i mi."

D. J., C.

## 450 *Mawl i'r Oen.*

*f* GOGONIANT byth i'r Oen,
Am ddyoddef dros ein bai;
*mf* Ei angeu mawr a'i boen,
Wna ini lawenhau;
*mp* Mae ing yr Oen a'i farwol gri,
*cres.* Yn fywyd ac yn wledd i ni.

*mf* Cael golwg ar y groes,
A thegwch Iesu cu,
Rydd gysur dan bob loes,
Rydd wawr ar gwmwl du;
*f* Ni all holl ddoniau'r nef i gyd,
Byth draethu gwerth ei aberth drud.

R. J.

## 451 *Gorsedd Gras.*

*mf* MI âf at borth y nef,
Am fendith fwya'n bod,
Mae'r Brenin mawr ei hun
Yn ceisio genyf dd'od;
*f* Mawr eisieu cael sydd arnaf fi,
Ac eisieu rhoi ar Iesu sy'.

*f* Dewch, bechaduriaid, dewch,
Yn filoedd myrdd diri',
At orsedd freiniol nef,
Mae croeso nawr i chwi:
Ar annghrediniaeth na wrandewch,
Rhwn bia'r wledd sy'n d'wedyd, Dewch.

GOMER.

## 452 *Ymffrost ac ymddiried yn Nuw.*

*mf* Y FRAICH fu'n hollti'r môr,
Sy' 'nawr yn dal y gwan,
A throi'r Iorddonen gref
I lifo tua'r lan;
*f* Mae dwyfol rym yn mraich fy Nuw,
I faeddu'm beiau cryfa'n rhyw.

*mf* Gelynion rif y dail
Sydd am fy nghael i lawr,
O fewn, o faes bob dydd,
Fel tonau'r moroedd mawr:
*cres.* O! dal, fy Nuw! fy mhen i'r lan,
*f* Caf fuddugoliaeth yn y man. C. E.

## 453 *Duw yn dragwyddol.*

mf PRESWYLFA gref yw Duw
I'w blant o oes i oes,
Er cymaint yw eu bai,
Er trymed yw eu croes;
f Tragwyddol fraich Creawdwr byd
A'u ceidw rhag tragwyddol lid.

mf Cyn lledu lleni'r nef,
Na ffurfio llwythau 'r llawr,
Cyn gosod sêr i droi
Yn yr eangder mawr,
Na llunio un creadur byw,
cres. O dragwyddoldeb y mae Duw.

mf Cyn canu 'n beraidd fwyn
O'r sêr boreuol draw,
Na chael o Gabriel bêr
Y delyn yn ei law,
cres. Dedwyddwch perffaith, hedd didrai,
Oedd ffynon cariad yn fwynhau!

mf Pan gryno seiliau 'r byd,
Pan syrthio 'r sêr yn llu,
Y lleuad wen yn waed,
A'r haul fel sachlen ddu,
f Yr un fydd Ceidwad dynolryw,
Diddechreu a diddiwedd yw.

mp Mor fyr yw oesoedd maith
Ger bron tragwyddol Fôd!
mf Ei oes heb fesur sydd,
Diderfyn yw ei glod!
Mil o flynyddoedd maith, neu ddydd,
Yn debyg yn ei olwg sydd.

GOMER.

## 454 *Cariad Duw yn parhau byth.*

mf PAM 'r ofna 'm henaid gwan
Wrth wel'd aneirif lu
Yn ceisio amheu 'm rhan,
A'm hawl, yn Iesu cu?
f Gwn mai dilŷth wirionedd yw,
Fod cariad Duw yn para byth!

mf A all y Bugail mawr
Anghofio 'i anwyl ŵyn,
Pan ddaeth o'r nef i lawr
p I farw er eu mwyn?
f Gwn mai dilŷth wirionedd yw,
Fod cariad Duw yn para byth!

mf Ni ddiffydd cariad rhad,
Nid ofer geiriau Duw,
Ni chollir rhinwedd gwaed,
Ac angeu Iesu gwiw;
f Gwn mai dilŷth wirionedd yw,
ff Fod cariad Duw yn para byth!

W. W.

## 455 *Y Sabboth.*

p OS aeth yr Iesu gwiw
I lawr i ddyfnder bedd,
cres. Daeth oddi yno'n fyw,
A Duwdod yn ei wedd;
f A'r Sabboth sanctaidd sydd yn awr
Yn arwydd o'r orphwysfa fawr.

mf Ar orsedd nef yn awr
Mae bywyd yn ei law,
A rhydd i deulu'r llawr
Orphwysfa dawel draw;
f A'r Sabboth sanctaidd sydd yn awr
Yn arwydd o'r orphwysfa fawr.

AN.

## 456 *Pechodau dyn.*

p MAE beiau duon dyn,
A'i holl drueni ef,
Fel bryniau cribog mawr
A'u penau c'uwch a'r nef;
f Ond dyfnder môr trugaredd Duw
A guddia 'r bai, er cymaint yw.

f O! iachawdwriaeth rad!
Holl olud mawr y byd!
'Does fesur ar ei lled,
Na therfyn ar ei hyd;
cres. Mae 'n uwch yn mhell na 'r nef ei hun
A dyfnach na thrueni dyn!

T. W.

## 457 *Moli yr Oen.*

f NESAU mae 'r hyfryd ddydd
Cawn seinio 'r newydd gân,
Ar ol caethiwed maith,
Am waredigaeth lân,
Yn mysg y llu sydd fel y wawr,
Yn mhell o wlad y cystudd mawr.

f Ger bron yr orsedd lân
Ymgrymwn oll i lawr,
Gan foli 'r Oen ar gân
Am waith ei gariad mawr!
ff Cydganwn glod â'r dyrfa gu,
Ar beraidd dôn, sy'n moli fry!

AN.

# NORMANDY. M. 6.8.

*Doh* D. M. 76. Alaw Seisnig.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D' | s :l | s :f | m :— | — :M | r :s | s :fe | s :— | — |
| :M | d :d | r :$t_1$ | d :— | — :D | r :$t_1$ | m :r .d | $t_1$ :— | — |
| :S | s :m | r :s | s :— | — :S | s :s | l :l | s :— | — |
| :D | m :d | $t_1$ :$s_1$ | d :— | — :D | $t_1$ :m | d :r | $s_1$ :— | — |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | m :s | l :d' | t :— | — :S | l :f | m :r | d :— | — |
| :R | d :d | f :m | s :— | — :D | d :r | d :$t_1$ | d :— | — |
| :S | s :d' | d' :d' | r' :— | — :S | f :l | s :s .f | m :— | — |
| :$T_1$ | d :m | f :l | s :— | — :M | f :r | s :$s_1$ | d :— | — |

| | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | l :t | d' :d' | t :d' | r' :T | d' :l | s :d' | d' :— | t :— | d' :— | — |
| :D | d :f | m :r | r :s | fe :F | m :d | d.r :m .f | s :— | f :— | m :— | — |
| :M | f :s | s :s.fe | s :s | l :S | s :l.t | d' :d'.r' | m' :— | r' :— | d' :— | — |
| :D | f :r | d :r | s :m | r :S | d :f | m :l | s :— | $s_1$ :— | d :— | — |

## 458 *Yr Iawn.*

*mf* EIN Harchoffeiriad mawr—
Emmanuel ei hun,
*p* Ei fywyd roes i lawr
Dros euog, aflan ddyn;
*f* Anfeidrol werth ei aberth Ef
Foddlonai holl ofynion nef.

*mf* Cyfiawnder gafodd Iawn,
A'r ddeddf fawrhâd a bri,
A'r euog ryddid llawn,
*p* Trwy angeu Calfari:
*f* Caed digon Duw, a digon dyn,
Yn haeddiant Iesu mawr ei hun.

*f* Yn awr cyhoedder hedd
I gyrau pella'r byd;
Gwahodder pawb i'r wledd
*dim.* Gaed trwy ei angeu drud:
*f* Mae 'r bwrdd yn llawn danteithion bras,
Ddarparodd Duw o'i ryfedd ras!

PEDR FARDD.

## 459

*Rhadlonrwydd yr Iachawdwriaeth.*

*mf* MAE Duw 'n cymodi 'r byd,
Yn Nghrist, âg Ef ei hun,
Gan faddeu 'n beiau i gyd
Heb gyfrif arnom un;
*f* Derbyniwch 'n awr y cymod rhâd
Bwrcasodd Crist â'i werthfawr waed.

*mf* O! dewch i'r dyfroedd byw,
Drueiniaid gwael heb nerth,
A phrynwch win a llaeth
Heb arian, ac heb werth:
*f* Mae yma fodd i gyfiawnhau
A phuro 'n lân oddi wrth bob bai.

*f* Anturiwn oll ymlaen,
Mae 'r Iesu mawr o'n tu,
Yn erfyn arnom dd'od
I mewn i'w sanctaidd dŷ:
Nid oes gwir bleser dan y nef
Ond yn ei iachawdwriaeth Ef! AN.

## 460 *Trysor Marwol glwyf.*

*mf* YR unig noddfa bur
I'm henaid ddydd a nos,
A'm holl ddyddanwch gwir
Sy'n tarddu o waed y groes:
*p* Dystewi wnaf—mae trysor mwy
Na fedd y byd mewn marwol glwy'.

*f* Llawn Haleliwia mwy
I Frenin nef a llawr!
*dim.* Dyoddefodd farwol glwy'
*cres.* I'm dwyn o'r cystudd mawr!
*f* Nis gallaf byth ddymuno mwy
Na'r trysor sydd mewn marwol glwy'.

AN.

*f* Fe fydd y nef ar dân,
O fawl i Brynwr byd;
Y saint a'r engyl glân,
A'i molant Ef ynghyd;
*ff* Cydunwn ninau gyda hwy
I foli'r hwn ga'dd farwol glwy. R. J.

461 *Bod gyda Christ.*

*mf* PWY gwyna iddynt hwy,
Y teulu dedwydd llon,
Sydd wedi myned trwy
Holl ddrygau 'r ddaear hon ?—
*cres.* O sŵn y byd, yn ddigon pell !
*f* 'Bod gyda Christ sydd lawer gwell.'

*mf* Maent wedi dïanc draw,
Uwch law pob gofid mwy,
A chystudd byth ni ddaw
I'r un o honynt hwy ;
*cres.* Goruwch blinderau maent, yn mhell !
*f* 'Bod gyda Christ sydd lawer gwell.'

*mf* Ni welir mo'nynt mwy
Yn griddfan dan y groes—
Yn cwyno gan un clwy' ;
Na dyoddef unrhyw loes :
*cres.* Gadawsant oll ar ol, yn mhell !
*f* 'Bod gyda Christ sydd lawer gwell.'

*mf* Maent wedi hedeg fry,
O gyrhaedd saethau llym
Eu holl elynion hy',
Sydd yma yn fawr eu grym—
*cres.* O sŵn y rhyfel, draw, yn mhell !
*f* 'Bod gyda Christ sydd lawer gwell.'
J. H., Ll.

462 *Ail Ran.*

*mf* NI chânt na phla, na phoen,
Na chri, na cherydd chwaith,
Yn nghwmni 'r addfwyn Oen,
I dragwyddoldeb maith !
*cres.* Gorphwysant draw, yn mhell, yn mhell !
*f* 'Bod gyda Christ sydd lawer gwell.'

*mf* Mewn gwlad o fythol hedd,
A gwynfyd perffaith llawn,
Yn hyfryd lon eu gwedd,
Maent heddyw 'n ddedwydd iawn.
*cres.* Pob galar ffodd yn eithaf pell !
*f* 'Bod gyda Christ sydd lawer gwell.'

*f* Digrifwch pur di-drai
Fydd iddynt yn y nef ;
Gwel'd Iesu fel y mae,
A chanu 'Iddo Ef !'
*cres.* Adseinio wna eu cân yn mhell !
*ff* 'Bod gyda Christ sydd lawer gwell.'
J. R., Ll.

463 *Noddfa yn Nghrist.*

*mf* PAN faich gofidiau 'r byd,
Fy nghysur hyfryd yw,
Fod imi noddfa glyd,
Yn nghlwyfau Iesu gwiw ;
*cres.* A dyma'r fan er maint y llid,
*f* Af heibio i holl ofidiau 'r byd.

*f* Yn ei alluog law,
Mi af drwy angeu 'n hy',
Caf ganu yr ochr draw
Yn llawen gyda'r llu.
*cres.* Can's yn ei bresenoldeb Ef
*ff* Mae holl hyfrydwch nef y nef.
J. J., A.

464 *Duw uwchlaw pob mawl.*

*f* MAWR yw yr Arglwydd Iôr,
A chanmoladwy iawn ;
Nis gall y nefol gôr
Byth draethu am dano'n llawn !
*ff* Cenhedlaeth a chenhedlaeth gân
Am wyrthiau gras ein Harglwydd glân !
R. J.

465 *Sicrwydd yr Addewid.*

*mf* WRTH edrych ar y sail
A'r wir addewid gref,
Er ofnau rif y dail,
Pam yr amheuwn Ef !
*cres.* A dyma air—pwy ŵyr ei werth ?
*f* 'Yn ol dy ddydd y bydd dy nerth.'

*mf* Paham y beiaf ddim
Ar gyfoeth gras fy Nuw,
Lle rhoddwyd sicrwydd im'
Mai digyfnewid yw ?
*cres.* Hon yw yr hen addewid gu
*f* Lle gallwn ni gael cysur cry'.

*mf* Nid oedd yn ngallu 'r Nef
Ddim modd rhoi sicrwydd mwy,
Na 'r wir addewid gref
*dim.* A seliodd gwaed ei glwy' !
*f* Ei air a saif yr un o hyd,
Pan doddo barn elfenau 'r byd !

*mf* Y pererinion gynt,
A'r hen ferthyron glân,
Yn awr diangol ynt
Er ymgyrch dw'r a thân ;
*f* Mae 'r llaw a'u daliodd hwy i'r lân
I tithau 'n gymhorth, f' enaid gwan !
R. AB G. DDU.

## Rhif 104. BEVERLEY. M. 6.8.

*Doh* E♭. M. 80. Alaw Seisnig.

```
:D   |m  :s  |d'  :s.f  |m  :—  |— :S    |l  :l  |s  :f.m  |r  :— |—
:D   |d  :r  |m   :r    |d  :—  |— :D    |d  :d  |d  :t,.d |t, :— |—
:M   |s  :s  |m   :s    |s  :—  |— :M    |f  :f  |s  :s    |s  :— |—
:D   |d  :t, |l,  :t,   |d  :—  |— :D    |d  :f  |m  :r.d  |s, :— |—

B♭.t.                                                   f.E♭.
:ˢD   |f  :r  |m  :d   |s  :— |— :F     |m  :r.d |d  :t,  |ᵈs  :— |—
:ʳS,  |f, :s, |s, :fe, |s, :— |— :D.s,  |s, :l,  |s, :f,  |ᵐt, :— |—
:ˢD   |l, :t, |d  :d   |t, :— |— :D.r   |d  :f   |m  :r   |ᵈs  :— |—
:ᵗM,  |r, :s, |d, :l,  |s, :— |— :L,.t, |d  :f,  |s, :s,  |ᵈs, :— |—

:S   |d' :t  |d' :s  |d' :t.l  |s :S  |l  :s.f |m :f  |m  :— |r  :— |d :— |—
:R   |s  :f  |m  :r  |m  :re   |m :M  |f  :r   |d :r  |d  :— |t, :— |d :— |—
:T   |d' :r' |s  :r' |d' :fe.t |t :D' |d' :r'  |s :l  |s  :— |—  :f |m :— |—
:S.f |m  :r  |d  :t, |l, :t,   |m :D  |f  :t,  |d :f, |s, :— |s, :— |d :— |—
```

**466** *Noddfa mewn ystormydd.*

*mf* ER nad yw 'm cnawd ond gwellt,
A'm hesgyrn ddim ond clai,
*cres.* Mi ganaf yn y mellt,
Maddeuodd Duw fy mai!
*f* Mae Craig yr oesoedd dan fy nhraed,
A'r mellt yn diffodd yn y gwaed!
EHEDYDD IAL.

*mf* Mae Duw yn noddfa i'r saint,
Yn nghanol 'stormydd blin;
*cres.* Diogel yw eu braint
Bob tymhor a phob hin:
*f* Rhydd waredigaeth lawn o'r nef
Cyn braidd y llefont arno Ef!

*mf* Pe treiglai 'r bryniau maith
Yn nghyd i'r dyfnder mawr;
*cres.* Pe crynai 'r ddaear laith,
A siglo seiliau 'r llawr;
*f* Diogel fydd y Saint o hyd
Dan nodded Prynwr mawr y byd!
AN.

**467** *Ydwyf yr Hwn Ydwyf.*

*mf* MOR gyfnewidiol yw
Meddyliau calon dyn!
*cres.* Nid erys neb ond Duw
A'i eiriau pur yn un;
*f* Pob iot o'i eiriau sanctaidd Ef
Yn gadarn fydd pan ballo'r nef.

*mf* Dros dragwyddoldeb pell
Fe bery'r Ion dilyth;
A saif ei gynghor gwell,
A'i addewidion byth.
*f* Jehofah yw ei enw gwiw,
Ac 'Ydwyf yr hwn Ydwyf' yw!
D. S. E.

**468** *Dydd yr Arglwydd.*

*f* FERCH Seion, llawenha!
Dydd gwir lawenydd yw,
Dydd llawn newyddion da
I bawb o ddynolryw;
*cres.* O! cân, yn orfoleddus, cân!
Cyfododd Iesu 'th Brynwr glân.

*mf* Rhinweddau mawr ei waed
Gyhoedda 'r 'trydydd dydd;'
*cres.* Pob gelyn dan ei draed,
Yn orchfygedig sydd!
*f* Eglurodd Ef ei ddwyfol rym,
Wrth ddryllio rhwymau angeu llym.

*mf* Ei fuddugoliaeth Ef,
Yw 'n sicrwydd gobaith ni
*cres.* O bur drigfanau 'r nef,
Drwy haeddiant Calfari;
*f* Yn ddiogel awn i'r ochr draw,
Mae pob awdurdod yn ei law.

*f* Ein calon fo mewn hwyl,
I'w wir addoli Ef;
A rhodder ar ein gwyl
Eneiniad gras y nef;
*ff* Disgyned ar bob enaid byw,
Y nefol dân i foli Duw! M.

## 469 *Bedydd.*

*mf* DAETH ataf hyfryd lais,
Gwahoddiad Iesu mawr,
Pereiddiach oedd ei gais
Na swynion pena'r llawr!
*cres.* Gan adael ffyrdd pob pleser ffol
Dilynaf heddyw ar ei ol.

*mp* O'n blaen ein Ceidwad cu,
Drwy ddyfrllyd fedd a aeth!
A'i enaid pur a fu
Dan donau ing yn gaeth!
*cres.* Yn nerth ei ras dymunaf ddod
I fyw yn gyflawn er ei glod.

*mf* Yn awyr iach ei groes,
Dymunaf fyw yn llawn,
*cres.* O! cuddier beiau f' oes
Dan gysgod dwyfol Iawn!
*f* Fy medydd fo'n bortread byw
O'm llwyr gysegriad byth i Dduw.

CERNYW.

## 470 *Hiraeth am dŷ Dduw.*

*mf* IOR mawr y bydoedd fry!
Mor deg a hawddgar yw
*cres.* Trigfanau 'th gariad cu—
Daearol demlau 'm Duw!
*f* Boed tynfa f' enaid tua 'th dy,
Fy Nuw! i wel'd dy wyneb cu.

*mf* Gwyn fyd y dynion fo
'N gweddïo yn y lle;
Mae Duw yn gwrando 'i blant—
Yn wastad molant E':
*cres.* A dedwydd ydynt hwy' r pryd hyn
Sy'n hoffi 'r ffordd i Seion fryn.

*mf* O nerth i nerth yr ant
Trwy lyn wylofain du,
Nes delont bawb ger bron
Eu Duw yn Seion fry:
*f* O hyfryd fan! pan ddygo Ef
Ei blant i gyd o'r byd i'r nef!

*mf* Cael treulio sanctaidd ddydd
Lle byddo Duw a'i saint,
*cres.* Llawenydd gwell a rydd
Na mil mewn bydol fraint;
*f* Gwell yw cael cadw 'r drws o hyd,
Yn nhŷ fy Nuw, na ph'lasau 'r byd!

W. W.

## 471 *Hyder am berffeithrwydd.*

*mf* FE'M gwelir heb un clwyf,
Hosanna, f'enaid cân;
*mp* Ac er mor aflan wyf,
*cres.* Fe'm gwneir yn berffaith lân!
*f* Mae rhinwedd yn y dwyfol waed,
I'm golchi'n wyn o'm pen i'm traed.

*f* O! henffych ddedwydd ddydd
Y llwyr iacheir fy mhla;
*cres.* Y mawl tragwyddol fydd
I'r Iesu'r Meddyg da;
*ff* Am hyn dadseiniaf 'Iddo Ef,'
Yn uwch nâ holl angylion nef.

PEDR FARDD.

## 472 *Y Fordaith Ysbrydol.*

*mf* MI wela'r tir trwy ffydd—
Yr hafan fythol yw;
O! hwylia f'enaid prudd,
I fynwes Iesu gwiw!
*cres.* O! am gyrhaeddyd nefol nyth,
Y lle na ddaw tymhestloedd byth.

*mf* Chwyth, Ysbryd Glân! yn awr,
Nefolaidd awel gref,
A'm dwg trwy foroedd mawr,
I'm cartref yn y nef!
*cres.* O fyd a chnawd—âg uchel hwyl,
I'r porthladd âf i gadw gwyl!

AN.

## 473 *Gobaith y Duwiol.*

*mf* MI wela'r cwmwl du,
Fu'n hir yn ymgrynhoi,
*cres.* O flaen y deheu wynt
Yn awr yn dechreu ffoi;
*f* Ar ol ystorm, daw yn y man,
Ryw hyfryd hin ar f'enaid gwan.

*mf* Ni phery ddim yn hir
Yn ddu dymhestlog nos;
Ni threfnwyd amser maith
I neb i gario 'r groes:
*f* Mae 'r hyfryd wawr sy'n codi draw
Yn dweyd fod boreu braf ger llaw.

W. W.

## 474 *Ei goleuni hi ydyw yr Oen.*

*mf* YR Oen yw 'r haul y sy
Yn llwyr oleuo 'r nef;
*cres.* Mae myrdd myrddiynau fry,
Yn gwel'd ei wyneb Ef!
*f* Pan elwyf finau mewn i'w plith
Caf fod yn debyg iddo byth.

*mf* Gwyn fyd yr hyfryd awr,
Gwynfyd yr hyfryd ddydd,
*cres.* Caf hedeg uwch y llawr
O'm rhwymau oll yn rhydd!
*f* A bod yn debyg iddo Ef,
Mewn gwir sancteiddrwydd yn y nef.

J. J., A.

# BEVAN. M. 6.8.

*Doh* E♭. M. 80. Sir J. Goss, Mus. Doc., 1800—1880.

```
:D    |d  :r   |m   :f   |s  :—  |— :S  |s   :s  |f    :m   |r  :— |— ||
:S,   |s,.l,:t,|d   :d   |t, :—  |— :D  |r   :d  |d    :d   |t, :— |— ||
:M    |s  :f   |m.r :d   |r  :—  |— :M  |r   :m  |l    :s   |s  :— |— ||
:D    |m  :r   |d.t,:l,  |s, :—  |— :D  |t,  :d  |l,.t,:d   |s, :— |— ||

:R    |m  :f   |s   :l.t |d' :—  |— :T  |l   :s  |s    :fe  |s  :— |— ||
:T,   |d  :d   |d   :f   |m  :—  |— :R  |d   :t, |m    :r   |r  :— |— ||
:S    |s  :l   |s   :f   |s  :—  |— :S  |m.fe:s  |l.t  :d'  |t  :— |— ||
:S,   |d  :f   |m   :r   |d  :—  |— :S, |l,  :t, |d    :r   |s, :— |— ||

:S    |l :d' |t :l   |s  :f  |m :D   |f  :l  |s  :f  |m  :— |r  :— |d :— |— ||
:M    |d :d  |r :m   |r  :t, |d :D   |d  :d  |d  :r  |d  :— |t, :— |d :— |— ||
:D'.t |l :s  |f :m.f |s  :r  |m :M   |f  :f  |s  :l  |s  :— |— :f  |m :— |— ||
:D    |f :m  |r :d   |t, :s, |d :Ta, |l, :f, |m, :f, |s, :— |s, :— |d :— |— ||
```

## 475 *Iesu Grist, yr un.*

*mf* DISGYNA 'r oesau draw
Fel tòn ar dòn i'r mor ;
*cres.* Ac oes ar oes a ddaw,
Wrth drefniad doeth yr Iôr ;
*mf* Ond sylled oesau, cilied dyn,
*f* Mae Iesu Grist yn para 'r un.

*mf* Dymunwn gael mwynhau
'R prydferthion welwn draw,
*dim.* Ond wedi mynyd brau,
Darfyddant yn ein llaw !
*p* Holl flodau'r llawr, yr awel chwyth,
*f* Ond pren y bywyd bery byth.

*mf* Mae Eglwys Dduw yn gref
Yn nghryfder Iesu mawr,
*dim.* Er syrthio ser y nef,
Fel ffigys ir i'r llawr !
*f* Saif hon yn deg, ar sail ddigryn,
Mae Iesu Grist yn para 'r un.

CERNYW.

## 476 *Undeb yr Eglwys.*

*mf* UN ydyw 'r eglwys oll,
Trwy'r byd a'r nefoedd wen ;
*cres.* A gwelir hi 'n ddigôll
Ar ddelw Crist, ei Phen !
*f* Hardd iawn fydd gwedd y dyrfa fawr
Pan ddelo 'r saint o lwch y llawr.

*mf* Un corph, un Ysbryd sydd,
Un Arglwydd i'r holl saint,
*cres.* Un bedydd, ac un ffydd,
Un gobaith, nefol fraint ;
*mp* Er bod yn fynych yma 'n drist,
*mf* Cânt gyd-deyrnasu gyda Christ.

*f* Dadseiniant byth drwy 'r nef
Rinweddau angeu loes ;
*cres.* Cydganant, 'Iddo Ef!'
Heb neb yn tynu 'n groes :
*f* Bydd pawb o'r brodyr yno 'n un,
Yn moli 'r Duwdod yn y dyn !

*mp* O ! boed i'th Ysbryd, Iôr !
Ein selio hyd y dydd
Daw 'r saint, o dir a môr,
O'u rhwymau oll yn rhydd :
*f* Cawn yna ganu gyda hwy
Dragwyddol glod am farwol glwy' !

PEDR FARDD.

## 477 *Iesu o du y Cristion.*

*mf* O'R dyfnder arno Ef
Cyfodaf lef i'r lân ;
Mi welaf Iesu fry
O du fy enaid gwan ;
*cres.* Pob peth a geisia gan y Tad,
I'r tlawd a rydd o'r nef yn rhad.

*mf* O ! cofia, f'enaid ! mwy,
Amynedd yn y gwaith,
*cres.* Sy'n eisieu 'nawr,—a ffydd,
Tra paro dydd dy daith ;
*f* Na rwgnach mwy—yn gân cyn hir
*cres.* Troir holl riddfanau'r anial dir !

R. W., W.

## Rhif 106. HOLLYBOURNE. M. 6.8.

*Doh* A. M. 80. H. SMART, 1812—1879.

```
:S, |d  :m  |s  :f.m |r  :—  |M  :—  |l,  :d  |r  :m.f |m  :— |— ||
:M, |s, :s, |s, :s,  |s, :—  |S, :—  |f,  :m, |l, :s,  |s, :— |— ||
:D  |m  :d  |d  :d   |t, :—  |D  :—  |d   :d  |d  :t,  |d  :— |— ||
:D, |d  :s, |m, :d,  |s, :—  |M, :—  |f,  :l, |f, :s,  |d, :— |— ||

E.t.                                                    f.A.
:mL |s  :d' |l  :s.f |s  :—  |D  :—  |f   :m   |r  :r  |ds, :— |— ||
:s,D|d  :m  |d  :r   |s, :—  |L, :d  |d.t,:d   |d  :t, |ds, :— |— ||
:dF |s  :s  |l  :t   |d' :t  |L  :s  |f   :s   |s  :f  |mt, :— |— ||
:dF |m  :d  |f  :r   |m  :—  |F  :m  |r   :m.f |s  :s, |ds, :— |— ||

:S,    |l, :d   |f    :m |r  :d    |t, :R  |s  :f     |m  :r  |d  :t,    |d  ||
:M,    |f, :l,  |l,.t,:d |s, :l,   |r, :S, |s, :l,.t, |d  :l, |s, :-.f,  |m, ||
:D.ta, |l, :l.s |f    :s |r  :m.fe |s  :T, |d  :f     |s  :f  |m  :r     |d  ||
:D,    |f, :f.m |r    :d |t, :l,   |s, :F, |m, :r,    |d, :f, |s, :s,    |d, ||
```

**478** *A fum farw, ac wele byw ydwyf.*

*mp* 'ROL marw Brenin hedd,
A'i eiddo oll yn brudd,
Fe'i rhoed mewn newydd fedd,
*cres.* Ond codai'r trydydd dydd!
*f* Boed hyn mewn cof gan Israel Duw,
Mae'r Oen a laddwyd eto'n fyw!

*mf* Pan godai Mab y dyn,
Trwy rym anfeidrol fawr,
Y ceidwaid oll yn un
Fel meirw syrthient lawr!
*cres.* Er llid gelynion o bob rhyw,
*f* Mae'r Oen a laddwyd eto'n fyw!

*f* Y Meichiau aeth yn rhydd,
'Rol rhoddi taliad llawn,
A Duw'n cyhoeddi sydd,
"Yn Hwn mi gefais Iawn!"
*cres.* Gwnaeth ffordd yn rhydd i fyn'd at [Dduw;
*rall.* Mae'r Oen a laddwyd eto'n fyw!

J. T.

**479** *Dymunoldeb tŷ Dduw.*

*mf* MOR deg, mor gu, fy Nuw!
Yw'th lysoedd anwyl Di,
Am gael bod yno'n byw,
Mae llef fy enaid i:
*cres.* Mae hiraeth f' enaid îs y nen,
*f* Am danat Ti fy Iôr a'm Pen.

*mf* Mor ddedwydd, ddedwydd yw,
A drigant yn dy dŷ,
Lle cenir clodydd byw,
Bob dydd i'th enw cu:
*cres.* Mor hyfryd yw y teulu glân
*f* Sydd yn moliannu Duw ar gân!

*mf* Dewiswn gaffael byw,
Ar riniog tŷ fy Nêr,
Yn fwy na'r palas gwiw
Goruchaf dan y sêr;
*cres.* Mae diwrnod yn nghynteddau Naf,
*f* Yn well na mil yn unman gaf.

R. J.

**480** *Hiraeth y Cristion.*

*mf* CAERSALEM, dinas hedd,
O! na bawn yno'n byw!
O hyd cawn weled gwedd,
A siriol wyneb Duw;
*dim.* Mae weithiau'n dywyll arna'i 'nawr;
*cres.* Fy haul nid â byth yno i lawr.

*mf* Yn Nuw ymddiried 'rwy'
Am nerth i rodio'i ffyrdd;
Fe'm dygodd eisoes trwy,
Do, gyfyngderau fyrdd:
*cres.* Hyderus eto wyf trwy ffydd,
*f* Yn nerth fy Nuw caf gario'r dydd.

*mf* Caf wel'd f'Anwylyd cu,
Pan elwy' draw i dre',
Yr Hwn o'i gariad fu
Yn dyoddef yn fy lle;
*f* Caf wel'd yr Iesu, digon yw!
*rall.* Mae'r Oen a laddwyd eto'n fyw.

D. J., LL.

Rhif 107. JUBILI. M. 6.8.

*Doh* C. M. 88. H. J. Gauntlett, Mus. Doc., 1806–1876.

```
:D  |m  :s    |d' :s  |m' :—  |— :S  |s  :m' |d' :-.d' |r' :— |— ||
:D  |m  :s    |d' :s  |s  :—  |— :M  |m  :s  |s  :fe   |s  :— |— ||
:D  |m  :s    |d' :s  |s  :—  |— :D' |d' :d' |d' :-.d' |t  :— |— ||
:D  |m  :s    |d' :s  |d  :—  |— :D  |d  :d' |l  :-.l  |s  :— |— ||

:S  |l  :-.t  |d' :d' |t  :—  |— :T  |l  :s  |s  :fe   |s  :— |— ||
:S  |s  :-.s  |s  :fe |s  :—  |— :S  |fe :s  |m  :r    |r  :— |— ||
:M' |m' :-.r' |m' :d' |r' :—  |— :R' |d' :t  |l  :l    |t  :— |— ||
:D' |d' :-.t  |l  :l  |s  :—  |— :S  |r  :m  |d  :r    |s, :— |— ||

:S  |s  :f  |m  :l  |l  :t  |d' :L  |t  :d' |r' :d' |d' :— |t  :— |d' :— |— ||
:R  |d  :r  |d  :d  |f  :f  |m  :F  |f  :s  |s  :s  |l  :— |s  :— |s  :— |— ||
:T  |d' :s  |d' :d' |r' :r' |d' :D' |r' :m' |f' :m' |r' :— |r' :— |m' :— |— ||
:S, |l, :t, |d  :f  |r  :s  |l  :F  |r  :d  |t, :d  |f  :— |s  :— |d  :— |— ||
```

**481** *Jubili yr Efengyl.*

*f* UDGENWCH, weision Duw,
Mewn udgorn arian mawr,
Gan ddwyn i ddynolryw
Y newydd da yn awr:
*cres.* Blwyddyn y Jubili a ddaeth,
A rhyddid cu i'r enaid caeth.

*f* Dadgenwch oll ar g'oedd,
Dros wyneb daear lâs,
A llawen uchel floedd,
Anrhydedd Crist, a'i ras:
*cres.* Blwyddyn y Jubili a ddaeth,
A rhyddid cu i'r enaid caeth.

*mf* Eneidiau ofnus, dewch
Yn rhwydd at Iesu Grist;
Amheuon, ymaith rhowch—
Daeth cysur i'r rhai trist:
*f* Blwyddyn y Jubili a ddaeth,
A rhyddid cu i'r enaid caeth.

**482** *Ail Ran.*

*mf* TROWCH, bechaduriaid trist,
Wrth lais efengyl fwyn,
O'ch cyflwr caeth at Grist—
Fe wrendy Ef eich cŵyn:
*cres.* Blwyddyn y Jubili a ddaeth,
A rhyddid cu i'r rhai oedd gaeth.

*mf* Cymerwch feddiant rhad
O'ch etifeddiaeth fawr;
A dewch i dŷ eich Tad,
Gan lawenychu 'n awr;
*cres.* Blwyddyn y Jubili a ddaeth,
A rhyddid cu i'r rhai oedd gaeth.

*f* Dadseinied gras ein Duw,
Trwy holl derfynau 'r byd;
Ac aed ei deyrnas wiw
Ymlaen, ymlaen o hyd:
*cres.* Blwyddyn y Jubili a ddaeth,
A rhyddid cu i'r rhai oedd gaeth.

Cyf. B. F.

**483** *Mawl ar ddydd yr Arglwydd.*

*mf* HENFFYCH i'r hyfryd ddydd!
Boreuddydd llawen yw;
Daeth Crist o'r bedd yn rhydd,
Yn Arglwydd meirw a byw!
*cres.* Angylion nef ar beraidd dôn,
*f* Molant yr Iôn ar lawen lef.

*mf* Teyrnasu mae yn awr
Lle mae angylaidd lu,
A'i wisgoedd fel y wawr,
Ar orsedd nefol fry!
*cres.* Am gariad mawr ein Brenin glân,
*f* Boed mawl a chân trwy'r nef a'r llawr.

R. J.

**484** *Goleuni 'r Byd.*

*f* O'R maith oleuni mawr!
Mwy pur na'r heulwen boeth,
O'r nef ddysgleiriodd lawr
I'n gwneyd yn ddwyfol ddoeth!
*cres.* Dadseinier byth Hosanna bêr,
*ff* Mewn uchel sain yn uwch na'r sêr.

An.

485 *Tlodi Crist.*

*mf* 'DOEDD gan ein Harglwydd ni
Na maes, na thŷ, na thref,
Na bedd, pan farw fu,
Ond benthyg gafodd Ef!
*cres.* Ond gwawrio wnaeth y trydydd dydd,
*f* A'r Iesu ddaeth o'r bedd yn rhydd.

*f* Canmolwn ras yr Oen—
Cyfoethog Frenin nen,
*mf* A ddaeth yn dlawd o'i fodd,
*dim.* Heb le i roi lawr ei ben!
*cres.* Trwy 'i dlodi Ef caiff myrdd diri'
*f* Dragwyddol gyfoeth nefoedd fry.
D. J., Ll.

486 *Teilwng yw'r Oen.*

*f* HENURIAID gwych y nef,
Byth bythol yn ddidaw,
Coronau ar eu pen,
Telynau yn eu llaw,
*cres.* A ganant 'Teilwng ydyw'r Oen',
A'u cadwodd drwy ei ddirfawr boen.

*f* Rhyw dorf na ddichon neb
Eu rhifo ar y llawr,
A'u swn fel taran gref,
O flaen yr orsedd fawr,
*cres.* Sy'n canu'n un âg uchel lef—
*ff* 'Coronwch, O! coronwch Ef'!
C. E.

487 *Deled dy deyrnas.*

*f* TEYRNASA, Iesu mawr,
Trwy rym dy ras o hyd,
Dros wyneb daear lawr,
Dros holl derfynau'r byd;
*cres.* A doed pob ardal îs y nen
I arddel Iesu mawr yn Ben.

*mf* Teyrnased hyfryd hedd,
A chariad pur o hyd,
Nes peri newid gwedd
Dynoliaeth dros y byd;
*cres.* A doed pob ardal îs y nen
I arddel Iesu mawr yn Ben.
R. J.

488 *Gwledd yr Efengyl.*

*mf* GWNAETH mwyn Dywysog hedd,
A llaw anfeidrol hael,
Freninol, freiniol wledd,
*dim.* I dlodion gweinion gwael;
*cres.* Nid oedd fath fwrdd yn Eden ardd,
Na ffrwyth mor hyfryd ac mor hardd!

*mf* Trugaredd, hedd, a gras,
A hoff gymdeithas Duw,
Yw'r peraidd ymborth bras—
Danteithion goreu'n rhyw;
*cres.* A thaer wahoddir pawb i gyd
O lwythau pell daleithau'r byd.

*mf* Er bod rhyw dyrfa 'nawr
Yn gwledda 'n Salem fry,
O fewn y neithior fawr,
Ni lanwyd eto'r tŷ;
*cres.* I fyrdd mae lle, ac ymborth llawn,
A gwisgoedd rhad a dysglaer iawn.
B. F.

489 *Y Jerusalem Nefol.*

*mf* JERUSALEM sydd fry,
Fy ninas a fy nghân,
Trwy angeu deuaf fi
I'th fewn â moliant glân;
*cres.* Yn ngwynfyd nef, pa bryd y caf
*f* Addoli'm Naf, a'i weled Ef!

*mf* O'th fewn mae f' Arglwydd Iôr,
*mp* Fu'n ddi-bris ar y llawr;
*cres.* Ond mae'th angylaidd gôr
Yn ei folianu 'n awr;
*cres.* Yn ngwynfyd nef, pa bryd y caf
*f* Addoli'm Naf, a'i weled Ef!

*mf* Duwiolion boreu'r byd—
Y Petrieirch llon eu gwedd,
A welant yna o hyd—
Eu hoff Dywysog hedd;
*cres.* Yn ngwynfyd nef, pa bryd y caf
*f* Addoli'm Naf, a'i weled Ef!

490 *Ail Ran.*

*mf* YN amlwg yn y côr
Mae'r Apostolion claer,
A thelynorion Iôr
Yn chwareu'r tànau aur:
*cres.* Yn ngwynfyd nef, pa bryd y caf
*f* Addoli 'm Naf, a'i weled Ef!

*mf* Merthyron—cewri'r ffydd,
A'u creithiau'n loyw wawl,
Mewn purdeb fel y dydd
Wna 'r llys yn felus fawl:
*cres.* Yn ngwynfyd nef, pa bryd y caf
*f* Addoli 'm Naf, a'i weled Ef!

*p* Gwae fi! Gwae fi fy mod
Yn mhebyll 'Cedar' brudd!
*mp* Fy Nuw! Gad imi ddod
I wlad y nefol ddydd!
*cres.* Yn ngwynfyd nef, pa bryd y caf
*f* Addoli 'm Naf, a'i weled Ef! An.

 WATERSTOCK. M. 6.8.

*Doh* E♭. M. 76. Sir J. Goss, Mus. Doc., 1800–1880.

:S |m :-.f |s :d' |s :— |— :S |m :-.f |s :l |r :— |— ||
:$T_1$ |d :-.$t_1$ |d :m |r :— |— :$T_1$ |d :-.d |d :d |$t_1$ :— |— ||
:S |s :-.s |s :s |s :— |— :S |d :-.r |m :r.d |s :— |— ||
:$S_1$ |d :-.r |m :d |$t_1$ :— |— :$S_1$ |$l_1$ :-.$l_1$ |$m_1$ :$f_1$ |$s_1$ :— |— ||

B♭.t. f.E♭.

:R |m :m |$^{d}$f :-.m |r :— |— :R |s :d.r |m :r |$^{d}$s :— |— ||
:$T_1$ |d :d |$^{m}l_1$ :-.$l_1$ |$r_1$ :— |— :$S_1$ |$s_1$ :$m_1$.$fe_1$ |$s_1$ :$f_1$ |$^{m}t_1$ :— |— ||
:S |s :s |$^{l}$r :-.d |$t_1$ :— |— :$T_1$ |d :d |d :$t_1$ |$^{d}$s :— |— ||
:$S_1$ |d :d |$^{l}r_1$ :-.$r_1$ |$s_1$ :— |— :$S_1$.$f_1$ |$m_1$ :$l_1$ |$s_1$ :$s_1$ |$^{d}s_1$ :— |— ||

:S |s :d' |l :s.f |m :-.f |s :L |s .f :m.r |d :f |m :— |r :— |d :— |— ||
:$T_1$ |d :d |d :r |d :-.$t_1$ |d :F |m .r :d.$t_1$ |d :r |d :— |$t_1$ :— |d :— |— ||
:S |s :m |f :r.s |s :-.f |m :D' |d'.s :-.s |m :l |s :— |s :f |m :— |— ||
:S |m :d |f :$t_1$ |d :-.r |m :F |s :$s_1$ |$l_1$ :$f_1$ |$s_1$ :— |$s_1$ :— |d :— |— ||

**491** *Adgyfodiad Crist.*

*mp* ER marw'r Iesu gwiw,
A'i ddodi yn y bedd;
*cres.* Oddiyno daeth yn fyw,
Mewn anllygredig wedd;
*mf* Ac yn ei berson hardd ei hun
I'r nef esgynodd Mab y dyn.

*mf* Y blaenffrwyth ydyw Ef
O'r meirw ddaeth yn rhydd;
*cres.* Ac ernes yw i'r saint
O fraint yr olaf ddydd;
Pan ddygir hwy o lwch y bedd
*f* I anfarwoldeb ar ei wedd.

*f* Wel, gorfoleddwn mwy,
Mae 'n Iesu eto 'n fyw;
*cres.* Trwy rin ei farwol glwy
Y dygwyd ni at Dduw.
*ff* Cydunwn gyda chôr y nef
I seinio 'r anthem, "Iddo Ef."

AN.

**492** *Bedydd.*

*mp* WAREDWR mawr y byd!
Rho oleu ffydd yn awr,
A dangos ini i gyd,
Dy ryfedd gariad mawr,
Pan er ein mwyn bedyddiwyd Di
Yn nyoddefiadau Calfari!

*mf* Ufudd-dod teulu 'r ffydd,
I'r sanctaidd ordinhad,
Drwy'th fedydd iawnol, sydd
Yn llwyr foddloni'r Tad;
*cres.* Mae dwyfol werth dy aberth Di
Yn llanw'n holl ddiffygion ni!

*mf* Mor hawdd yw ufuddhau,
Yn ngolwg Calfari,
*cres.* A'r nef yn llawenhau
Yn ein hufudd-dod ni!—
*f* Testynau melus wledd a chân,
Yw'th werthfawr ordinhadau glân.

M.

**493** *Mawl am yr Iachawdwriaeth.*

*f* DYRCHAFWN fawl a chân,
Daeth Crist o'r bedd yn fyw;
Fry ar ei orsedd lân,
Teyrn ac Offeiriad yw:
Ei nawdd o'r nef, a'i heddwch gwiw,
A ddyry Ef i'r euog ryw.

*mf* Gwrandawn ar air ei ras—
Trwy wrando byddwn byw;
*cres.* Cawn wledd o nefol flas,
A hedd yn nheyrnas Dduw;
*f* Trwy 'r gair heb goll, a'i rymus lef,
Ei ddefaid oll a eilw Ef.

*f* Pan ddaw y saint yn rhydd
O rwymau angeu 'n fyw!
*cres.* Gorfoledd bythol fydd
Yn Seion, Dinas Duw!
*ff* Llu 'r nefoedd lân, ar lawen lef,
A pheraidd gân a'i molant Ef.

AN.

# SOAR. M. 6.8.

D. DAVIES.

*Doh* A♭. M. 88. *D.C.*

:D.m | s :m.d | l$_1$ :t$_1$ | d :— | —:R | m.d:r.s | s :fe | s :— | — ‖ S | s :— | —:f
:S$_1$ | s$_1$:s$_1$ | l$_1$ :s$_1$ | s$_1$ :— | —:T$_1$ | d :s$_1$ | d :d | t$_1$ :— | — ‖ S$_1$ | s$_1$:— | —:s$_1$
:M | r :d.s | f :r | m :— | —:S | s :s.r | r :r | r :— | — ‖ T$_1$ | d :—.t$_1$ | d :r
:D | t$_1$:d.m$_1$ | f$_1$ :s$_1$ | d$_1$ :— | —:S$_1$ | d :t$_1$ | l$_1$:r | s$_1$ :— | — ‖ S$_1$ | l$_1$:—.s$_1$ | l$_1$:t$_1$

m :— | —:S | s :— | —:f | m :— | —:r | m :l | s :f | m :l | s :M
s$_1$ :— | —:D | d :— | t$_1$ :— | d :— | —:t$_1$ | d :d | d :d | d :d | d :D
m :— | —:M | m :— | r :s | s :— | —:s | s :f | m :l | s :f | m :S
d :— | —:D | s$_1$ :— | —:s$_1$ | d :— | —:s$_1$ | d :d | d :d | d :d | d :D

f :r | r :f | m :— | s :— | l :— | —:l | s :—.t$_1$ | d :r | m :— | r :— | d :— | —
t$_1$:t$_1$ | t$_1$ :t$_1$ | d :— | d :— | d :— | —:d | d :—.s$_1$ | m$_1$:l$_1$ | s$_1$ :— | f$_1$ :— | m$_1$ :— | —
s :s | s :s | s :— | m :— | f :— | —:f | s :—.r | d :d | d :— | t$_1$ :— | d :— | —
s$_1$:s$_1$ | s$_1$ :s$_1$ | d :— | d :— | f$_1$ :— | —:f$_1$ | m$_1$:—.s$_1$ | l$_1$:f$_1$ | s$_1$ :— | s$_1$ :— | d$_1$ :— | —

## 494 *Galwad yr Efengyl.*

*mf* DEWCH, hen ac ieuainc, dewch,
At Iesu—mae 'n llawn bryd;
Rhyfedd amynedd Duw,
Ddysgwyliodd wrthym c'yd:
*f* Er yn brydnawn, ac yn hwyrhau,
Mae drws trugaredd heb ei gau.

*mf* Dewch, afradloniaid trist,
At Iesu Grist yn ol;
Mae 'i freichiau 'n awr ar led,
Fe'ch derbyn yn ei gôl:
*f* Mae Duw yn rhoddi eto 'n hael
Drugaredd i droseddwyr gwael.

M. R.

## 495 *Deffro, fraich yr Arglwydd.*

*mf* O IESU! para 'r un,
Yn mhob rhyw oes, 'rwyt Ti:
Dy enw, Geidwad dyn!
Dadguddia 'n awr i ni;
*cres.* A bydded drwy dy air, bob dydd,
Chwanegu tystion bywiol ffydd.

*mf* Pan elo 'th air ar led,
Ceir gweled mawr a mân,
O gadwedigion, lu,
Oll wedi eu golchi 'n lân:
*cres.* Y fyddin fechan â yn fawr,
I ledu 'th glod trwy nef a llawr.

*mf* Ca'dd myrdd eu gwneyd yn saint
Trwy rinwedd marwol glwy';
O Dduw! rho eto 'r fraint
I filoedd gyda hwy:
*cres.* Gwareda 'r byd rhag pechod câs,
*f* Trwy ddwyfol rym dy nefol ras.

W. E.

## 496 *Llusern yw dy Air.*

*p* EISTEDDAI teithiwr blin
Ar lan yr afon ddu,
A'i lusern yn ei law
Ddysgleiriai ar y lli;
*mf* Yn ngoleu hon fe wêl y lan,
Ac engyl fyrdd o gylch y fan!

*p* Wrth ddisgyn at y dŵr,
Hyd risiau brenin braw,
*cres.* Fe ddeil ei lamp o hyd
Yn oleu yn ei law!
*mf* Gall teulu 'r lan, er brig y dòn,
Ei wel'd yn d'od wrth lewyrch hon!

*mf* Adnebydd yn eu plith
Ei Archoffeiriad cu,
*cres.* Yn d'od i lân y dŵr
I dori grym y lli;
*f* Ac ä i wlad lle na raid cael
Byth lusern mwy na goleu haul!

J. R.

## Rhif 110. CARMEL. M. 6.8.

Parch E. STEPHEN, 1822–1885.

Doh A. M. 72. D.C.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :$L_1$ | $l_1$ :$se_1$ | $l_1$ :$t_1$ | d :— | — :D | $t_1$ :m | m :re | m :— | — |
| :$M_1$ | $m_1$ :$m_1$.$r_1$ | $d_1$ :$m_1$ | $m_1$ :— | — :$M_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $fe_1$ :$fe_1$ | $s_1$ :— | — |
| :D | d :$t_1$ | $l_1$ :$se_1$ | $l_1$ :— | — :D | r :d | d :$t_1$ | $t_1$ :— | — |
| :$L_1$ | $l_1$ :$m_1$ | $f_1$ :$m_1$ | $l_1$ :— | — :$L_1$ | $s_1$ :d | $l_1$ :$t_1$ | $m_1$ :— | — |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | d :$t_1$ | d :r | m :r.d | $t_1$ :$T_1$ | d :r | m :$l_1$.$t_1$ | d :$t_1$ | $l_1$ |
| :$Se_1$ | $l_1$ :$s_1$.$f_1$ | $m_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$s_1$.$fe_1$ | $s_1$ :$S_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$l_1$ | $l_1$ :$se_1$ | $l_1$ |
| :$T_1$ | f :r | d :$t_1$ | d :r | r :R | d :$t_1$ | d :d.r | m :r | d |
| :$M_1$ | $f_1$ :$s_1$ | $l_1$ :$s_1$ | d :$t_1$.$l_1$ | $s_1$ :$S_1$.$f_1$ | $m_1$ :$r_1$ | $d_1$ :$f_1$ | $m_1$ :$m_1$ | $l_1$ |

**497** *Edrych ar Iesu.*

*p* GWEL, f' enaid! o dy flaen,
Dy D'wysog hardd ei hun!
*cres.* Yn nyfnder dw'r a thân,
Heb ysgog ynddo glŷn;
*f* Cadarnach yw ei air na chraig
Fe saif er holl fwriadau'r ddraig.

*mf* Edrychaf mwy trwy ffydd,
Bob dydd ar Iesu mawr;
Diflana yn ei wedd
Bob tegwch fedd y llawr,
*f* A nerthir f' ysbryd dan bob croes,
Wrth goflo am ei angeu loes.

R. J., W.

**498** *Y chwys fel dafnau gwaed.*

*p* RHYW noswaith yn yr ardd,
A'i chwys fel dafnau gwaed,
Bu Iesu'n wylo! do!
Wrth ymbil gyda'r Tad!
*mp* Ei enaid oedd mewn ing a braw,
A'r gwpan chwerw yn ei law!

*mf* Gras y cyfamod hedd,
Sy'n cyfoethogi'r tlawd;
Rhyfeddir byth i Dduw
Ymddangos yn y cnawd!
*p* Bu farw Iesu ar y groes,
*cres.p* Pwy draetha werth ei angeu loes?

*p* Mewn gostyngeiddrwydd pur
Dymunem gyd-nesau,
I gofio'r Oen a'i gur,
A'r cariad sy'n parhau;
*mp* Adgofio'r ydym yma 'nawr
Am ddrylliad corph ein Harglwydd mawr!

AN.

**499** *Duw Elias.*

*mp* MAE 'r afon fawr ger llaw—
Mi welaf frig y dòn;
Pa fodd 'r anturiaf drwy
Dymhestlog dònau hon?
*cres.* O Dduw Elias! tyr'd yn awr,
I hollti llif yr afon fawr!

*mp* Mae awel oer y bedd
Yn chwythu er hir brydnawn,
Fel arwydd amlwg im'
Fod angeu 'n agos iawn;
*cres.* Nid oes i'w gael ond prawf o'th hedd,
A yr i ffoi holl ofnau 'r bedd.

*mf* Cryfhâ fy egwan ffydd—
'Rwy'n teimlo 'i bod yn wan;
*cres.* Mi bwysaf ar dy air
Nes d'od o'r tònau i'r lan!
*f* Yr Adgyfodiad mawr ei hun,
A'r Bywyd, ydyw Mab y dyn!

AN.

**500** *Arglwydd! cofia fi!*

*p* 'RWYF yma 'n wael fy ngwedd,
Yn euog, ac yn wan;
Gelynion creulawn sydd
O'm hamgylch yn mhob man:
*cres.* Bydd i mi 'n blaid yn erbyn llu,
O Arglwydd grasol! cofia fi.

*p* Yn wyneb uffern ddu,
Ac angeu mawr ei rym,
*cres.* Rho imi nerth wrth raid,
Bydd Di yn nodded im';
*mf* Yn nyfroedd yr Iorddonen ddu,
O Arglwydd grasol! cofia fi.

D. C.

## Rhif 111. DOLGELLAU. M. 6.8.

Alaw Gymreig.

```
Doh G. M. 72.                                      D.t.
:L, |m  :r  |d  :t,  |l,  :—  |—  :M  |s d':t  |l  :se  |l  :— |— ||
:L, |l, :l, |l, :se, |l,  :—  |—  :T, |t,m :r  |d  :t,  |d  :— |— ||
:D  |d  :f  |m  :m   |d   :—  |—  :T, |m l :f  |m  :m   |m  :— |— ||
:L, |d  :r  |m  :m,  |l,  :—  |—  :S, |m,l,:r  |m  :m   |l, :— |— ||

f.G.
:l M  |m  :r  |m  :d  |t,  :—  |—  :T,  |d  :r  |d  :t,  |l, :— |— ||
:d S, |s, :s, |s, :l, |se, :—  |—  :Se, |l, :l, |l, :se, |l, :— |— ||
:f D  |d  :t, |d  :m  |m   :—  |—  :M   |m  :f  |m  :r   |d  :— |— ||
:f,D, |m, :s, |d  :l, |m,  :—  |—  :M,  |l, :r, |m, :m,  |l, :— |— ||

:M  |s  :m  |l  :m  |s  :fe    |m  :M  |l  :m  |r  :m   |d  :t,  |l, ||
:S, |r  :d  |d  :s, |t, :t,.l, |s, :L, |d  :l, |l, :l,  |l, :se, |l, ||
:S  |s  :s  |f  :s  |m  :re    |m  :M  |m  :m  |f  :l   |m  :m.r |d  ||
:D  |t, :d  |l, :d  |t, :t,    |m, :D  |l, :d  |f  :d.r |m  :m,  |l, ||
```

**501** *Llwydd gweddi ar sail eiriolaeth Crist.*

*mp* GWRANDEWIR gweddi'r gwael
Sy'n griddfan ar y llawr,
*mf* Mae'r Iesu'n eiriol fry
Gerbron yr orsedd fawr;
*cres.* Derbynir ein wylofus lef
Trwy rin ei waed yn nghanol nef.

*mf* Am hyny awn yn hyf
At orsedd gras yn awr;
Daw'n rhwydd fendithion rhad,
Trwy rin y gwaed i lawr;
*cres.* Daw nerth wrth raid i'r gwana'i gyd,
A chonewest ar holl ddrygau'r byd.

*mf* Tyr'd Iesu, tyr'd yn awr,
Dyhidla i lawr dy hedd;
Rho ini yn dy dŷ
Feddianu nefol wledd;
*f* Mae'th hyfryd hedd fyrddiynau'n well
Na holl drysorau'r India bell.

J. J., A.

**502** *Iawn Crist.*

*mp* WRTH feddwl am y gwaed
A lifodd ar y groes,
A'r Iawn anfeidrol gaed
Yn angeu Crist a'i loes;
*cres.* O! todded ein calonau 'nawr,
Wrth gofio am ei gariad mawr.

*mp* Y cwpan chwerw, llawn,
A yfodd Iesu i gyd,
*cres.* Cyfiawnder gafodd Iawn,
Yn ei ddyoddefaint drud;
*f* Gogoniant byth a fo ar ben
Yr Oen, a'n prynodd ar y pren.

AN.

**503** *Edrych i Galfaria.*

*p* EDRYCHWN tua'r groes,
A gwelwn Iesu mawr,
Yn dyoddef angeu loes
Dros euog deulu'r llawr!
*mp* Efe, y cyfiawn, sanctaidd un,
Yn neddfle'r condemniedig ddyn!

*p* O! 'i lym arteithiol gur,
Wrth gael i ni ryddhad!
Beth oedd yr hoelion dur,
At guddiad gwedd ei Dad!
*cres.* Gwrandawn ei uchel, athrist gri,—
O Dad! paham gadewaist fi!

*mp* Nid oedd gan natur rym,
I edrych arno Ef,
Dan ddyrnod cleddyf llym,
Cyfiawnder pur y nef:—
*pp* Tywyllai'r nefoedd, crynai'r byd,
Yn ngwyddfod ei ddyoddefaint drud!

*mf* Anfeidrol werthfawr rodd
Yw'r Iawn a roes Efe,
*dim.* Wrth fyned, o'i wir fodd,
I'r lladdfa yn ein lle!
*f* Bendigaid byth fo'i enw Ef,—
Fe lwyr foddlonodd hawliau'r nef. M.

Rhif 112. LEONI. M. 6.6.8.4. D.

*Doh* B♭. M. 76. LEONI, 1740—1796.

```
:M,   | l,  :t,   | d   :r   | m   :—    | —  :D     | r      :m      | f   :s   | m   :— | — ||
:D,   | m,  :m,   | m,  :l,  | se, :—    | —  :M,    | l,     :l,     | l,  :s,  | s,  :— | — ||
:L,   | l,  :se,  | l,  :l,  | t,  :—    | —  :L,    | l,     :de     | r   :t,  | d   :— | — ||
:L2   | d,  :m,   | l,  :f,  | m,  :—    | —  :L,    | f,     :m,     | r,  :s,  | d,  :— | — ||

:T,    | d   :r   | m   :f   | s   :t,   | d   :F    | m   :—  | r   :—   | d   :— | — ||
:S,    | s,  :s,  | s,  :l,  | s,  :f,   | m,  :L,   | s,  :—  | f,  :—   | m,  :— | — ||
:R     | d   :t,  | d   :d   | d   :r    | d   :D    | d   :—  | d   :t,  | d   :— | — ||
:S,.f, | m,  :s,  | d   :l,  | m,  :s,   | l,  :F,   | s,  :—  | s2  :—   | d,  :— | — ||

:D    | m   :m   | m   :m   | r   :—    | —  :D.t,  | l,.t, :d .r   | m   :l,  | se, :— | — ||
:S,   | s,  :s,  | s,  :s,  | l,  :—    | —  :Se,   | l,    :l,     | l,  :f,  | m,  :— | — ||
:M    | d   :d   | d   :d   | l,  :—    | —  :R     | d     :d .t,  | l,  :t,  | t,  :— | — ||
:D,   | d   :s,  | m,  :d,  | f,  :—    | —  :M,    | f,    :m,.r,  | d,  :r,  | m,  :— | — ||

:M,    | l,  :t,   | d   :r   | m   :r .m  | f   :M.r    | d   :—  | t,  :—  | l,  :— | — ||
:M,    | m,  :m,   | m,  :s,  | s,  :s,    | f,  :L,     | l,  :—  | se, :—  | l,  :— | — ||
:Se,   | l,  :se,  | l,  :t,  | d   :t,    | r   :L,     | l,  :m  | —   :r  | d   :— | — ||
:M,.r, | d,  :m,   | l,  :s,  | d   :s,    | r,  :D,.r,  | m,  :—  | m,  :—  | l2  :— | — ||
```

## 504 *Diogelwch y Saint yn Nghrist.*

*mf* AM fod yr Iesu 'n fyw,
Byw hefyd fydd ei saint;
Er gorfod dyoddef poen a briw,
*cres.* Mawr yw eu braint;
*f* Bydd melus lanio draw,
'Rol bod o dòn i dòn;
*cres.* Ac mi rôf ffarwel maes o law
I'r ddaear hon.

*mf* Pan âf i ben fy nhaith,
Trwy afon ddofn y glyn—
Y dydd yr ofnais lawer gwaith
Ei wel'd cyn hyn;
*f* Fe wêl fy enaid gwan
Yr Iesu 'n benaf Gŵr,
*cres.* Yn sefyll yno ar ei glan
I hollti 'r dŵr!

*f* Ac yna, gwyn fy myd,
Tu draw i'r byd a'r bedd;
Caf yno fyw dan foli o hyd
Mewn hawddfyd hedd—
Yn nghwmni 'r nefol Oen,
A'i saint heb bechod mwy,
Caf ganu am ei ddirfawr boen
Byth gyda hwy! J. T.

## 505 *Yr Ymgnawdoliad.*

*mf* YR Iesu ddaeth i lawr,
O blith nefolaidd lu,
*cres.* Rhyfeddwn ninau oll yn fawr
Ei gariad cu!
*f* Henffych i'r dedwydd ddydd,
Emmanuel a gaed!
Caiff pechaduriaid fyn'd yn rhydd,
Trwy rin ei waed.

*mp* Cymerodd agwedd gwas,
I guddio'i ddelw ei hun,
*cres.* Anfeidrol yw dyfnderoedd gras
I achub dyn!
*f* Henffych i'r dedwydd ddydd,
Emmanuel a gaed!
Caiff carcharorion fyn'd yn rhydd,
Trwy rin ei waed.

*f* Gogoniant fo i Dduw,
Oedd cân y nefol lu,
Gogoniant, d'weded dynol ryw,
Mwy achos sy;
*ff* Henffych i'r dedwydd ddydd,
Emmanuel a gaed!
Caiff carcharorion fyn'd yn rhydd,
Trwy rin ei waed. AN.

# Rhif 113. RAGLAN. M. 6.6.8.4. D.

*Doh* **D.** M. 76. D. Lewis, Llanrhystyd, 1881.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | m :f | s :l | f :— | — :M | r :m | f :s | m :— | — |
| :D | d :d | r :m | r :— | — :De | r :d | d :$t_1$ | d :— | — |
| :M | s :l | s :m.l | l :— | — :L | l :s | l :s | s :— | — |
| :D | d :$l_1$ | $t_1$ :de | r :— | — :M | f :m | r :$s_1$ | d :— | — |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | f :s | l :t | d' :r' | t :D' | l :— | l :— | s :— | — |
| :D | d :m | f :f | m :r | r :M | r :— | — :d | $t_1$ :— | — |
| :S | d' :ta | l :f | s :l | s :S | s :— | fe :— | s :— | — |
| :D | l :s | f :r | m :fe | s :D | r :— | r :— | $s_1$ :— | — |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | s :l | f :f | m :— | — :M | l :d' | t :t | l :— | — |
| :R | d :m | r :r | $t_1$ :— | — :M | m :m | f :m.r | d :— | — |
| :T | d' :l | l :l | se :— | — :Se | l :l | l :se | l :— | — |
| :S.f | m :d | r :r | m :— | — :M.r | d :$l_1$ | r :m | $l_1$ :— | — |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :T | d' :t | l :s | f :s | m :F | r :— | r :— | d :— | — |
| :M | m :m | d.r :m | r :$t_1$ | d :D | d :— | $t_1$ :— | d :— | — |
| :Se | l :-.se | l :l | l :s | s :L | s :— | — :f | m :— | — |
| :M | l :m | f :de | r :$s_1$ | d :$F_1$ | $s_1$ :— | $s_1$ :— | d :— | — |

## 506 *Myfi yw Duw Abraham.*

*f* DUW Abra'm! molwch Ef—
Goruchaf Frenin gwiw,
A Hen Ddihenydd mawr y nef—
Duw, cariad yw!
Anfeidrol, nefol Naf,
Medd lluoedd nef a llawr;
Ymgrymu, a bendithio wnaf
Ei Enw mawr.

*f* Duw Abra'm! molwch Ef;
Ei archiad mawr yn glau,
Gyfoda'm henaid tua'r nef,
Dan lawenhau:
*cres.* Dibrisiaf barch a bri,
A holl deganau'r byd;
Duw fydd fy rhan a'm tarian i,
A'm castell clyd.

*mf* Fe dyngodd iddo'i hun!
Ar lŵ fy Nuw mae'm sail,
*cres.* Y codir f'enaid ar ei lun,
Trwy Adda'r ail!
Caf wel'd ei hawddgar wedd—
Ei allu a fawrhaf;
*f* A chanu am ei ras, mewn hedd,
Dros fyth a wnaf. Oliver—Cyf.

## 507 *Ffoi at Dduw.*

*mf* TI, Arglwydd! yw fy rhan,
A'm trysor mawr didrai,
A noddfa gadarn f' enaid gwan
Yn mhob rhyw wae;
*cres.* Ac atat 'rwyf yn ffoi,
Dy fynwes yw fy nyth,
Pan bo gelynion yn crynhoi,
Rifedi 'r gwlith.

*mf* Tydi, fy Nuw! dy hun,—
Anfeidrol berffaith Fod!
Sy'n trefnu daear, da, a dyn,
I'th ddwyfol glod;
Tywysa f'enaid gwan
Drwy'r anial yn y blaen,
Ac arwain fi 'mhob dyrys fan
A'th golofn dân.

*mf* Dy Ysbryd sanctaidd, cun,
Dywysodd fyrdd o saint,
Rho imi brofi ei felus rin,
Anfeidrol fraint!
*cres.* Fel dyfroedd gloyw, clir,
I loni 'r llesg a'r gwan.
Dyddanwch yn yr anial dir
I'm dal i'r lan. W. W.

Rhif 114. **ANDALUSIA.** M. 6.6.8.6.8.6.8.6.

508 *Doh* G. M. 76. *dolce.*

W. Roberts, Tynymaes, ger Bethesda, 1830.

```
mp:D  |m    :m    |s    :  .m   |r .m :f .m   |r    :m      |f .s,l:s .f
  :S, |d    :d    |d    :  .d   |t, .d :r .d  |t,   :d      |d    :- .d
  O   |Dduw! O    |Dduw!   O    |Dduw,rho im' dy|hedd, A    |gol  -  wg
  :M  |s    :s    |m    :  .s   |s .s :s .s   |s    :s      |l .s,f:s .l
  :D  |d    :d    |d    :  .d   |s, .s, :s, .s,|s,  :d      |f,   :m, .f,

m    :r    |d     ||.M |m    :m     |m .s :f .m  |r   :r .m,f  |m   :—
d    :t,   |d     ||.D |d    :d     |d .m :r .d  |t,  :t,.d,r  |d   :—
ar   dy    |wedd. || A |madd-eu'n   |awr   fy    |mei - au     |mawr,
s    :s .f |m     ||.S |s    :s     |s    :- .s  |s   :s       |s   :—
s,   :s,   |d     ||.D |d    :d     |d    :- .d  |s,  :s,      |d   :—

         dim.
S    :m .d   |t,   :l,   |s,   :- .m  |f .l :f .r   |d   :r .t,  |d    :—
S,   :s, .l, |s,   :fe,  |s,   :- .s, |l, .d :- .l, |s,  :s,     |s,   :—
Cyn  'relwy'i|lawr  i'r  |bedd,   Cyn |'rel  -  wy'i|lawr  i'r   |bedd.
R    :m .m   |r    :r .d |t,   :- .d  |d .f :- .f   |m   :f .r   |m    :—
T,   :d .l,  |r    :r,   |s,   :- .d  |f,   :- .f,  |s,  :s,     |d    :—

M. 60. mf
:S   |m.,f:s   :m  |r .,m :f   :r |m.,f:s   :m  |r    :— :r    |m .s :f  :m
:M   |d.,r:m   :d  |t,.,d :r   :t,|d.,r:m   :d  |t,   :— :t,   |d .d :t, :d
Ond  |im'     gael |hyn,      nid |ofn   -  ai'r|glyn,     na   |cholyn ang-eu
:    |    :mf:S    |s .,s :s   :  |     :   :s  |s .,s :s  :s   |s .s :s  :s
     |        Ond  |im' gael hyn  |         nid |ofnai'r glyn,  |
:    |    :   :D   |s,.,s,:s,  :  |     :   :d  |s,.,s,:s, :s,  |d .m :r  :d

m    :r   ||      :     |       :      |      :    |s    :s .s   |l    :- .s
d    :t,  ||f     :     |       :      |      :    |d    :d .d   |d    :- .d
mwy;      ||Dof   yn dy |law i'r oehr  |draw,      |Heb  friw na |braw,  rhyw
s    :—   ||M     :r .f |m .r :d .t,   |d     :—   |m    :m .m   |f    :- .s
s,   :—   ||D     :t, .l,|s,.f, :m, .r,|d,    :—   |d    :d .d   |f    :- .m

f    :m   |r    :- .r   |m .f :s .m   |f .s :l .f   |m   :r     |d    :—
t,   :d   |t,   :- .t,  |d .r :m .d   |d    :l, .r  |d   :t,    |d    :—
ddydd a   |ddaw, Uwch-  |law,   uwch- |law     pob  |loes   a   |chlwy.
s    :s   |s    :- .    |     :  .s   |l .s :f .l   |s   :s .f  |m    :—
r    :d   |s,   :- .    |     :  .d   |f,.m, :r, .f,|s,  :s,    |d,   :—
```

*mf* GWYN fyd yr hyfryd awr,
Pan ddel ein Harglwydd mawr,
I gasglu 'n nghyd ei saint i gyd,
*cres.* O'r anial fyd sy' nawr;
*mf* I gael mwynhad o'i gariad rhad,

Mewn nefol wlad ddilyth;
*f* Lle cant, un wedd, mewn didranc hedd,
O gylch ei sedd, dragwyddol wledd,
A gwir orfoledd fyth.

I. G. Geirionydd.

## Rhif 115. RACHUB. 6.6.8.6.8.6.8.8.6.

Doh D♭. M. 76. R. S. HUGHES, 1888.

```
:M |m  :-.m |f  :m  |r  :—  |—  :R |r  :l  |s  :f  |m :— |—
:D |d  :-.d |d  :d  |d  :—  |—  :D |t, :t, |d  :r  |d :— |—
:S |s  :-.s |l  :s  |l  :—  |—  :L |s  :f  |m  :s  |s :— |—
:D |d  :-.d |d  :d  |f  :—  |—  :F |s  :s, |l, :t, |d :— |—
```

A♭.t. f.D♭.

```
:mL, |t, :t, |t, :t, |r   :d.t, |d  :R  |m  :m |f   :t, |d s   :— |—
:dF, |l, :l, |l, :l, |se, :se,  |l, :D  |d  :d |t,  :s, |s, r  :— |—
:sD  |r  :r  |r  :r  |m   :m    |m  :Fe |s  :d |r.m :f  |m t   :— |—
:dF, |f, :f, |f, :f, |m,  :m,   |l, :L, |s, :s,|s,  :s, |d, s, :— |—
```

```
:S |s  :s  |l  :-.s |s :f.m  |f :F  |f  :f     |s  :r  |f :— |m || M   |r  :s |fe :r'
:R |m  :m  |m  :de  |m :r.de |r :R  |r  :r.d   |t, :r  |r :— |d || Ta, |t, :r |r  :r
:T |t  :t  |l  :l   |l :l    |l :La |s  :s     |s  :s  |s :— |— || S   |s  :t |l  :l
:S |m  :m  |de :l,  |r :r    |r :D  |t, :t,.l, |s, :t, |d :— |— || De  |r  :r |r  :d
```

```
|r' :t  |s  :M |f :s |l  :t  |d' :r'.d' |t   :D' |f  :m.f |r   :r  |d :— |—
|r  :r  |r  :D |d :d |f  :s  |s  :f.m   |r   :D  |d  :d   |d   :t, |d :— |—
|s  :s  |s  :S |f :m |d' :r' |d' :l     |s   :S  |l  :l   |r.m :f  |m :— |—
|t, :t, |t, :D |r :m |f  :f  |m  :f     |s.f :M  |l, :f,  |s,  :s, |d :— |—
```

### 509 *Yr Iawn yn sail Gobaith.*

*p* MAE 'm rhedfa îs y rhôd,
Yn nesu at y nôd—
*cres.* I'm hymdaith hon, is awyr gron,
Mae diwedd bron a d'od:
*dim.* Fy mhabell frau sydd yn llesgâu,
Ac yn gwanhau o hyd;
*cres.* Ac yn y man, daw 'r amser, pan
Bydd f' enaid gwan, yn fywiol ran,
Mewn annherfynol fyd.

I. G. GEIRIONYDD.

*mf* Fy ngobaith dan bob croes
Yw'r Iawn!—yr Iawn a roes
Ein Meichiau pur dan hoelion dur—
Ei lafur Ef a'i loes:
*cres.* Pan ddelo 'r pryd, daw 'r saint ynghyd
I wynfyd y nef wen,
*f* Dadseiniant lef peroriaeth gref,
*cres.* Drwy nef y nef! Boed iddo Ef
*ff* Y mawl a'r clod, Amen! AN.

### 510 *Byw trwy Ffydd.*

*mp* O DDUW! rho gymhorth hael
Dy Ysbryd i'th rai gwael,
*cres.* I gadw 'r ffydd, o ddydd i ddydd,
Mewn cystudd prudd sy' i'w gael;
*mf* Ein hyder gwiw tra byddom byw,
Yn unig yw ein Tad:
*cres.* Addewid sydd i deulu 'r ffydd [ddydd,
Gael d'od yn rhydd, heb boen rhyw
I'r ddedwydd lonydd wlad.

*mf* Paham yr ofnaf lu?
Mae cadarn fraich o'm tu;
Y rhyfel sydd, o ddydd i ddydd,
Yn eiddo 'n Prynydd cu:
*f* Wel, ato Ef, am nodded gref,
Mi goda 'm llef a'm cri;
Yn llesg a chlaf, taer alw wnaf;
*cres.* Nerth ganddo gaf, fy Nuw! fy Naf!
Ein Tad anwylaf ni!

I. G. GEIRIONYDD.

## Rhif 116. GEIRIONYDD. M. 6.6.8.6.8.6.8.8.6.

*Doh* F. M. 80. D. Lewis, Llanrhystyd, 1886.

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :$L_1$.$t_1$ | d :d | $t_1$ :$t_1$ | $l_1$ :— | — :$T_1$ | d :d | r :r | m :— | — ‖ |
| :$L_1$ | $l_1$ :$l_1$ | $l_1$ :$se_1$ | $l_1$ :— | — :$Se_1$ | $l_1$ :$l_1$ | $t_1$ :$t_1$ | d :— | — ‖ |
| :D.r | m :m | m :m.r | d :— | — :M | m :m | s :s | s :— | — ‖ |
| :$L_1$ | $l_1$ :$l_1$ | $m_1$ :$m_1$ | $l_1$ :— | — :$M_1$ | $l_1$ :$l_1$ | $s_1$ :$s_1$ | d :— | — ‖ |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | f :f | r :r | m :m | d :D | r :r | d :d | $t_1$ :— | — ‖ |
| :De | r :r | $t_1$ :$t_1$ | $t_1$ :$t_1$ | d :$L_1$ | $t_1$ :$t_1$ | $l_1$ :$l_1$ | $se_1$ :— | — ‖ |
| :L | l :l | s :s | s :s | m :M | m :m | m :m | m :— | — ‖ |
| :$L_1$ | $r_1$ :$r_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $m_1$ :$m_1$ | $l_1$ :$L_1$ | $se_1$ :$se_1$ | $l_1$ :$l_1$ | $m_1$ :— | — ‖ |

| | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :$T_1$ | d :d | r :r | m :m | r :R | m :m | fe :fe | s :— | — ‖ | S.f | m :m | f :f.m |
| :$Se_1$ | $l_1$ :$l_1$ | $t_1$ :$t_1$ | d :d | $t_1$ :T | d :d | d :d | $t_1$ :— | — ‖ | $T_1$ | d :de | r :$l_1$ |
| :M | m :m | s :s | s :s | s :S | s :s | l :r | r :— | — ‖ | S | s :l | l :f |
| :$M_1$ | $l_1$ :$l_1$ | $s_1$ :$s_1$ | d.r :m.f | s :$S_1$ | d :d | $l_1$ :$l_1$ | $s_1$ :— | — ‖ | $S_1$ | d :$l_1$ | r :r.d |

C.t. f.F.

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| r :r | m :$^{m}$L | r' :r' | d' :d' | t :t | l :$^{s}$R | d :d | $t_1$ :$t_1$ | $l_1$ :— | — ‖ |
| r :$t_1$ | d :$^{s_1}$D | f :m | m :m | m :m.r | d :$^{de}Se_1$ | $l_1$ :$l_1$ | $l_1$ :$se_1$ | $l_1$ :— | — ‖ |
| s :s | s :$^{m}$L | l :se | l :l | l :se | l :$^{l}$M | m :m | m :m.r | d :— | — ‖ |
| $t_1$ :$s_1$ | d :$^{d}$F | r :m | $l_1$.$t_1$ :d.r | m :m | $l_1$ :$^{l_1}M_1$ | $l_1$.$t_1$ :d.r | m :$m_1$ | $l_1$ :— | — ‖ |

**511** *Byw er clod i'r Gwaredwr.*

*mf* DY gymhorth, Arglwydd ! dod,
I rodio er dy glod,
A byw trwy ffydd o ddydd i ddydd,
Gan estyn at y nôd :
*cres.* Cael treulio f' oes i Grist, a'i groes,
Er pob rhyw loes a chlwy',
A byw heb wâd, i roi mawrhâd,
I gariad rhad, fy Iesu mâd,
Fydd fy nymuniad mwy ! AN.

*mf* Yr Arglwydd, ar fy nhaith,
A'm daliodd lawer gwaith,
Yn nyfnder loes, dan faich a chroes,
A gorthrymderau maith :
Yn un heb nerth, ar greigiau serth,
Ce's fyw trwy werth y gwaed ;
*cres.* A'r gras a fu yn rhad o'm tu,
*f* Mae eto 'n gry' i fwrw'r llu
Gelynion dan fy nhraed ! T. J.

**512** *Rhinwedd Angeu y Groes.*

*mf* UN aberth mwy nid oes,
Ond Ef fu ar y groes—
Iachawdwr rhad, drwy rîn ei waed,
Rydd im' ryddhâd o'm loes :
*cres.* Mae'n gadarn Iôr, a'i ras yn stôr,
Fel môr o drysor drud ;
Ac ato Ef, hyd orsedd nef,
*f* Dyrchafaf lef, am noddfa gref,
I'm cadw rhag y llid.

*mf* Mi deithia'r anial trwy
Y rhinwedd sy'n ei glwy' ;
Fy nghadarn sail yw Adda 'r ail—
Gwnaf f' adail arno mwy :
*cres.* Tragwyddol Graig yw Had y wraig
Rhag drygau 'r ddraig, a'i llid ;
*f* Mae 'n Feddyg da, fe 'm llwyr wellhâ
O'm dyfnaf bla, a'm cânu wna—
*ff* Fy Nghyfaill goreu i gyd ! W. W.

Rhif 117. LYMINGTON. M. 7.6.

*Doh* F. M. 80. R. JACKSON, 1840.

| | | | | | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S, | d | :d.r | m | :d | s | :— | m | :D | l | :l | s | :s | m | :— | — |
| :S, | d | :d.r | m | :d | r | :— | d | :D | d | :d | d | :t, | d | :— | — |
| :S, | d | :d.r | m | :d | s | :— | s | :S | f | :f | s | :s | s | :— | — |
| :S, | d | :d.r | m | :d | t, | :— | d | :M | f | :f | m | :r | d | :— | — |

| | | | | | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S, | d | :d.r | m | :d | f | :— | l | :L | s | :s.l | t | :l | s | :— | — |
| :S, | d | :d.r | m | :d | d | :— | d | :D | d | :m | r | :d | t, | :— | — |
| :S | d | :d.r | m | :d | f | :— | f | :F | s | :s | s | :fe | s | :— | — |
| :S, | d | :d.r | m | :d | l, | :— | f, | :F | m | :d | r | :r | s, | :— | — |

| | | | | | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | r | :m | f | :r | m | :-.l | s | :S | r | :m | f | :l | s | :— | — |
| :T, | t, | :d | r | :t, | d | :— | d | :D | t, | :d | r | :m | r | :— | — |
| :S | f | :m | r | :s | s | :-.f | m | :S | s | :s | f | :m | s | :— | — |
| :S, | s, | :s, | s, | :s, | d | :— | d | :M | f | :m | r | :d | t, | :— | — |

| | | | | | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | d' | :d' | t | :l | s | :— | m | :F | m | :-.d | m | :r | d | :— | — |
| :D | d | :d | d | :d.r | m | :— | d | :D | d | :-.d | t, | :t, | d | :— | — |
| :M | f | :f | s | :l.t | d' | :— | d' | :L | s | :-.m | s | :f | m | :— | — |
| :Ta, | l, | :l, | s, | :f, | m, | :— | l, | :F, | s, | :-.s, | s, | :s, | d | :— | — |

## 513

*Efengyl ogoneddus y bendigedig Dduw.*

*mf* O! GENADWRI hyfryd,
O enau Duw ei hun!
Yn cynyg hedd a bywyd,
I gondemniedig ddyn!
*cres.* Mewn syndod gorfoleddus,
Derbynied dynolryw,
*f* 'Efengyl ogoneddus
Y bendigedig Dduw!'

*mf* Er dued fyddo'r pechod,
Er cymaint fyddo'r bai,
Cyhoedda gair y cymod
Fod gobaith i bob rhai!
*cres.* Lleferydd tangnefeddus
Tragwyddol gariad, yw
*f* 'Efengyl ogoneddus
Y bendigedig Dduw'!

*f* Efengyl yw i seinio
Dros wyneb daear lawr,
Mae'r gair i fyned rhagddo,
A chael gogonedd mawr!
*cres.* Ei redfa fydd lwyddianus,
A phob creadur glyw,
*ff* 'Efengyl ogoneddus
Y bendigedig Dduw'! M.

## 514 *Sychu y Dagrau.*

*mf* BYDD canu yn y nefoedd,
Pan ddelo 'r saint ynghyd,
Y rhai fu oddi cartref,
O dŷ eu Tad cyhyd:
*cres.* Dechreuir y gynghanedd,
Ac ni bydd wylo mwy—
*f* Ond Duw a sych bob deigryn
Oddiwrth eu llygaid hwy.

*mf* Mae Iesu yn darparu
Trigfanau yn y nef,
I wneuthur croesaw helaeth
I'w holl ddilynwyr Ef:
*cres.* Dechreuant fod yn llawen,
Ac ni bydd gofid mwy—
*f* Ond Duw a sych bob deigryn
Oddi wrth eu llygaid hwy.

*mf* Pan ddelo 'r pererinion
I gwrddyd yn y nef,
Rhyw ganu mawr diddiwedd
A glywir 'Iddo Ef!'
*f* Pob un â'i danau 'n dynion
Yn seinio marwol glwy';
A byth ni chlywir diwedd
Ar eu caniadau hwy. AN.

## MISSIONARY. M. 7.6.

*Doh* E. M. 76. L. MASON, 1792—1872.

|D :— |m :s |s :l |s :— |m :D |$t_1$ :d |f :m |r :— ||D :— |m :s |s :l
|D :— |d :d |d :d |$t_1$ :— |d :$S_1$ |$s_1$ :d |$t_1$ :d |$t_1$ :— ||D :— |d :d |d :d
|M :— |s :m |m :f |r :— |m :S |s :s |s :s |s :— ||M :— |s :m |m :f
|D :— |d :d |d :$f_1$ |$s_1$ :— |d :M |f :m |r :d |$s_1$ :— ||D :— |d :d |d :$f_1$

|s :— |m :R |m :l |s :fe |s .:— ||S :— |d' :s |f :m |l :— |s :T
|$t_1$ :— |d :R |d :m |r :d |$t_1$ :— ||D :— |m :d |$t_1$ :d |d :— |d :F
|r :— |m :S |s :d' |t :l |s :— ||M :— |s :s |s :s |f :— |s :S
|$s_1$ :— |d :$T_1$ |d :$l_1$ |r :r |$s_1$ :— ||D :— |d :m |r :d |f :— |s :R

|d' :s |f :m |r :— ||D :— |m :s |s :l |s :— |m :D |r :f |m :r |d :— ||
|m :d |r :d |$t_1$ :— ||D :— |d :d |d :d |$t_1$ :— |d :$S_1$ |$l_1$ :r .|d :$t_1$ |d :— ||
|s :m |s :s |s :— ||M :— |s :m |m :f |r :— |m :S |f :l |s :f |m :— ||
|d .:d |$t_1$ :d |$s_1$ :— ||D :— |d :d |d :$f_1$ |$s_1$ :— |d :M |f :r |s :$s_1$ |d :— ||

**515** *Duw yn hoffi maddeu.*

*f* PA Dduw yn mhlith y duwiau,
Sydd debyg i'n Duw ni?
Mae'n hoffi maddeu'n beiau,
Mae'n hoffi gwrando'n cri;
*cres.* Nid hir y deil ddigofaint,
Gwell ganddo drugarhau;
Yn nghanol cyfyngderau
Gwnawn ynddo lawenhau. AN.

*f* Gwyn fyd y rhai dilëodd
Eu camwedd oll i gyd,
Gwyn fyd y rhai maddeuodd
Eu pechod yn y byd;
*cres.* Gwyn fyd y rhai sancteiddiwyd,
A olchwyd ar y llawr—
*ff* Fe'u codir i'r gogoniant
Drwy haeddiant Iesu mawr.
M. R.

**516** *Iachawdwriaeth gadarn.*

*f* O! IACHAWDWRIAETH gadarn,
O! Iachawdwriaeth glir;
Fu dyfais o'i chyffelyb
Erioed ar fôr na thir;
*cres.* Rhoes Iesu ei fywyd trosom,
Beth all Ef ballu mwy?
Mae myrdd o drugareddau
Difesur yn ei glwy'.

*f* O! ras, didrai, diderfyn,
Tragwyddol ei barhad!
Yn nghlwyfau'r Oen fu farw
Yn unig mae iachâd;
*cres.* Iachâd oddiwrth euogrwydd,
Iachâd o ofnau'r bedd;
A chariad wedi ei wreiddio
Ar sail tragwyddol hedd. W. W.

**517** *Iachawdwriaeth y Groes uwchlaw pob moliant.*

*mf* ANGYLION, doent yn gyson,
Rifedi gwlith y wawr,
Rhoent eu coronau euraidd
O flaen y fainc i lawr;
*cres.* Chwareuant eu telynau
Yn nghyd â'r saint yn un,—
*f* Fyth, fyth, ni chanant ddigon
Am Dduwdod yn y dyn.

*f* Am angeu'r groes bydd canu
I dragwyddoldeb maith,
Mae ynddo ddwyfol rinwedd
I'm cynal ar fy nhaith,
Fy nefoedd yw ei deimlo,—
Ai deimlo 'n union sydd
Yn troi pob rhyw dywyllwch
O'm mewn yn oleu ddydd.
W. W.

**518** *Bedydd.*

*mf* 'RWY'N gweled yn y Bedydd,
Ddelweddau prydferth iawn
O drefn yr iachawdwriaeth,
Mewn dadblygiadau llawn.
*f* Tyst yw o eiriau'r Iesu—
Rhaid geni pob dyn byw
O ddwfr ac o'r Ysbryd
Cyn gweled Teyrnas Dduw.

*mf* Yn ol y drefn fendigaid,
Pan ddaeth y dydd a'r awr,
Anfonwyd y Bedyddiwr
O flaen ei Frenin mawr;
*f* Yn afon yr Iorddonen
Agorodd Deyrnas Nef—
Cyhoeddai 'r Iesu 'n Frenin,—
Bedyddiai iddo Ef.

*mf* Yn mhlith y dorf ymgeiswyr,
Fe welwyd Iesu ei hun,
Yn suddo i'r ffrwd lifeiriol
Yn ostyngeiddiaf un.
*f* I ogoneddu ei Fedydd,
Daeth llef o orsedd Nef,
*p* A'r Ysbryd Glan ddisgynodd—
Arosodd arno Ef.

*mf* Ordeiniodd Iesu 'r Bedydd
Yn borth ei Deyrnas fawr,
A gwystl o deyrngarwch
Ei ddeiliaid ar bob awr.
*f* Mae'r plwng drwy'r dyfroedd dyfnion,
Yn rhinwedd marwol glwy,
Yn gwystlo 'r enaid ffyddiog
Yn eiddo 'r Drindod mwy.

S.

**519** *Duw trosom.*

*mf* MAE 'r Arglwydd Iesu trosom,
Pa niwed fydd i'n rhan?
Mae'r Ysbryd sanctaidd ynom
Yn rhoddi nerth i'r gwan;
*f* Cynlluniau gras mewn arfaeth,
A'r Iawn anfeidrol, sydd
Yn sicrwydd iachawdwriaeth
I gywir berchen ffydd.

*mf* Mae 'r geni'n Methl'em Iuda
Yn dweyd fod Duw o'n plaid;
*mp* Mae'r marw ar Galfaria
Yn dangos Duw wrth raid;
*f* Mae'r daith o isder daear
I uchder nefoedd fry,
Bob cam yn troi yn llafar
I ddweyd fod Duw o'n tu.

*mf* Pren pur y bywyd blanwyd
Yn nhir bwriadau Duw,
A gwlithoedd gras eneiniwyd
Ei gangau heirddion, byw;
*f* Drwy rin yr ymgnawdoliad
Addfedai'r ffrwyth yn llawn,
Pan d'wynai haul ei gariad
Ar galfari brydnawn.

*mf* Drwy droion dyrys lawer,
Canfyddwn Dduw o'n tu,
Dadguddia nos gorthrymder
Fod ser addewid fry;
*f* Yn mhoethder anial garw
Cawn nerth o ffynon gras;
Ar bren, a'i wreiddiau'n chwerw,
Daw ffrwyth pereiddia'i flas.

CERNYW.

**520** *Offeiriadaeth Crist.*

*f* O! DYMA 'r Archoffeiriad,
A'r gwerthfawroca 'n bod,
Na welwyd archoffeiriad
Cyffelyb iddo erioed;
*cres.* A'r fath anfeidrol rinwedd
A haeddiant eang maith,
Yn ei sancteiddiaf Berson,
A'i bur haeddianol waith.

*mp* Fe safai 'n Harchoffeiriad
Rhwng euog fyd a'r Tad,
*cres.* A rhoddai 'i hun yn bridwerth,
Yn sail ein cyfiawnhad;
*mf* Fe ddaeth yn mlaen â'i aberth,
*p* Fe 'i hoeliodd ar y pren—
*cres.* Agorodd drwy ei haeddiant
*f* Holl ddrysau 'r nefoedd wen.

W. W.

**521** *Llawenydd yn y Wledd.*

*mf* MAE 'n nefoedd ar y ddaear
Yr ochr hon i'r bedd,
Wrth wel'd yr Arglwydd Iesu
Yn benaf yn y wledd:
*f* Ni ganwn am ei ddagrau,
Ni ganwn am ei gur,
Ni ganwn am ei glwyfau,
Ac ôl yr hoelion dur.

*f* Wrth brofi grym ei gariad,
Pwy ddichon fod yn fud?
Mae gofid yn fy nghalon
Am i mi dewi c'yd!
*cres.* Y cariad digyffelyb,
Rhyw fôr anfeidrol yw—
Mae 'n gwneyd i'r mud lefaru,
Mae 'n gwneyd y marw 'n fyw.

D. W.

## ARELI. M. 7.6.

Alaw Seisnig.

*Doh* C. M. 76. *D.C.*

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | s :s | l :t | d' :— | d' :M' | r' :d' | d' :t | d' :— | — |
| :D | m :d | f :f | m :— | m :S | f :m .f | s :-.f | m :— | — |
| :S | d' :d' | d' :r' | s :— | s :D' | l .t :d'.r' | m' :r' | d' :— | — |
| :D | d :m | f :r | d :— | d :D | f .s :l | s :s | d :— | — |

G.t. f.C.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D' | m'l :l | s :f | m :-.r | d :M | f :m | r :r | d s :— | — |
| :S | s d :d | d :t, | d :t, | d :D.t, | l,.t, :d | d :t, | d s :— | — |
| :M' | d'f :f | s :s | s :f | m :S | f :s | l :s .f | m t :— | — |
| :D | d'f :f | m :r | d :s, | l, :M, | r, :m, | f, :s, | d,s, :— | — |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | m :s | l :s | s :-.f | m :M' | r' :d' | d' :t | d' :— | — |
| :R | d :d | f :d | r :— | d :S | f :m .f | s :-.f | m :— | — |
| :S | s :d' | d' :d' | l :t | d' :D' | t :d'.r' | m' :r' | d' :— | — |
| :T, | d :m | f :m | r :s | d :D' | s :l | s :s | d :— | — |

## 522 *Adgyfodiad Crist.*

*f* YR Iesu adgyfododd
Yn ogoneddus iawn ;
Daeth boreu teg a hyfryd,
'Rol stormus ddu brydnawn :
Y gadwyn fawr a dorodd
Ar foreu 'r trydydd dydd ;
Gorchfygodd angeu 'i hunan :
O'r carchar daeth yn rhydd.

*mf* Mi welaf yn ei fywyd
Y ffordd i'r nefoedd fry ;
Ac yn ei angeu 'r taliad
A roddwyd trosof fi :
*cres.* Yn ei esgyniad gwelaf
Drigfanau pur y nef,
A'r wledd dragwyddol berffaith
Gaf yno gydag Ef. W. W.

*f* Mor ddedwydd fydd y boreu !—
Pa bryd y gwawria 'r dydd,
Pan ddelo caethion angeu
O'i garchar oll yn rhydd—
*cres.* Yn hardd ar ddelw Iesu,
O gyrhaedd pob rhyw wae ?
Cânt syllu ar ei wyneb,
A'i weled fel y mae. AN.

## 523 *Helaethrwydd maddeuol Ras.*

*mf* MAE 'r Iesu mawr yn maddeu
Pechodau rif y gwlith ;
'Does fesur ar ei gariad,
Na therfyn iddo byth ;
Mae 'n 'mofyn lle i dosturio,
Mae 'n hoffi trugarhau ;
Trugaredd i'r amddifaid
Sydd ynddo i barhau.

*f* Agorodd ddrws i'r caethion
I dd'od o'r cystudd mawr ;
*mp* A'i werthfawr waed fe dalodd
Eu dyled oll i lawr ;
*f* Nid oes dim damnedigaeth
I neb o'r duwiol hâd ;
Y gwaredigion ganant
Am rinwedd mawr ei waed. M.R.

*f* Aed son am Geidwad enaid,
I dir yr India draw,
A boed i filwyr Seion
Orchfygu ar bob llaw ;
*cres.* I lawr y delo'r delwau,—
A'r holl eilunod mud,
A'r Iesu fo'n teyrnasu
*ff* Dros holl derfynau'r byd. AN.

## 524 *Yr Eiriolwr.*

*mf* FY rhan yw'r Oen fu farw
Ar ben Calfaria draw;
*cres.* Ar fyr fe'm dwg i'r bywyd,
Yn hyfryd yn ei law;
*f* Mae'n awr yn eiriol droswyf
O fewn i deyrnas ne',
Gan ddadleu'r gwaed dywalltwyd
Bob mynyd yn fy lle.

*mf* Mae imi yno Ddyddiwr,—
Eiriolwr gyda'r Tad;
Trwy'r Archoffeiriad perffaith,
Daeth iachawdwriaeth rad;
*f* Fy Mrenin yw a'm Prophwyd,
Fe'm dysg o awr i awr;
Fy Mhriod cu a'm Cyfaill
I dragwyddoldeb mawr. AN.

## 525 *Haeddiant yr Aberth.*

*mf* PA le dechreuaf ganu
Am ddwyfol farwol loes,
A haeddiant mawr yr aberth
*p* Fu 'n hongian ar y groes?
*mp* Anfeidrol bwysau pechod
A wasgwyd arno Ef,
*mf* A'r pris anfeidrol dalwyd
I groesi llyfrau 'r nef.

*f* Fe rwygwyd muriau cedyrn,
Fe dorwyd dorau pres,
Oedd rhyngom ni a'r bywyd—
Mae bywyd heddyw 'n nes;
Palmantwyd yr holl lwybrau—
Mae 'r pyrth o led y pen,
O ddyfnder dinas distryw
I eitha'r nefoedd wen.

*mf* Fe bery trugareddau
'R cyfamod gwerthfawr drud
Pan ddarfo 'r greadigaeth
Ddiderfyn oll i gyd;
*cres.* Ni bydd ond dechreu gweled
Daioni mawr y ne',
Pan gollo haul a lleuad
A'r holl blanedau 'u lle.

*f* Y clod, y nerth, a'r enw,
Y mawl, y parch, a'r bri,
I'r Drindod f'o mewn Undod,
A'r Undod pur yn Dri!
*ff* Sain mawl ehedo allan,
Mawl am ei gariad Ef,
Drwy ëang bell derfynau
Y ddaear faith a'r nef. W. W.

## 526 *Maddeuant a Thangnefedd trwy Aberth Crist.*

*mf* MAE sŵn y clychau 'n chwareu
Wrth odreu Iesu mawr,
Ac arogl pomgranadau
Yn dyfod yma i lawr—
*cres.* Maddeuant i bechadur,
Yn gysur a mwynhâd,
Er mwyn yr aberth difai
A lwyr foddlonai 'r Tad.

*mf* Mewn môr o ryfeddodau
'R wyf am gael treulio f' oes,
Gan roi fy holl ymddiried
Ar werthfawr waed y groes,
*cres.* A chael caethiwo 'm meddwl
Oll i ufudd-dod Crist,
A chydymffurfio â'r gyfraith—
Bod drosto 'n ffyddlawn dyst. A. G.

## 527 *Bedydd Crist.*

*mf* BEDYDDIWYD Crist ein Blaenor,
'Nol cynghor cadarn Duw;
'R un bedydd i'w ganlynwyr,
Orch'mynodd Iesu gwiw;
Un bedydd efengylaidd,
A dim ond un nid oes,
A hwnw yn bortread
*mp* O'r brudd gyfryngol loes.

*mf* Mae bedydd mawr ein Brenin
Yn ddarlun eglur iawn,
*mp* O'i gyfyng drist farwolaeth,
A'i gladdedigaeth lawn;
*cres.* Ei adgyfodiad hefyd
I fywyd llawn o hedd,
*f* 'Nol iddo lyncu angau,
A dryllio barau'r bedd. AN.

## 528 *Iesu yn gydymaith.*

*f* O! DIOLCH am efengyl
Sy'n dweyd am Iesu Grist,
Fod bywyd yn ei enw
I bechaduriaid trist;
*mp* Er haeddu marw bythol
O dan ddigofaint Duw,
*cres.* Trwy gredu yn yr Iesu
*f* Ni gawn 'dragwyddol fyw. W. E.

*mf* Cydymaith ydyw 'r Iesu,
Bob amser caru mae;—
Brawd aned erbyn adfyd,
Cystuddiau, ing, a gwae!
Yn oriau oer marwolaeth
Deil ei ffyddlondeb Ef!—
*f* Fe 'n dwg drwy afon angeu
Yn iach i deyrnas nef. J. J, A.

Rhif 120. ENDSLEIGH. M. 7.6.

Alaw Italaidd.

Doh G. M. 76.

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M.r | d :d | r :r | m :— | d :D.t, | l, :r | d :t, | d :— | — (D.C.) |
| :S, | s, :l, | t, :t, | d :— | s, :S, | f, :l, | s, :s, | s, :— | — |
| :D.r | m :m | s :s | s :— | m :D | d :f | m :r | m :— | — |
| :D | d :l, | s, :s, | d :— | d :M, | f, :f, | s, :s, | d, :— | — |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M.f | s :s | l :l | s :-.f | m :M | f :s | m :d | r :— | — (D.C.) |
| :D | d :d | d :d | d :t, | d :D | l, :s, | s, :l, | t, :— | — |
| :S.f | m :m | f :f | r :s | s :L | f :r | d :m | s :— | — |
| :D | d :d | f, :f, | s, :— | d :L, | r :t, | d :l, | s, :— | — |

## 529 *Y Gwaed! y Gwaed!*

*mp* Y GWAED, y gwaed a lifodd
Ar groesbren un prydnawn;
Yn hwnw y derbyniodd
Y ddeddf foddlonrwydd llawn:
*cres.* Y gwaed, y gwaed a olcha
Bechadur du yn wyn:—
*f* Dadseiniwn Haleliwia,
Am waed Calfaria fryn!

*mp* Y gwaed, y gwaed a egyr
Holl byrth y nefoedd lon;
Y gwaed, y gwaed rydd gysur
Dan holl gurfeydd y fron:
*cres.* Ar fryniau anfarwoldeb,
Pan yno sang fy nhraed,
*f* Fy nghân i dragwyddoldeb
Gaiff fod—Y gwaed! y gwaed!
R. E.

## 530 *Croes Crist.*

*mp* YN angeu'r groes yn unig
Mae'm iachawdwriaeth lawn,
*cres.* Ac am y groes mi ganaf
O foreu hyd brydnawn;
*mf* 'Does ond yr aberth hwnw
Wnaed ar Galfaria fryn,
*f* A'm crea oll o newydd,
A'm càna oll yn wyn. W. W.

*mf* Tragwyddol glod i'r Cyfiawn
*mp* Fu farw dros fy mai;
*cres.* Fe adgyfododd eilwaith
O'r bedd i'm cyfiawnhau:
*f* Ar orsedd ei drugaredd
Mae'n dadleu yn y ne'
Ei fywyd a'i farwolaeth
Anfeidrol yn fy lle.
M. R.

## 531 *Emyn genhadol.*

*mf* O GREENLAND oer, fynyddig,
O draethau India fawr,
Lle treigla dyfroedd Affrig
Eu tywod aur i lawr;
O lawer gwlad ddyfradwy,
O lanau'r palmwydd gwyrdd,
Erfyniant ein cynorthwy
Rhag coelgrefyddau fyrdd.

*mf* A allwn ni, oleuwyd
Drwy rad y nefoedd fry,
Nacâu goleuni bywyd
I'r sawl mewn t'wyllwch sy'?
*f* Cyhoedder iachawdwriaeth
A gorfoleddus lef,
Nes dysgo'r byd wybodaeth
O wir Eneiniog nef.

*f* Ewch, wyntoedd! ewch â'r newydd!
A chwithau, foroedd mawr!
Nes bo'i ogonawl gynydd
Yn llenwi daear lawr;
A'r Oen a roddes drosom
Ei waed yn aberth drud,
Deyrnaso mewn gogoniant
Yn Frenin dros y byd.
HEBER—CYF.

532 *Llwyddiant teyrnas Crist.*

*f* O! HENFFYCH i Fab Dafydd,
Eneiniog Arglwydd Iôr!
Ei deyrnas a ymledo
Dros gyrau tir a môr:
*cres.* Fe ddaw i ddryllio rhwymau,
A dwyn y caeth yn rhydd;
*mp* Tangnefedd a deyrnasa,
*cres.* Daw tywell nos yn ddydd.

*mf* Anwariaid o Arabia
A'i gwir addolant Ef,
A lluoedd o Ethiopia
Ddyrchafant ato'u llef;
*cres.* Daw llongau o'r ynysoedd
A'r gemau goreu gaed,
I dywallt cyfoeth moroedd
Yn deyrnged wrth ei draed.

*mf* Breninoedd a addolant
Yn isel ger ei fron,
A'r pethau goreu feddant
A roddant iddo'n llon:
*cres.* Daw holl genhedloedd daear
Yn isel wrth ei draed,
I'w foli am ei gariad,
A chanu am ei waed.

*f* Ei enw mawr fydd beunydd
Yn uchel îs y nef;
Tylwythau'r byd yn ufudd
A'i gwir ddyrchafant Ef:
*cres.* Tra byddo haul yn t'wynu
Dros wyneb daear lawr,
Bydd enw anwyl Iesu
Yn cael gogoniant mawr.

R. J.

533 *Y Cyfaill goreu.*

*mf* MAE Duw yn galw'r ie'nctyd,
I roddi blodau 'u hoes,
I Brynwr mawr eu bywyd—
Y Gwr fu ar y groes;
*cres.* O dan ei iau mae cysur,
Ac yn ei hedd ceir byw;
*f* Gwyn fyd a gredo ynddo—
Y Cyfaill goreu yw.

*mf* Hoff iawn yw'r Iesu grasol
O weled plant yn d'od
Yn nghyd yn llawen luoedd,
I seinio'n bêr ei glod;
*p* A phan maent yn gweddio,
Efe o'r nef a'u clyw;
*cres.* Fe'u llwyr fendithia hefyd,
*f* Y Cyfaill goreu yw.

*mf* Mor werthfawr ydyw breintiau
Ei holl ddysgyblion Ef;—
Bod dan ei nawdd a'i wenau,
Yw bendith fwya'r nef:
*cres.* 'Rol gadael gwlad y ddaear,
Cânt esgyn fry i fyw;
*f* A chanu byth mewn gwynfyd,
Y Cyfaill goreu yw. AN.

534 *Gogoniant Crist.*

*mf* PWY welaf fel f' Anwylyd,
Yn hyfryd ac yn hardd,
Fel ffrwythlon bren afalau,
'N rhagori ar goed yr ardd!
*cres.* Ce's eistedd dan ei gysgod
Ar lawer cawod flin;
A'i ffrwyth oedd fil o weithiau
I'm genau'n well na'r gwin.

J. T., P.

*mf* Gwell yw i mi na'r bywyd,
Hyfrytach yw ei wedd
Na dim ag sydd weledig
Yr ochr yma i'r bedd:
*cres.* Un awr yn ei gyfeillach
Can mil mwy gwerthfawr yw
Nag oesoedd maith diderfyn
O'r pleser goreu 'i ryw! W. W.

535 *Y Cwmwl tystion.*

*mf* MAE torf o waredigion
A'u gwisgoedd oll yn lân,
Ar ucheldera u Seion,
Yn beraidd iawn eu cân;
*cres.* Ond er y rhif a olchwyd,
Sydd yn y nef yn awr,
*f* Mae 'r ffynon yn ei rhinwedd
Yn ngwlad y cystudd mawr.

*mf* Mae cwmwl mawr o dystion
Yn iach yr ochr draw,
Y rhai fu yma 'n ffyddlon
Yn myd y poen a'r braw;
*cres.* Yn ol eu traed dilynwn,
Trwy 'n holl flinderau maith,
*f* Ar air ein Harglwydd pwyswn
Nes dod i ben y daith.

*mf* Er myn'd trwy 'r tân a'r dyfroedd,
Medd gair ein Iesu glân,
Ni'th foddir yn y moroedd,
Ni'th losgir yn y tân:
*f* Rhydd gyflawn waredigaeth
I'w eiddo cyn bo hir,
Cant seinio, Iachawdwriaeth,
O fewn y nefol dir. AN.

Rhif 121. AURELIA. M. 7.6.

*Doh* E♭. M. 76. S. S. WESLEY, Mus. Doc., 1810—1876.

:M | m :m | f :m | m :— | r :D | d :l | s :f | m :— | — || F | s :d' | d' :t
:D | d :d | d :d | d :— | t, :D | l, :d | d :t, | d :— | — || T, | d :d | r :r
:S | s :s | l :s | s :— | s :S | r :r | m :s | s :— | — || S | s :s | se :se
:D | d :d | d :d | s, :— | f, :M, | f, :f, | s, :s, | d :— | — || R | m :m | m :m,

t :— | l :S | f :s | m :d | r :— | — || R | m :f | s :l | l :— | s :D'
r :— | d :M | m :r | d :d | t, :— | — || T, | d :t, | d :d | d :— | d :M
se :— | l :T | d' :r' | s :fe | s :— | — || S | s :s | s :f | f :— | s :L
f, :— | f, :S, | l, :t, | d :l, | s, :— | — || S, | d :r | m :f | f :— | m :L,

d' :-.t | l :m | f :— | — || R | m :m | f :m | m :— | r :D | d :r | d :t, | d :— | — ||
m :-.m | m :m | r :— | — || R | d :d | d :d | l, :— | l, :L, | l, :l, | s, :s, | s, :— | — ||
l :-.se | l :l | l :— | — || S | s :s | l :s | s :— | f :F | f :f | r :f | m :— | — ||
m :-.r | d :de | r :— | — || T, | d :d | d :d | f, :— | f, :F, | r, :r, | s, :s, | d :— | — ||

## 536 *Daethant o'r Cystudd mawr.*

*mf* O DYRFA fawr ysbrydol!
O anllygredig lu!
Eu gynau 'n wŷn a olchwyd
*mp* Yn ngwaed eu Prynwr cu;
*cres.* Diflanodd eu holl ofnau,
Darfyddodd gwarth y groes;
*f* Pob galar, a phob cystudd,
Am byth oddi wrthynt ffoes.

*mf* Ni welir un o honynt
Byth mwy yn glaf, na gwan;
*cres.* Llawenydd a gorfoledd
O'r diwedd ddaeth i'w rhan;
*f* Y Brenin a'u harweinia
I'w ddinas hardd ei hun,
A'i ddelw ogoneddus
A ddygir gan bob un.

*mf* Am hyn, ei saint, rhyfeddwch!
Mawrygwch enw 'r Oen,
O'i wir ewyllys drosoch
*p* Fu 'n dyoddef marwol boen!
*cres.* Eich gwaith a fydd rhyfeddu,
A chanu tra bo chwyth—
*f* Ai garu a'i folianu,
A'i barchu 'n anwyl byth!

AN.

## 537 *Neb fel Iesu.*

*mf* NI feddaf neb fel Iesu,
Y mae 'n bob peth i mi,—
Yn llawn o gydymdeimlad
I wrando ar fy nghri.
*f* Mae heddyw 'n ddyrchafedig
Ar orsedd wen y nef,
Ond mae fy holl anghenion
Yn cael ei sylw Ef.

*mf* Ni feddaf neb fel Iesu
Drwy'r nef na'r ddaear lawr,—
*cres.* Neb fel Efe a'i hanes
I ladd fy llygredd mawr!
*f* Mae gwrando ar ei eiriau
Yn gwneyd fy ffydd yn gref,
A gras yn llanw f'enaid
Yn ei gymdeithas Ef.

*mf* Ni feddaf neb fel Iesu
I'm harwain ar fy nhaith,
*cres.* 'Rwy 'n ddiogel yn ei gwmni
Ar hyd yr anial maith.
*f* Ond imi lynu wrtho
Fe'm tywys hyd y nef,
I dreulio'r oes dragwyddol
Mewn gwynfyd gydag Ef.

J. R., C.

538 *Mawl am yr Iachawdwriaeth.*

mf FY Nuw! fy addfwyn Iesu!
Boed clod i'th Enw byth;
cres. Doed dynion i dy foli,
Fel rhif y boreu wlith;
f O! na b'ai gwellt y ddaear
Yn delyn aur bob un,
I ganu byth yn beraidd
I Dduw am dd'od yn ddyn.

mf O Iesu! pwy all beidio
Dy ganmol ddydd a nos,
p A phwy all beidio cofio
Dy ryfedd angeu loes?
cres. A phwy all beidio canu
Am iachawdwriaeth rad,
A gafodd deimlo gronyn
O rinwedd pur dy waed?

mf O Arglwydd! rho i mi dafod,
Na thawo ddydd na nos,
Ond canu heb ddiffygio,
Am rinwedd gwaed y groes:
cres. Pob gair a ddêl o'm genau,
Yn ddirgel ac ar g'oedd,
f Gaiff ddweyd fod Iesu hawddgar,
A'i ddeddfau, wrth fy modd.

W. W.

539 *Bedydd.*

mf NI awn ar ol yr Iesu
Drwy fedydd heddyw'n llon;
Mae'i gariad yn cynesu
Pob teimlad yn ein bron:
cres. Dirmygwn bob gwaradwydd,
Ymffrostiwn yn y groes;
A dilyn camrau'n Harglwydd
Fo'n hanian trwy ein hoes.

mf Ceir cynllun trefn y cadw
Mewn darlun yn y dòn;
Mae bywyd Crist a'i farw
Yn eglur ger ein bron:
cres. Cawn yma'i adgyfodiad
Ar foreu'r trydydd dydd;
Mor anwyl yw'r portread
Yn nghadw'n Seion sydd!

mf Ol traed ein Iesu ffyddlon
Sy'n anwyl iawn i ni;
A theimla'r pererinion
Ei wawd yn troi yn fri:
cres. Dilynwn ninau 'i gamrau
Drwy'r ordinhad fel hyn;
Cawn dderbyn o'i weniadau
Heb lén ar Seion fryn.

CERNYW.

540 *Yr Eglwys yn gorchfygu.*

mf CORONAU gwych y ddaear—
Gorseddau mawr eu bri—
Ddiflanant, O! mor gynar!
dim. Fel ewyn gwyn y lli';
mf Ond coron milwyr Iesu,
A gorsedd plentyn nef,
f Saif, er i'r haul dywyllu,
A siglo o'r ddaear gref.

f O! awn yn mlaen yn wrol,
Ar ol y dedwydd lu,
Ragflaenodd yn orchfygol,
Drwy byrth y ddinas fry;
cres. Mae sain eu pêr anthemau
Yn dianc dros y dòn—
Awn, awn, drwy anhawsderau
I blith y dyrfa lon.

f Yn mlaen, chwi filwyr ffyddlon!
Mae Duw yn galw 'n awr,
A byddin y gelynion
A'i rhif fel gwlith y wawr;
cres. Ond nerthoedd dwyfol Iesu
Sy'n ddigon ar ein rhan,
Cawn trwy y groes orchfygu
Pob gelyn yn y man!

f Mae eglwys Dduw yn symud
Fel byddin ar ei thaith;
Ei Brenin yw ei bywyd
Drwy'r holl anialwch maith;
cres. Un ydyw'r dyrfa addas,
Un Arglwydd iddi sydd;
Un cariad trwy 'r gymdeithas,
Un gobaith, ac un ffydd.

EFEL. CERNYW.

541 *Crist yn bobpeth pechadur.*

mp O ARGLWYDD! dangos ini,
Werthfawredd Aberth Crist,
Fel mae 'n dy lwyr foddloni,
Ar ran pechadur trist;
cres. Amlyga 'i ras anfeidrol,
Yn ngoleu Calfari,
Yn rhoddi Iawn, tragwyddol
Ddigonol, drosom ni.

mp Dadguddia 'i urddas dwyfol,
A'i bur gymeriad Ef,
cres. Dros enaid edifeiriol,
Yn eiriol yn y nef;
mf O! 'i nefol gyfaddasder,
Ar gyfer angen byd,—
f Trysorwyd holl gyflawnder,
Y Duwdod ynddo 'i gyd!

f Rhyfeddu ei ogoniant,
A wna 'r angylion glân,
A'i glodydd Ef ddyrchafant,
Yn eu tragwyddol gân;
cres. Teilynga fel Creawdwr,
Eu perffaith glod a'u bri,
Faint mwy fel ein Gwaredwr,
Yr haedda 'n moliant ni! M.

Rhif 122. **MEIRIONYDD.** M. 7.6.

*Doh* **F.** M. 72. Alaw Gymreig.

```
                                                                          D.C.
|S  :-.f |m  :m.r |d  :r.m |f  :—  |m  :S  |f  :m  |f.m:r  |d  :— ||
|D  :—   |d  :t,  |l, :t,  |d  :—  |d  :T, |d  :d  |l, :t, |d  :— ||
|M  :—   |s  :s.f |m  :s   |l  :—  |s  :S  |d  :m  |r  :s.f |m  :— ||
|D  :—   |d  :s,  |l, :s,  |f, :—  |d  :S, |l, :d  |f, :s, |d  :— ||

|S  :—   |l  :s   |l  :t   |d' :—  |s  :M  |s  :l  |s  :m  |r  :—
|D  :—   |d  :d   |d  :r   |m  :—  |d  :D  |d  :d  |d  :d  |t, :—
|M  :—   |f  :s   |f  :f   |s  :—  |m  :S  |m  :f  |s  :s  |s  :—
|D  :—   |f  :m   |f  :r   |d  :—  |d  :D  |d  :f  |m  :d  |s, :—

|M  :-.r |d  :d.r    |m  :m.r |m  :fe |s  :D  |m  :s  |f.m:r  |d  :— ||
|T, :—   |l, :l,.t,  |d  :s,  |d  :—  |t, :S, |d  :d  |l, :t, |d  :— ||
|S  :-.f |m  :m.s    |s  :s   |m  :r  |r  :M  |s  :d  |r  :s.f |m  :— ||
|S, :—   |l, :l,.s,  |d  :t,  |l, :r  |s, :D  |d  :m, |f, :s, |d  :— ||
```

542 *Molwch yr Arglwydd.*

*f* O! CENWCH fawl i'r Arglwydd,
Y ddaear fawr i gyd,
Ac am ei iachawdwriaeth
Molienwch Ef o hyd;
Mynegwch ei ogoniant—
Tra dyrchafedig yw,
Mae'n ben goruwch y duwiau—
Mae'n Arglwydd dynol ryw.

*mf* Holl dduwiau y cenhedloedd,
Eilunod ŷnt i dân,
Y Duw a wnaeth y nefoedd
Yn unig haedda gân;
*cres.* Mae'i sanctaidd nefol drigfa,
Yn harddwch pur digoll;
*f* O! doed trigolion daear
I'w ogoneddu oll.

*f* Rhowch iddo aberth moliant,
Ymgrymwch ger ei fron,
Yn brydferth mewn sancteiddrwydd
Molienwch Ef yn llon;
*cres.* Ac ofned pob creadur
Yr hwn sy'n dal y byd,
*ff* Ymlawenhaed y nefoedd
A'r ddaear ynddo 'nghyd.

R. J.

543 *Mawl i'r Iesu.*

*mf* PA le, pa fodd dechreuaf
Folianu'r Iesu mawr?
*cres.* Olrheinio 'i ras ni fedraf—
Mae'n llenwi nef a llawr;
*f* Anfeidrol ydyw'r Ceidwad,
A'i holl drysorau 'n llawn,
Diderfyn yw ei gariad,
Difesur yw ei ddawn.

*mf* Trugaredd a gwirionedd
Yn Ngrist sy'n awr yn un,
Cyfiawnder a thangnefedd
Yn nghyd am gadw dyn;
Am Grist a'i ddyoddefiadau,
Rhinweddau marwol glwy,
*f* Y seinir pêr ganiadau,
I dragwyddoldeb mwy.

*f* O! diolch am Gyfryngwr—
Gwaredwr cryf i'r gwan!
O! am gael ei adnabod—
Fy Mhriod, a fy Rhan!
Fy ngwisgo â'i gyfiawnder
Yn hardd ger bron y Tad,
A derbyn o'i gyfiawnder
Wrth deithio 'r anial wlad!

R. E.

**544** *Clwyfau Iesu.*

*mf* CAED modd i faddeu beiau,
A lle i guddio pen,
Yn nghlwyfau dyfnion Iesu,
*p* Fu'n gwaedu ar y pren:
*f* Anfeidrol oedd ei gariad,
*dim.* Annhraethol oedd ei gur,
*p* Wrth farw dros bechadur,
O dan yr hoelion dur!

*mf* Daeth ini iachawdwriaeth
Drwy rinwedd gwaed ei groes;
Caed ini bob cyflawnder
Er mwyn ei farwol loes:
*mp* Y gyfraith lân droseddwyd
*cres.* A ga'dd foddlonrwydd llawn—
*f* Cyfiawnder ogoneddwyd
Yn ei anfeidrol Iawn. M. O.

**545** *Crist yn ddigon.*

*mf* MAE Crist a'i w'radwyddiadau,
A'i groesau o bob rhyw,
Yn ddigon im'i farw,
Yn ddigon im'i fyw;
*f* Can's yn ei groes mae coron,
Ac yn ei wawd mae bri,
A thrysor yn ei gariad
Sydd fwy na'n daear ni.

*mf* Rho brofi grym dy gariad,
Sydd annherfynol fôr,
I'm tynu tua'r bywyd
Fy Nuw! a'm cadarn Iôr!
*f* Goleuni haul Cyfiawnder,
A'i nefol hyfryd wrês
A ddwg fy ysbryd egwan
I'r nefoedd wen yn nês. AN.

**546** *Awel mynydd Seion.*

*mf* O ARGLWYDD! dyro awel,
A hono'n awel gref,
A godo f' ysbryd egwan
O'r ddaear hyd y nef!
*cres.* Yr awel sy'n gwasgaru
Y tew gymylau mawr,
Mae f' enaid am ei phrofi—
*f* O'r nefoedd doed i lawr.

*mf* Awelon mynydd Seion
Sy'n enyn nefol dân,
Awelon mynydd Seion
A nertha 'nghamrau 'mlaen
*f* Dan awel mynydd Seion
Mi genais beth cyn hyn;
Mi ganaf ronyn eto,
Nes d'od i Seion fryn. D. W.

**547** *Duwioldeb a gwirionedd yn elw.*

*mf* DUWIOLDEB ydyw'r elw,
A phobpeth ganddi sy,
Yn eisieu ar y ddaear
Ac yn y nefoedd fry;
*cres.* Mae'n meddu ar addewid
O'r bywyd sydd yn awr,
A'r hwn sy'n para hefyd
I dragwyddoldeb mawr. J. H., M.

*mf* Gwirionedd, dan ei enw,
Sydd berl ac elw glân;
Ni threulir, ac ni thoddir,
Ni losgir gan y tân;
*cres.* Gwirionedd saif yn gywir,
Yn gadarn iawn bob darn,—
*f* Yn gadarn ar y ddaear,
Yn gadarn yn y farn. AN.

**548** *Angeu'r Groes.*

*mp* DWY fflam ar ben Calfaria,
Gwrddasant yno 'nghyd;—
*cres.* Fflam cariad at bechadur,
*dim.* Fflam goch y dwyfol lid:
*mf* A'u mwg yn dringo i fyny
Nes cuddio sêr y nen,
*mp* A'r Iesu rhwng y ddwy fflam
*pp* Yn marw ar y pren!

*mf* Mwy'r clod, a mwy yr enw,
A gaiff y nefoedd mwy,
Am gadw pryfyn marwol,
Trwy rinwedd marwol glwy',—
*f* Na thrwy gyfiawnder perffaith,
O'i eiddo ef ei hun,
Trwy gadw'r holl orch'mynion,
Erioed heb dori'r un.

*mf* Mwy rhyfedd y cyfiawnder,
Helaethach ydyw'r dawn
Sydd yn ufudd-dod Iesu
Ar Galfari brydnawn;
*f* Ca'dd deddf ei hanrhydeddu—
Rhoed coron ar ei phen,
*mp* Pan redodd gwaed y Meichiau
*p* Yn ffrydiau ar y pren. C. E.

**549** *Calon newydd.*

*mf* O DDUW! rho galon newydd,
Ac yspryd at dy waith,
A'th ddwyfol gyfarwyddyd
I'm tywys ar fy nhaith;
*cres.* Fy ngolwg f'o ar Iesu,
Y teilwng Faenor mawr,
A'i ganlyn Ef a wnelwyf
Tra byddwyf ar y llawr. W. W.

Rhif 123. EWING. M. 7.6.

*Doh* D. M. 72. A. EWING, 1830.

```
:D  |r  :d  |f  :m  |r  :—  |d  :M  |s  :d' |t  :se |l  :—  |— ‖ L  |s  :m  |m  :r
:S, |s, :s, |d  :d  |t, :—  |d  :D  |d  :m  |m  :r  |d  :—  |— ‖ F  |m  :d  |t, :se,
:M  |f  :m  |l  :s  |f  :—  |m  :M  |m  :s  |se :t  |l  :—  |— ‖ D' |d' :s  |se :m
:D  |d  :d  |d  :d  |s, :—  |l, :D  |d  :d  |m  :m  |l, :—  |— ‖ F, |d  :d  |m  :m,

d  :—  |r  :M  |m  :m  |r  :d  |r  :—  |— ‖ R  |f  :m  |l  :t  |d' :—  |r' :S
l, :—  |t, :D  |d  :d  |l, :l, |t, :—  |— ‖ T, |d  :d  |d  :m  |m  :—  |s  :S
m  :—  |s  :S  |s  :s  |f  :m  |s  :—  |— ‖ S  |l  :s  |l  :se |l  :—  |t  :T
l, :—  |s, :D  |d  :d  |f, :l, |s, :—  |— ‖ S, |f, :d  |f  :m  |l  :—  |s  :S

m' :-.m' |r' :d' |t  :—  |— ‖ L |s  :m  |m  :r   |d  :—  |r  :M  |m  :m  |r  :-.d |d  :—  |— ‖
s  :s    |l  :f  |s  :—  |— ‖ R |s  :d  |t, :se, |l, :—  |t, :D  |d  :d  |t, :-.d |d  :—  |— ‖
d' :d'   |d' :d' |r' :—  |— ‖ T |d' :s  |se :m   |m  :—  |s  :S  |s  :s  |f  :-.m |m  :—  |— ‖
d  :d    |f  :l  |s  :—  |— ‖ F |m  :d  |m  :m,  |l, :—  |s, :D  |d  :m, |s, :-.d |d  :—  |— ‖
```

## 550 *Y Ddinas Nefol.*

*mf* 'RWY'N teithio trwy'r anialwch,
A'm gwyneb tua 'r wlad,
Lle mae fy nghartref dedwydd—
Trigfanau Tŷ fy Nhad.
*cres.* 'Rwy'n methu, gan y pellder,
A chael rhyw olwg glir,
*mp* Er hyny, trwy fy nagrau,
*cres.* 'Rwyf weithiau 'n gwel'd y tir.

*mf* Mae pyrth y Ddinas Sanctaidd
O'r meini uwcha' 'u clod,
A'i holl heolydd hawddgar
O'r aur perffeithia' 'n bod.
*cres.* Yn llifo trwy ei heol
Mae afon loyw, glir,
Ac ar ei glanau hyfryd
Tŷf Pren y bywyd pur.

*mf* O! henffych Ddinas ddysglaer,
Yr Orsedd wen yw'th wawl,
A'r Iesu 'n eistedd arni
Yn derbyn bythol fawl!
*cres.* O'i gylch mae'r gwaredigion,
Mewn gwisgoedd gwynion, glân,
*f* I gordiad aur delynau,
*rall.* Yn eilio 'r ddwyfol gân.

## 551 *Ail Ran.*

*mf* 'RWYF finau 'n tynu i fyny
Am diroedd Beulah deg,
Ac yma 'n dechreu teimlo
Rhyw beraroglau chweg,
*cres.* A gludir gan yr awel
O erddi 'r nefol wlad;—
*f* Nes gwneyd i'm calon lamu
Am gyrhaedd Tŷ fy Nhad!

*mf* 'Rwy' 'n darllen bod angylion,
Er symud poen ac ofn,
Yn cwrdd y Pererinion
Tu yma i'r afon ddofn;
*cres.* Ac weithiau 'rwyf yn canfod,
Trwy'r caddug sydd ar daen,
*mp* Ryw ambell aden ddysglaer
Yn hollti 'r niwl o'm blaen!

*mf* O! 'r tir dymunol! tyred,
A llanw f' ysbryd i,
Nes collwyf fy marwoldeb
A hedeg uwch y lli,
*cres.* Yn ysbryd pur, anfarwol,
Yn llawn o'r nefol hoen,
*f* I uno a'r dyrfa ddedwydd
*rall.* Am byth i foli 'r Oen. S.

552 *Ierusalem Oreurog.*

*mf* IERUSALEM oreurog,
O laeth a mel yn lli!
Mae syllu ar dy degwch
*dim.* Yn llethu 'm teimlad i;
*cres.* Nis gwyddom pa lawenydd
O'th fewn a gawn fwynhau;
*f* Pa fesur o ogoniant,
Pa wynfyd i barhau.

*f* Mae muriau hawddgar Seion
Yn llawn o fawl a chân,—
A seinir gan y seintiau
A'r holl angylion glân;
Tywysog iachawdwriaeth
Breswylia gyda hwy,—
Fe'u harwain at ffynonau
O ddyfroedd bywiol mwy.

*p* O hyfryd ardal ddedwydd—
Cartrefle teulu Duw!
*cres.* Mae hiraeth ar ein calon
Am fyned iddi i fyw.
*mf* Yr Iesu yw 'r arweinydd
A'n dyg i mewn i'r nef;
*f* Boed byth yr holl ogoniant
*rall.* A'r moliant iddo Ef. Cyf. E. R.

553 *Y Cristion am fyn'd Adref.*

*mp* O DDUW! rho olwg newydd
Ar gyrau 'r hyfryd wlad,
Lle tyfa pren y bywyd
A ffrwythau 'r cariad rhad;
*cres.* Lle mae pob gwir hyfrydwch,—
Danteithion Canaan lon,
*mf* A lluoedd maith yn gwledda
Yn siriol ger dy fron.

*mp* Mae f' enaid yn hiraethu
Am gael fy rhoddi 'n rhydd,
A myned at fy mrodyr
Sydd wedi cael y dydd;
*cres.* Ar ddysglaer wedd fy Mhriod,
Heb drallod, briw, na phoen,
*f* Lle pery 'r gân ddiddarfod
*rall.* Am rinwedd gwaed yr Oen! An.

554 *Plant yr adgyfodiad.*

*mf* DAW tyrfa 'n iach i'r nefoedd
O deithio 'r anial blin,
O ganol maith dymhestloedd
I hafaidd dyner hîn;
*cres.* Wrth lanio 'n nhir y gwynfyd,
Daw Duw i'w cwrddyd hwy,
*mp* Yn swyn ei wenau hyfryd
Nis gallant farw mwy!

*p* Mae marw ar y ddaear
Yn chwerwi pob mwynhad
Fe droir y gân yn alar
I deulu'r anial wlad!
*cres.* Ond wedi cyrhaedd Canaan,
Diangol ydynt hwy,
*mp* Yn hinsawdd Duw ei hunan
Nis gallant farw mwy!

*mf* Ni chyrhaedd awel angeu
Hyd gyrion dinas Duw,
Ni threiddia drwy ororau
Y wlad o burdeb byw;
*cres.* Ni ddaw byth gwmwl adfyd
A'i gysgod drostynt hwy,
*mp* O deulu glan y gwynfyd!
Nis gallant farw mwy!

*p* Mae bywyd *yma* 'n ddefnyn
*mf* Ond *yno* 'n fôr fe fydd,
*p* Ceir *yma* 'r gwan belydryn
*mf* Ceir *yno* 'r perffaith ddydd.
*cres.* Mae hiraeth arnom weithiau
Am gyrhaedd gwlad ddiglwy,
*f* A chyfarch gwawr y boreu—
*rall.* Nas gallwn farw mwy! Cernyw.

555 *Yr anian newydd.*

*mf* MAE'N rhaid i'r anian newydd,
A blanwyd gan fy Nhad,
I gael ei maeth a'i chynydd
O ffrwythau'r Ganaan wlad:
*cres.* Nid oes dim ymborth iddi
Yn holl drysorau'r llawr,
Mae'i thynfa ar i fyny—
*rall.* O'r nefoedd daeth i lawr. An.

556 *Bedydd.*

*mf* O! DDARLUN byw, sylweddol,
Yw bedydd perchen ffydd,
*p* O farw'r Iesu grasol
*mf* A'i godi'r trydydd dydd!
*p* Mae swn gruddfanau'r Ceidwad
I'w clywed yn y dòn,
*cres.* A goleu'r adgyfodiad
Dywyna ger ein bron.

*mf* Cawn weled y credadyn
Yn selio'r undeb byw,
Gan ado'r byd, i ddilyn
Yn gyflawn iawn ei Dduw:
*p* Fe'i cleddir gyda'r Iesu
O dan y dòn yn awr;
*f* A chyfyd i deyrnasu
*rall.* Drwy rin ei Brynwr mawr.
Cernyw.

# BALA. M. 7.6.

R. H. PRICHARD.

*Doh* G. M. 72. *D.C.*

:D | m :-.d | r :m | d :r | — :M | s :-.f | m :r | d :— | — || R | $t_1$ :-.d | r :m
:$S_1$ | $s_1$ :-.$l_1$ | $t_1$ :d | d :$t_1$ | — :D | d :-.d | d :$t_1$ | d :— | — || $S_1$ | $s_1$ :-.$s_1$ | $s_1$ :$s_1$
:M | d :-.m | s :s | s :s | — :S | s :-.l | s :f | m :— | — || $T_1$ | r :-.d | $t_1$ :d
:$D_1$ | d :-.$l_1$ | $s_1$ :$d_1$ | $m_1$ :$s_1$ | — :D | $m_1$ :-.$f_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $d_1$ :— | — || $S_1$ | $s_1$ :- $s_1$ | $s_1$ :d

f :— | m :S | l :s | f :m | r :— | — || M.f | s :-.f | m :f | s :— | f :F
$l_1$ :— | $s_1$ :D | d :d | d.$t_1$ :d | $t_1$ :— | — || $S_1$ | d :-.$t_1$ | d :d | d :— | d :$T_1$
d :— | d :M | f :s | s :s | s :— | — || S | s :-.s | s :d | d :s | s :S
$f_1$ :— | d :D | f :m | r :d | $s_1$ :— | — || D.r | m :-.r | d :$l_1$ | $m_1$ :— | $r_1$ :$S_1$

://:

m :m | r :r | d :-.r | m || F | s :-.f | m :f | s :— | f :F | m :m | r :r | d :— | — ||
d :d | d :$t_1$ | $l_1$ :-.$t_1$ | d || $T_1$ | d :-.d | d :d | d :$s_1$ | $s_1$ :$S_1$ | $s_1$ :d | d :$t_1$ | d :— | — ||
s :s | l :s.f | m :-.s | — || S | s :-.s | s :d | d :— | $t_1$ :$T_1$ | d :s | l :s.f | m :— | — ||
$d_1$ :$m_1$ | $f_1$ :$s_1$ | $l_1$ :-.$s_1$ | d || R | m :-.r | d :$l_1$ | $m_1$ :— | $r_1$ :$S_1$ | d :$m_1$ | $f_1$ :$s_1$ | $d_1$ :— | — ||

**557** *Y Cristion yn ymgysuro.*

*mf* FY enaid, paid ag ofni,
Mi welaf gyrau'r wlad—
Fy etifeddiaeth werthfawr—
Terfynau tŷ fy Nhad:
*cres.* Caf yno wledda 'n hyfryd
Ar ffrwythau 'r Ganaan bêr,
*f* A llawenhau mewn gwynfyd
Tragwyddol uwch y ser.

*mf* Caf yno weled Iesu,
*p* Fu farw yn fy lle,
*mf* I'm prynu a'm sancteiddio,
A'm dwyn i deyrnas ne;
*cres.* Caf orphwys yn ei fynwes,
Heb aflonyddwch mwy;
*f* A chanu byth heb dewi
Am ras ei farwol glwy'.

*mf* Mae hiraeth yn fy nghalon
Am wel'd yr hyfryd ddydd,—
Gwel'd dorau'r bedd yn agor,
A'r pwrcas mawr yn rhydd;
*cres.* Y gaethglud yn dod adref,
Yn iach i dir eu gwlad,—
*f* Mewn llawen hwyl yn canu
Am iachawdwriaeth rad.

J. J., D.

**558** *Mae digon eto o le.*

*mf* MAE Salem heb ei llanw,
Rhaid cael y llwythau'n nghyd,
O bob rhyw iaith a phobloedd,
O bedwar gwynt y byd;
*cres.* Daw tlodion ac efryddion,
A gwywedigion gwan,
*f* Yn lluoedd dirifedi,
I Seion yn y man.

W. W.

*mf* O Arglwydd! galw eto
Fyrddiynau ar dy ol,
A dryllia'r holl gadwynau
Sy'n dal eneidiau'n ol;
*cres.* O! galw hwynt o'r Dwyrain,
Gorllewin, Gogledd, De',
*f* I'th eglwys yn ddiatal,
Mae digon eto o le.

D. J.

**559** *Nid yw Efe yma.*

*p* BU Iesu yn y ddalfa
Gan wyr y gwaewffyn,
Bu farw dan yr hoelion
Ar ben Calfaria fryn:
Fe'i rhoed mewn craig i orwedd
Ar waelod bedd dan gudd:
*cres.* Er gwaetha'r maen a'r milwyr,
Cyfodai 'r trydydd dydd!

AN.

## RHYDDID. M. 7.6.

Alaw Gymreig.

*Doh* G. M. 76.

```
                                                              D.C.
|D :— |s, :d |m :m.r |d :— |r :D |m :l |s :f |m :— |r :— |d :— ||
|S, :— |s, :s, |d :t, |l, :— |t, :S, |d :— |— :d |d :— |t, :— |d :— ||
|M :— |m :m |m :s.f |m :— |s :M |s :f |m :l |s :— |— :f |m :— ||
|D :— |d :d |l, :s, |l, :— |s, :D, |d :— |— :f, |s, :— |s, :— |d :— ||

                                                   D.C.
|M :— |s :m |l :s |f :— |m :M |d :m |s :m |r :— ||
|D :— |r :d |d :d |l, :t, |d :D |d :d |r :d |t, :— ||
|S :— |s :s |f :s |l :s |s :S |s :s |r :m |s :— ||
|D :— |t, :d |f :m |r :s, |d :D |m :d |t, :d |s, :— ||
```

### 560 *Cariad Duw.*

*mf* RHYFEDDOD oedd y cariad
At wael golledig ddyn;
Rhy fach o le i'w gynwys,
Oedd mynwes Duw ei hun;
*f* Fe redodd yn llifeiriol,
O'r nefoedd wen i lawr,
I achub myrdd myrddiynau
O bechaduriaid mawr.

*mf* Un olwg ar yr Iesu,
Ar fynydd Calfari,
A dawdd y galed galon,
Anfoddlon sy' ynof fi;
*f* Dystawa'r holl daranau,
A'r bygythiadau gaed,
Fe gwymp euogrwydd pechod,
I ganol môr o waed.

AN.

### 561 *Dydd y Cyfrif.*

*mf* Y GWR fu ar Galfaria
A welir ddydd a ddaw,
Yn eistedd ar ei orsedd,
A'r glorian yn ei law;
A phawb a gesglir ato,
I'w pwyso ger ei fron:—
*cres.* O f' enaid! cais dduwioldeb
A dry y glorian hon!

*mf* Boed cofio dydd y cyfrif,
Sy'n dyfod cyn bo hir,
I'm dwyn yn awr i lefain
O'm calon am y gwir:
*cres.* 'Rwy'n ofni twyllo 'm hunan—
O Dduw! didwylla fi!
Nid oes a ddeil ei bwysau,
Ond gwaith dy Ysbryd Di!

AN.

### 562 *Calfaria.*

*mf* CALFARIA gaiff ei gofio
Pan losgo'r ddaear lawr,
A'r Iawn a roes yr Iesu
Gaiff ei ryfeddu yn fawr:
*f* Rhyw dyrfa lân ddiflino
A seiniant "Iddo Ef,"
Calfaria fydd y testyn
Ar delyn aur y nef.

*mf* Calfaria gaiff ei gofio
Pan d'wyllo haul y nen,
A threulio maith flynyddau
Y byd a'i oesau i ben;
*f* Rhyw lawen Haleliwia
Am ben Calfaria fydd,
Pryd hyn bydd plant y tonau
Dros byth o'u rhwymau'n rhydd.

*mf* Calfaria ni annghofir
Tra gwelir ol y gwaed
An clirio'r holl gysgodau,
Trwy'r gwyrthiau mawr a gaed:
*f* Calfaria ydyw'r anthem
Gan luoedd Salem lân,
A phoenau'r gwaith gorphenol
Fydd eu tragwyddol gân.

R. AB G. DDU.

### 563 *Dydd y Farn.*

*p* MAE sŵn y farn ddiweddaf
Wrth dd'od o hirbell draw,
*cres.* Yn gwaeddi, "Mynwch ddigon
I ddal y dydd a ddaw!
*p* Yn nghau bydd drws trugaredd,
Pan ddelo 'r Barnwr mawr!"
*cres.* Am hyny, O! fy enaid,
Dos ato Ef yn awr.

W. W.

# ELIJAH. M. 7.6.

*Doh* E♭. M. 76. MENDELSSOHN, 1809—1847.

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D.r | m :l | s :f | m :— | m :M | s :f.m | r :r | d :— | — | |
| :$S_1$ | d :d | $t_1$ :r | d :— | d :D | d :d | d :$t_1$ | d :— | — | |
| :M.f | s :f.m | r :s | s :— | s :L | s :l | r :f | m :— | — | |
| :D | d :$f_1$ | $s_1$ :$t_1$ | d :— | d :$L_1$ | $m_1$ :$f_1$ | $s_1$ :$s_1$ | d :— | — | |

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D.r | m :l | l :s | f :— | m :M | s :f.m | r :r | d :— | — | |
| :$S_1$.$t_1$ | d :m | m :m | r :d | $t_1$ :D | d :d | d :$t_1$ | d :— | — | |
| :M.f | s :d' | d' :d' | l :— | se :L | s :l | f :f | m :— | — | |
| :M.r | d :$l_1$ | $l_1$.$t_1$ :d | r :— | m :$L_1$ | $m_1$ :$f_1$ | $s_1$ :$s_1$ | d :— | — | |

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :R | r :m | f :f | m :— | m :L | d' :l | m :fe | s :— | — | |
| :$T_1$ | $t_1$ :de | r :r | d :— | d :R | d :m | m :r.d | $t_1$ :— | — | |
| :S | s :s | l :l | l :— | l :F | m :d'.t | l :l | s :— | — | |
| :S | f :m | r :r | $l_1$ :— | $l_1$ :$L_1$ | $l_1$ :$l_1$.$t_1$ | d :r | $s_1$ :— | — | |

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | s :m | f :s | l :— | l :S | f :m | r :r | d :— | — | |
| :R | d :d | d :r.m | f :— | f :D | d :d | d :$t_1$ | d :— | — | |
| :F | m :s | d' :ta | l :— | d' :D' | f :l | r.m :f | m :— | — | |
| :$T_1$ | d :$ta_1$ | $l_1$ :$s_1$ | $f_1$ :— | $f_1$ :$M_1$ | $l_1$ :$f_1$ | $s_1$ :$s_1$ | d :— | — | |

## 564 *Digonolrwydd yr Aberth.*

*mp* NID yw y byd a'i bethau
Ond gwael deganau i gyd;
Nid oes un gwrthddrych ynddo
I roddi arno 'mryd.
*cres.* Yn aberth mawr Calfaria,
Fy unig noddfa wnaf;
Pan ballo 'r byd a'i wagedd,
*f* Digonedd ynddo gaf.

*mp* Pan fyddo Sinai danllyd
Yn crynu dan fy nhraed,
Cyfiawnder fflamllyd, purwyn,
A'r ddeddf, yn gofyn gwaed;
*cres.* Yn aberth mawr Calfaria,
Fy unig noddfa wnaf;
Tawelwch rhag dialedd,
*f* Digonedd ynddo gaf.

*mf* Pan egyr pyrth marwolaeth,
Y dydd gwneir angeu 'n sarn,
A'r Iesu ar ei orsedd
Yn agor llyfrau 'r farn;
*cres.* Yn aberth mawr Calfaria,
Fy unig noddfa wnaf;
Ymguddfa a thangnefedd,
*f* Digonedd ynddo gaf.

TALIESIN O EIFION.

## 565 *Yr awr weddio.*

*mp* YR awr weddio garaf,—
Arferaf drwy fy oes,
Er mwyn y ddau gwrdd gweddi,—
Yr ardd, a bryn y groes;
*cres.* Y Gwr weddiodd yno
Sy'n awr yn gwrando'n cri,
*f* A digon yn ei wrando,
I'n llwyr fendithio ni. A. G. M.

## 566 *Adgyfodiad Crist.*

*mf* ER gwaetha'r maen a'r milwyr,
Fe gododd Iesu'n fyw,
Daeth yn ei law alluog
A phardwn dynol ryw:
*cres.* Gwnaeth etifeddion uffern
Yn etifeddion nef;
*f* Fy enaid, byth na thawed
A chanu iddo Ef.

*f* Boed iddo'r holl ogoniant,—
Iachawdwr mawr y byd;
Mae arnaf rwymau i'w ganmol,
Pe byddai pawb yn fud:
*p* Mae'n medru cydymdeimlo
A'r gwaela' o lwch y llawr!
*cres.* A charu heb gyfnewid
*f* I dragwyddoldeb mawr. M. R.

*Doh* B♭. M. 80. Alaw Germanaidd.

:S, |d :t,.l, |s, :d |m, :f, |s, :S, |l,.t,:d |r :r |m :— |— ||
:S, |d :t,.l, |s, :s, |m, :r,.d, |r, :M, |f, :s, |l, :s, |s, :— |— ||
:S, |d :t,.l, |s, :d |d :— |t, :D |d :d |d :t, |d :— |— ||
:S, |d :t,.l, |s, :m, |l, :— |s, :D, |f, :m, |f, :s, |d, :— |— ||

:S, |d :t,.l, |s, :d |m, :f, |s, :S, |l,.t,:d |d :t, |d :— |— ||
:S, |d :t,.l, |s, :s, |m, :r,.d, |r, :M, |f, :m,.f, |s, :s, |s, :— |— ||
:S, |d :t,.l, |s, :d |d :— |t, :D |d :d |r :r |m :— |— ||
:S, |d :t,.l, |s, :m, |l, :— |s, :D, |f, :l, |s, :s, |d, :— |— ||

:D .r |m :r |m :f |r :t,.d |r :D .r |m :r |m :f |r :— |— ||
:M,.f, |s, :s, |s, :l, |s, :— |s, :M,.f, |s, :s, |s, :l, |s, :— |— ||
:D |d :r |d :d |t, :s,.l, |t, :D |d :r |d :d |t, :— |— ||
:D |d :t, |d :f, |s, :— |s, :D |d :t, |d :f, |s, :— |— ||

:S, |d :t,.l, |s, :d |m, :f, |s, :S, |l,.t,:d |d :t, |d :— |— ||
:S, |d :t,.l, |s, :s, |m, :r,.d, |r, :M, |f, :m,.f, |s, :s, |s, :— |— ||
:S, |d :t,.l, |s, :d |d :— |t, :D |d :d |r :r |m :— |— ||
:S, |d :t,.l, |s, :m, |l, :— |s, :D, |f, :l, |s, :s, |d, :— |— ||

## 567 *Craig yr Iachawdwriaeth.*

*f* O! GRAIG yr Iachawdwriaeth!
Lle mae ffynonau byw,
A'r afon loyw ddysglaer—
Llawenydd dinas Duw!
*cres.* Mae ynddi fêl, ddigonedd,
A bara ar ein rhan,
A gwin i loni 'r ysbryd,
A llaeth i faethu 'r gwan.

*f* Y Graig nas gall gelynion,
Pe baent o rif y dail,
Fyth ddringo dros ei muriau
Na chloddio dan ei sail:
*cres.* Crist yw fy Nghraig dragwyddol
Lle cefais guddio 'mhen—
*ff* Clod iddo ar ei filfed,
Fy enaid cân! Amen! W. W.

## 568 *Enw Iesu.*

*mf* FEL enaint tywalltedig,
Bydd enw Iesu mwy;
Fe deimlir trwy 'r holl ddaear
Rinweddau marwol glwy';
Y bwystfil a'r gau-brophwyd,
Ni safant ddim o'i flaen;
*f* Mae angerdd fflam ei gariad
Yn llosgi fel y tân.

*f* 'Byth iddo Ef a'n carodd',
Yw cân y nef yn awr,
Gan engyl glân gogoniant,
A phlant y cystudd mawr;
Ond rhaid i Gabriel dewi
Yn nghanol ty ei Dad,
Pan fyddo 'r saint yn dyblu—
*mp* 'A'n prynaist trwy dy waed'!
C. E.

## 569 *Ymgnawdoliad Crist.*

*p* ER colli Pren y bywyd,
*cres.* Caed arall yn ei le,
*mf* A'i ddail a'i ffrwythau 'n iechyd
I filoedd îs y ne':
*f* Mae 'n lloches rhag ystormydd,
Lle llecha dynolryw;
A'i wraidd wrth afon bywyd,
Sydd dan orseddfainc Duw.

*f* O'r diwedd daeth y boreu,
I Seion lawenhau;
Daeth nefoedd at y ddaear—
Daeth Iesu i'n rhyddhau:
*cres.* Mae wedi agor llwybr
O'r ddaear hyd y nen,
A drysau 'r wir Baradwys
Agorodd led y pen. An.

## Rhif 128. ABERTAWE. M. 7.6.

*Doh* A♭. M. 72. O Psalmydd Marot, 1495—1544.

```
|L, :—  |m  :m   |m  :r   |d  :—  |t,  :T,    |d   :m    |m  :r   |m  :—
|M, :—  |m, :se, |l, :l,  |l, :—  |se, :S,    |s,  :s,   |s, :s,  |s, :—
|D  :—  |t, :t,  |d  :f   |m  :—  |m   :R     |d   :d    |d  :t,  |d  :—
|L, :—  |se,:m,  |l, :r,  |m, :—  |m,  :S,    |m,  :d,   |s, :s,  |d  :—

|M  :—  |l  :l   |s  :fe  |m  :—  |m   :R     |d   :l,.t,|d  :t,  |l, :—
|L, :—  |l, :d   |t, :t,  |s, :—  |s,  :Se,   |l,  :l,   |l, :se, |l, :—
|D  :—  |m  :m   |m  :re  |m  :—  |m   :M     |m   :m.f  |m  :r   |d  :—
|L, :—  |d  :l,  |t, :t,  |m  :—  |m,  :M,    |l,  :d,.r,|m, :m,  |l, :—

                                  E♭.t.
|L, :—  |d  :t,  |d  :r   |m  :—|r   :^mL     |d'  :l    |l  :se  |l  :—
|L, :—  |l, :se, |l, :s,  |s, :—|s,  :^t,M    |m   :m.f  |m  :m   |m  :—
|D  :—  |m  :m   |m  :r   |d  :—|t,  :^t,M    |l   :l    |d' :t   |d' :—
|L, :—  |l, :m,  |l, :t,  |d  :—|s,  :^s,D.t, |l,.t,:d.r |m  :m,  |l, :—

                         f.A♭.
|R' :—  |d' :t   |l  :s   |^fd  :—  |t,  :L,  |r   :d    |t, :t,  |l, :—
|R  :—  |m  :r   |d  :m   |^rl, :—  |se, :M,  |se, :l,   |l, :se, |l, :—
|L  :—  |l  :se  |l  :d'  |^lm  :—  |m   :M   |r   :m    |f  :m.r |d  :—
|F  :—  |l  :m   |f  :d   |^rl, :—  |m,  :D   |t,  :l,   |r, :m,  |l, :—
```

**570** *Y Publican Edifeiriol.*

*mp* O'TH flaen, O Dduw! 'rwy'n dyfod,
Gan sefyll o hir bell;
Pechadur yw fy enw,—
Ni feddaf enw gwell;
*cres.* Trugaredd wyf yn geisio,
A cheisio eto wnaf;
Trugaredd i mi dyro,
*p* Rhaid marw oni chaf.

*mp* Pechadur wyf! mi welaf,
O Dduw! nad allaf ddim;
'Rwy'n dlawd, yn frwnt, yn euog,
O! bydd drugarog im'!
Rwy'n addef nad oes genyf
Trwy 'mywyd hyd fy medd
O hyd ond gwaeddi 'Pechais!
Nid wyf yn haeddu hedd.'

*mf* Mi glywais gynt fod Iesu,
A'i fod Ef felly 'nawr,
Yn derbyn publicanod
A phechaduriaid mawr;
*cres.* O! derbyn, Arglwydd! derbyn,
Fi hefyd gyda hwy!
A maddeu'r holl anwiredd,
Heb gofio'r camwedd mwy. T. W.

**571** *Ymbil am faddeuant.*

*p* PECHADUR wyf, O Arglwydd!
Yn curo wrth dy ddôr;
*mp* Erioed mae dy drugaredd
Yn para yn ystôr;
*cres.* Er iti faddeu beiau
Rifedi'r tywod mân,
*mf* Gwn fod dy hen drugaredd
Lawn cymaint ag o'r blaen.

*mf* Dy hen addewid rasol
A gadwodd rif y gwlith
O ddynion wedi eu colli
A gân am dani byth;
Er cael eu mynych glwyfo
Gan bechod is y nen,
*cres.* Iacheir eu mawrion glwyfau
A dail y bywiol bren.

*mf* Gwasgara 'r tew gymylau
Oddi yma i dŷ fy Nhad;
*cres.* Dadguddia imi beunydd
Yr iachawdwriaeth rad;
*mp* A dywed air dy hunan
Wrth f' enaid clwyfus, trist,
*mf* Dy fod yn maddeu 'meiau
Yn haeddiant Iesu Grist. M. R.

**572** *Digonolrwydd yr Aberth*

*mp* PAN byddo fy ngelynion
Yn edliw beiau f' oes,
*cres.* 'Rwy'n codi golwg ffyddiog,
At haeddiant mawr y groes;
*mf* Yn Aberth pen Calfaria
Mae digon byth, a mwy,
Yn wyneb annheilyngdod,
A'u hedliwiadau hwy.

*mf* Nid oes drwy 'r nef, na'r ddaear,
Ryfeddod mwy i'w gael,
Na gweled llaw trugaredd
Yn ymgeleddu 'r gwael;
*cres.* Mae uchder cariad dwyfol,
A dyfnder f' angen i,
Yn hyfryd ymgyfarfod
Ar fynydd Calfari! EMRYS.

**573** *Yr Ysbryd a'i ddoniau.*

*mp* O DDUW! rho im' dy Ysbryd,
Dy Ysbryd ddaw â gwres,
Dy Ysbryd ddaw â'm henaid
I'r nefoedd wen yn nes;
*cres.* Dy Ysbryd sy'n goleuo,
Dy Ysbryd sy'n bywhau,
Dy Ysbryd sydd yn puro,
Sancteiddio, a dyfrhau.

*mp* Dy Ysbryd sydd yn cynal
Yr eiddil, gwan ei ras,
Yn nerthu 'r enaid egwan
Sy'n ofni colli 'r maes;
*cres.* Dy Ysbryd sy'n gwasgaru
Pob cwmwl tywyll, du—
*mf* Gwna fi trwy nerth dy Ysbryd
Yn gadarn ac yn hy'.

*mp* Dy Ysbryd sy'n dadguddio
Yr heirdd drysorau drud,
Na chenfydd llygad natur—
Cuddiedig iawn i'r byd:
*mf* Dy Ysbryd sydd yn enyn
Cynhesol, nefol dân—
Dy Ysbryd pur yn unig
Sydd yn melusu 'nghân. D. W.

**574** *Troi i'r Amddiffynfa.*

*mf* O! TROWCH i'r amddiffynfa,
Chwi garcharorion prudd;
Nac oedwch hyd yfory,
Can's heddyw ydyw 'r dydd:
*cres.* Gobeithiol ydych heddyw,
*dim.* Ond 'fory, pwy fydd byw?
*f* O! trowch i'r amddiffynfa—
Yn awr yw amser Duw. AN.

**575** *Cysur y saint.*

*mp* CHWI blant y galarnadau,
Sy'n griddfan yn barhaus!
Yn ngwaelod dyffryn galar,
*mf* Gwrandewch yr hyfryd lais!
*cres.* Mae'r frwydr wedi 'i henill,
Ni gawsom goncwest fawr,
*mp* Er marw'n Cadben Iesu,
*f* Mae'n Frenin nef a llawr. T. P.

**576** *Duw yn ddigon.*

*mf* FY enaid! paid ag ofni
Wrth wel'd gelynion lu—
*f* Duw cadarn sydd o'th ochr,
Concwerwr uffern ddu!
*cres.* Mae 'r llewod mewn cadwynau,
A'r dreigiau dan ei draed,
Fe 'th ddeil, fy enaid egwan,
Cai goncwest yn y gwaed. AN.

*mf* Tra byddwyf yn y rhyfel,
Edrychaf tua 'r nen;
Er gwaned yw fy ngolwg,
Mi welaf pwy sydd ben:
*cres.* Y Gŵr fu dan yr hoelion,
Sydd gryf o blaid y gwan;
A than ei gysgod tawel,
Mi ddeua'n iach i'r lan. W. W.

**577** *Trugaredd yn gorchfygu.*

*p* PECHADUR wyf a redodd
Yn gyflym tua'r tân,
*cres.* Trugaredd rad a redodd
Gyflymach o fy mlaen;
*mf* Ymleddais â thrugaredd,
Ni fyn'swn gwympo'i lawr;
Trugaredd ga'dd y trechaf,
'Rwy'n foddlon ddigon 'nawr.

*mf* Mi garaf Dduw'r drugaredd
A'm carodd i mor rhad,
*cres.* Gan ddwyn y fath afradlon
I fyw i dŷ ei Dad;
*f* Teyrnased ei drugaredd
Byth yn fy enaid cu,
Nes delo'r awr i'w foli
Yn Salem dawel fry. GOMER.

**578** *Prynu'r amser.*

*mp* DUW! dysg im' brynu'r amser,
A'i dreulio iti'n llwyr;
Myfyrio ar dy gariad
O'r boreu hyd yr hwyr;
*cres.* Dal fi â'th fraich dragwyddol,
Oddiyma hyd fy medd,
Ac yna ar ddelw Iesu,
Dwg fi i wlad yr hedd. AN.

Rhif 129. LLANGLOFFAN. M. 7.6.

*Doh* C. M. 72. Alaw Gymreig, cyng. D. LEWIS.

```
:M  | l :l  |t  :t  | d' :-.t  |l  :L | r' :r'  |d' :d' | t  :— |— | M   | l :l  |t  :t
:M  | m :m  |se :t  | l  :-.se |l  :M | f  :f   |m  :m  | m  :— |— | M   | m :m  |se :t
:D' | l :d' |m' :m' | m' :-.r' |d' :L | se :t   |l  :l  | se :— |— | Se  | l :d' |m' :m'
:L, | d :l, |m  :se | l  :—    |l, :D | t, :se, |l, :d  | m  :— |— | M.r | d :l, |m  :se

d' :-.r' |m' :R'  | d' :l  |t  :se | l  :— |— | M' | m' :d'. |t  :r' | d' :— |t  :L
l  :-.se |l  :Se  | l  :l  |f  :m  | m  :— |— | S  | s  :s   |s  :f  | m  :— |r  :D.r
m' :-.r' |d' :F'  | m' :d' |r' :t  | d' :— |— | D' | d' :d'  |r' :t  | d' :l |se :L
l  :—    |l, :T,  | d  :f  |r  :m  | l, :— |— | D  | d  :m   |s  :s, | l, :d |m  :F

se  :l  |r'   :d' | t  :- |- | M   | l :l  |t  :t  | d' :-.r' |m' :R' | d' :l  |t  :se | l  :- |-
m   :m  |se   :l  | se :- |- | M   | m :m  |se :t  | l  :-.se |l  :Se | l  :l  |f  :m  | m  :- |-
t   :d' |r'.t :m' | m' :- |- | Se  | l :d' |m' :m' | m' :-.r' |d' :F' | m' :d' |r' :t  | d' :- |-
m.r :d  |t,   :l, | m  :- |- | M.r | d :l, |m  :se | l  :—    |l, :T, | d  :f  |r  :m  | l, :- |-
```

**579** *Pen y daith.*

*mp* OS deuaf drwy 'r anialwch,
Rhyfeddaf byth dy ras,
A'm henaid i lonyddwch
'Rol canwaith golli 'r maes,
*mf* A'r maglau wedi eu tori,
A'm traed yn hollol rydd—
*cres.* Os gwelir fi fel hyny,
*f* Tragwyddol foli a fydd.

*mf* Os gwelir fi, bechadur,
Ryw ddydd ar ben fy nhaith
*cres.* Rhyfeddol fydd y canu,
A newydd fydd yr iaith—
*f* Yn seinio, 'Buddugoliaeth!'
Am iachawdwriaeth lawn,
Heb ofni colli 'r frwydr,
Na boreu na phrydnawn. AN.

**580** *Iesu yn Gyfaill yn Angeu.*

*p* MAE ceraint yn fy ngadael—
Cyfeillion ffwrdd yn ffoi;
Gan hyny, atat, Iesu!
Mae 'm henaid trist yn troi:
*cres.* Bydd imi 'n Gyfaill bywyd,
Yn angeu dal fy mhen,
Rho fan i'm henaid orphwys
O fewn dy fynwes wen. D. S.

**581** *Dydd y Farn.*

*p* DAW dydd o brysur bwyso
Ar grefydd cyn bo hir,
Ceir gwel'd gan bwy mae'r sylwedd,
A phwy sydd heb y gwir;
*cres.* O Dduw! rho im' adnabod
Ar f' ysbryd ol dy law,
Can's dyna'r unig ddelw
Arddelir ddydd a ddaw. AN.

**582** *Erfyniad am Gyfiawnder*

*mf* TI, Farnwr byw a meirw,
Sydd âg allweddau 'r bedd!
Terfynau eitha'r ddaear
Sy'n dysgwyl am dy hedd:
*f* 'Dywgras i Ti ond gronyn,
*p cres.* Mae gras ar hyn o bryd
Ryw filoedd maith o weithiau
I mi yn well na 'r byd.

*p* O flaen y fainc rhaid sefyll—
Ië, sefyll cyn bo hir;
*cres.* Nid oes a'm nertha yno
Ond dy gyfiawnder pur:
*f* Myfi anturia 'n eofn
Trwy ddyfroedd, a thrwy dân,
Heb oleu, ac heb lewyrch,
Ond dy gyfiawnder glân. W W.

## Rhif 130. MANNHEIM. M. 7.6.

*Doh* D. M. 72. HANS L. HASSLER, 1564—1612.

```
:M  |l   :s    |f    :m    |r   :—    |m  :T   |d'  :d'   |t   :t    |l   :—  |—  ||
:D  |d.r :m    |l,.t,:d    |d   :t,   |d  :R   |d   :m    |f   :m    |d   :—  |—  ||
:S  |l.t :d'   |f    :s    |l   :s    |s  :Se  |l   :l    |l   :se   |l   :—  |—  ||
:D  |f   :m    |r    :d    |f,  :s,   |d  :T,  |l,  :d    |r   :m    |l,  :—  |—  ||

:D' |t   :s    |l    :t    |d'  :—    |d' :S   |l   :s    |f   :f    |m   :—  |—  ||
:M  |f   :m    |d    :f    |f   :m.r  |m  :M   |f   :m    |r   :r    |de  :—  |—  ||
:L  |f   :s.d' |l.s  :f.s  |l   :s.f  |s  :D'  |d'  :d'.t |l   :l    |l   :—  |—  ||
:L, |r   :m    |f.m  :r    |d   :—    |d  :D   |f   :d    |r.m :f.s  |l   :—  |—  ||

A.t.                                  f.D.
:^d'F  |m  :s      |f   :m  |r   :—  |m   :^l M    |f   :m  |r  :s   |m  :— |— ||
:^r S, |s, :r,.m,  |f,  :s, |l,  :s, |s,  :^f, D   |d   :d  |d  :t,  |d  :— |— ||
:^l R  |d  :r      |d   :d  |d   :t, |d   :^d S    |f   :s  |l  :s   |s  :— |— ||
:^fe T,|d  :t,     |l,  :s, |f,  :s, |d,  :^f, D.t,|l,  :s, |f, :s,  |d  :— |— ||
```

### 583 *Pob peth er daioni.*

*mp* MAE weithiau dew gymylau
Yn cuddio haul y nen,
A disgyn oerion ddafnau
Drwy'r t'wyllwch ar ein pen,
*cres.* Ond eilwaith daw goleuni
Am fod ein Tad yn fyw;
*f* Mae pobpeth er daioni
I'r rhai sy'n caru Duw.

*mf* Er garwed yw'r tymhestloedd,
Er dyfned yw y dòn,
Mae'm Ceidwad yn y nefoedd,
A'i heddwch dan fy mron;
*cres.* Nid ydwyf mwy yn ofni
Y saeth o farwol ryw,
*f* Mae pobpeth er daioni
I'r rhai sy'n caru Duw.

*mf* Yn Nuw yr ymddiriedaf,
Er pob cyfnewid fydd,
Gall droi y nos dywyllaf
Yn hyfryd oleu ddydd;
*cres.* Er fod y llif i'w groesi,
Mae'r plant tu draw yn fyw,
*f* A phobpeth er daioni
I'r rhai sy'n caru Duw. CERNYW.

### 584 *Bendithion y groes.*

*mp* PWY rydd i'm falm Gilead,
Maddeuant pur a hedd?
*cres.* Nes gwneyd i'm henaid edrych
Yn eofn ar y bedd;
*mf* A dianc ar wasgfeuon,
Euogrwydd creulon cry'?
*cres. p* 'Does neb ond Ef a hoeliwyd
Ar fynydd Calfari.

*mf* Bendithion ar fendithion,
Trysorau angeu loes—
Grawnsypiau mawrion addfed
*p* Yn hongian ar y groes—
*cres.* Sydd yn cwmpasu 'm henaid—
Rhinweddau mawr eu grym;
A minau yn eu canol
*mp* Heb allu d'wedyd dim.

*mf* 'Rol edrych ar ol edrych,
O gwmpas i mi mae
Rhyw fyrdd o ryfeddodau
Newyddion yn parhau;
*cres.* Pan b'wy'n rhyfeddu un peth,
Peth arall ddaw i'm bryd—
*f* O! Iachawdwriaeth rasol,
Rhyfeddol wyt i gyd! W. W.

Rhif 131. BABEL. M. 7.6.

Alaw Gymreig, trefnwyd gan J. H. Roberts, Mus. Bac., 1877.

*Doh* C. M. 72.

```
L  :— |l  :t  |d' :d'.t |l  :— |m' :— |R' :— |d' :— |— :d' |r' :d' |t  :M'
D  :— |m  :m  |m  :m    |m  :— |l  :— |Se :— |l  :— |— :l  |se :l  |se :M
L  :— |l  :se |l  :r'   |d' :— |d' :— |M' :— |m' :— |— :m' |m' :m' |m' :L
L, :— |d  :m  |l  :l.se |l  :— |d' :— |T  :— |l  :— |— :l  |t  :l  |m  :D
```

*D.C.*

```
m' :— |r' :d' |t :— |t  :— |l  :— |— ||   |  :  |   :T  |d' :d' |t  :l  |m' :— |m' :R'
m  :— |f  :m  |m :— |m  :r |d  :— |— ||   |  :  |   :S  |s  :s  |s  :m  |l  :— |l  :Se
l  :— |l  :—  |l :— |se :— |l  :— |— ||   |  :  |   :M' |m' :m' |r' :d' |d' :— |m' :M'
d  :— |r  :l, |m :— |m  :— |l, :— |— || M |l :l |s  :M  |d  :d  |s  :l  |d' :— |d' :T
```

```
d' :m' |r' :m' |t  :— |— ||T  |d' :d' |t  :l  |m' :— |m' :R' |d' :d' |t  :t    |l  :— |— :— ||
l  :l  |se :l  |se :— |— ||S  |s  :s  |s  :m  |l  :— |l  :Se |l  :l  |l  :se   |l  :— |— :— ||
m' :m' |m' :m' |m' :— |— ||M' |m' :m' |r' :d' |d' :— |m' :M' |m' :m' |m' :-.r' |d' :— |— :— ||
l  :d' |t  :l  |m  :— |— ||M  |d  :d  |s  :l  |d' :— |d' :T  |l  :l  |m  :m    |l, :— |— :— ||
```

585 *Salmau Seion.*

*mf* MAE'N bryd i gaethion Babel
I ganu—daeth y dydd!
Y dorau pres agorwyd
A'r gaethglud ddaeth yn rhydd.
*cres.* Daw 'r hen delynau adre'.
Fu 'n segur ar y coed,
*f* I ganu moliant Iesu
'N felusach nag erioed. An.

586 *Toriad boreu'r wawr.*

*mf* 'RWYF yma dan y tònau
Yn griddfan lawer awr,
Yn methu cadw ngolwg
Ar y Messiah mawr;
*cres.* Ar fyr daw'r dydd caf nofio
I mewn i'w dawel hedd—
*f* Ni chollai ngolwg arno
Yr ochr draw i'r bedd. J. T.

*mf* Bydd myrdd o ryfeddodau
Ar doriad boreu wawr,
Pan ddelo plant y tònau
Yn iach o'r cystudd mawr!
*f* Oll yn eu gynau gwynion,
Ac ar eu newydd wedd,
Yn debyg idd eu Harglwydd
Yn dod i'r lan o'r bedd. An.

587 *Pob peth er daioni.*

*mf* ER bod y tònau 'n fynych
Yn curo arna'i 'n awr,
A'r gwyntoedd croes yn chwythu
Yn 'stormus ar y llawr;
Er goddef blin gystuddiau—
Trallodau o bob rhyw,
*f* Mae pobpeth er daioni
I'r rhai sy'n caru Duw.

*mf* Myfi am hyn ddiolchaf
Fy mod hyd heddyw 'n fyw,
Er gwaethaf grym y gwyntoedd—
Fy Nhad sydd wrth y llyw:
*cres.* Af bellach drwy 'r tymhestloedd
Yn dawel yn ei law,
Nes delo 'r dòn ddiweddaf
I'm taflu i'r porthladd draw. An.

588 *Un aberth.*

*mp* UN waith am byth oedd ddigon
I wisgo'r goron ddrain;
Un waith am byth oedd ddigon
I ddyodde'r bicell fain;
*mf* Un aberth mawr gwirfoddol
A ddofodd ddwyfol lid;
Un Iesu croeshoeliedig
*f* Sy'n Feddyg trwy'r holl fyd. M. O.

## Rhif 132. ADGYFODIAD. M. 7.6.

*Doh* B♭. M. 72. D. LEWIS, Llanrhystyd, 1887.

```
:M,| l,:l, |l, :t,| d.r:m |—:R  | d :d |t, :l, | t, :—|— ||M,| l,:l, |l,:t,
:M,| m,:m, |m, :m,| l, :se,|—:Se,| l, :l, |se,:l, | se,:—|— ||M,| m,:m, |m,:m,
:M,| l,:d |d :t,  | l, :t, |—:M   | m :m |m :d   | m :—|—   ||M,| l,:d |d :t,
:M,| d,:l2|l, :s, | f, :m, |—:M,  | l, :l, |m, :f,| m, :—|—  ||M,| d,:l2|l,:s,

| d.r:m |—:F    | m :r |d :t,      | d :—|—  ||D | m :m |m :d     | r :r |—:M
| l, :se,|—:se, | l,:l,|s,:s,.f,   | m, :—|— ||S,| s, :s, |s, :s, | s, :s, |—:Se,
| l, :t, |—:T,  | d :f |m :r       | d :—|—  ||M | d :d |d :d     | t, :t, |—:M
| f, :m, |—:R,  | d,:r,|m,:s,      | d, :—|— ||D | d :d, |d, :m,  | s, :s, |—:M,

| d :l,|r :d      | t, :-|- ||M,| l,:l, |l,:t,  | d.r:m |—:F     | m:r |d:t,    | l, :-|- ||
| l,:l,|l,.se,:l, | se,:-|- ||M,| m,:m, |m,:m,  | l, :se,|—:se,  | l,:l, |l,:se, | l, :-|- ||
| m :m |m :m      | m :-|-  ||M,| l,:d |d :t,   | l, :t, |—:T,   | d:f |m :m.r   | d :-|-  ||
| l,:d |t, :l,    | m, :-|- ||M,| d,:l2|l,:s,   | f, :m, |—:R,   | d,:r, |m,:m,  | l2:-|-  ||
```

**589** *Plant yr Adgyfodiad.*

*mf* BYDD plant yr adgyfodiad
Yn hardd fel goleu 'r wawr,
Pan byddo 'r Iesu 'n dyfod
Ar y cymylau i lawr!
*f* Oll yn eu gweddnewidiad,
Yn ogoneddus lu;
Mewn bywyd anllygredig,
Ar ddelw 'u Prynwr cu. AN.

**590** *Erfyniadau am yr Ysbryd.*

*mp* O! YSBRYD Sancteiddiolaf,
Anadla arna'i lawr,
O'r cariad anchwiliadwy
Sy'n nghalon Iesu mawr;
*cres.* Trwy haeddiant Oen Calfaria,
Ac yn ei glwyfau rhad,
*mf* 'Rwy'n dysgwyl pob rhyw ronyn
O burdeb gan fy Nhad.

*p* O! Ysbryd pur nefolaidd,
Cyn 'r'elwy' lawr i'r bedd,
*cres.* Trwy ryw athrawiaeth hyfryd,
Gad imi brofi'th hedd!
*mf* Cael profi blas maddeuant,
Maddeuant llawn a rhad,
Yw'r cyntaf peth wy'n geisio,
Yn awr trwy rin y gwaed. W. W.

**591** *Claddwyd ni gydag Ef.*

*mp* AR lan dy fedd, O Arglwydd!
Y safwn yma 'n nghyd,
Gan edrych ar waradwydd
Dy groes a'th angeu drud;
*cres.* Yn llawen gwnawn dy ganlyn
Trwy borth dy fedydd gwiw,
Gan brofi wrth dy ddilyn
Gymdeithas bur ein Duw.

*mp* O Arglwydd! yma cofiwn
Unigedd oer dy fedd,
Galluoedd unol anwn,
Cyfiawnder glân ei gledd;
Y cwmwl du gysgododd
Haul mawr yr Orsedd wen;
*mf* A'r hyfryd wawl a yrodd
Y t'wyllwch byth o'r nen.

*mf* Cyfodaist, Iesu grasol!
Y trydydd dydd o'th fedd,
A throsom, byth i eiriol,
Esgynaist i dy sedd;
*cres.* Hardd ydyw 'th goron odiaeth
Ar ddeheu law dy Dad,
*f* A sicrwydd buddugoliaeth
I ni 'th ysbrydol had!

*mp* O Arglwydd! fel y'th gladdwyd
Dan donau'r Dwyfol lid,
Cydgladder ninau hefyd
I farw mwy i'r byd;
*mf* Ac fel y codaist dithau
O'th fedd y trydydd dydd
*f* Rho 'th Ysbryd ynom ninau
O'n rhwymau i ddod yn rhydd.
G. D.

Rhif 133. PENYGRAIG. M. 7.6.

*Doh* G. M. 72. HUGH JONES, Carnarvon, 1887.

```
:L, | d    :r    | m    :l     | l    :se   | l    :M    | f    :m.r   | d    :r    | m  :— | — ||
:M, | l,   :t,   | d    :l,    | t,   :—    | l,   :D.t, | l,   :l,.se,| l,   :l,   | se,:— | — ||
:D  | m    :s    | s    :m     | f    :m    | m    :M    | r    :m     | m    :r    | t, :— | — ||
:L, | l,   :s,   | d    :d     | r    :m    | d    :L,   | r    :d.t,  | l,   :f,   | m, :— | — ||

:M  | l    :se   | l    :m.r   | d    :—    | t,   :L,   | m    :l,    | d    :t,   | l, :— | — ||
:Se,| l,   :r    | d.t, :l,.t, | l,   :—    | se,  :M,   | m,   :l,    | l,   :se,  | l, :— | — ||
:M  | m    :m    | m    :m.f   | m    :—    | m    :M.r  | d.t, :d.r   | m    :-.r  | d  :— | — ||
:R  | d    :t,   | l,.t,:d.r   | m    :—    | m.r  :D.t, | l,.s,:f,    | m,.r,:m,   | l, :— | — ||

:M  | s    :s    | d    :r     | m    :—    | d    :D    | m    :l     | s    :fe   | m  :— | — ||
:S,.l,| t, :d    | d    :t,    | d    :—    | l,   :S,   | d    :d     | t,   :-.l, | s, :— | — ||
:D  | r    :d.r  | m.fe :s     | s    :—    | f    :S    | s    :fe    | m    :re   | m  :— | — ||
:D  | s,.f,:m,   | l,   :s,    | d    :r.m  | f    :M.r  | d    :l,    | t,   :t,   | m, :— | — ||

:S  | l    :l    | s    :d     | f    :m    | r    :M    | m.f  :m.r   | d    :t,   | l, :— | — ||
:S, | d.t, :l,   | t,   :d     | r    :d    | t,   :T,   | d.r  :d.t,  | l,   :se,  | l, :— | — ||
:M  | m    :f.m  | r    :s     | l    :s    | s    :Se   | l.se :l.f   | m    :m.r  | d  :— | — ||
:D  | l,   :f,   | s,.f,:m,    | r,   :m,.f,| s,   :M,   | l,.t,:d.r   | m    :m,   | l, :— | — ||
```

## 592 *Y Graig.*

*mf* AM Graig yr iachawdwriaeth,
  Fy enaid egwan cân:
Y Sylfaen fawr dragwyddol,
  A'r hyfryd Gongl-faen:
*cres.* Fy Noddfa rhag ystormydd,
  A'm Cysgod rhag y gwres—
Mae 'n gan mil mwy rhagorol
  Na chedyrn furiau pres. D. W.

*mf* Am Graig i adeiladu,
  Fy enaid, chwilia 'n ddwys,
Y sylfaen fawr safadwy,
  I roddi arni 'th bwys:
*cres.* Bydd melus yn yr afon
  Gael Craig a'm deil i'r lan,
Pan byddo pob rhyw 'stormydd
  Yn curo ar f'enaid gwan.

*p* Y Graig yw 'm noddfa dawel—
  Dymunwn ganmol hon
Pan byddwy'n rhoddi ffarwel
  Am byth i'r ddaear gron:
*cres.* O fewn y Graig nid ofnaf
  Elynion gwaetha'u gwedd;
*f* O fewn y Graig mi ganaf
  Yn ngwyneb pyrth y bedd.

W. W.

## 593 *Emyn Cenadol.*

*mf* O! CHWYTHED yr awelon,
  Yn bêr o Ganaan draw;
Esgored addewidion
  Yn brysur ar bob llaw;
*cres.* Pelydrau'r wawr wasgaro
  Aroglau'r sanctaidd dir;
Cymylau'r nos fo'n cilio,
  Nes byddo'n oleu clir.

*mf* Draw, draw, tywyna goleu
  Dros fryniau sydd yn mhell;
*cres.* Draw, draw, fe egyr dorau
  Yr addewidion gwell:
*f* Mae'r Jubil fawr yn nesu,
  Mae swn y dyrfa draw,
O'r anial dont i fyny,
  Mae amser braf gerllaw. AN.

## 594 *Diwedd Gofidiau.*

*mf* AR fyr fe dderfydd galar,
  Caethiwed, cur, a phoen;
Daw Jubili dragwyddol
  I bawb sy'n caru 'r Oen:
*cres.* Mae eto 'n ol orphwysfa,
  O gylch yr orsedd lân,
I blant y gorthrymderau
  I seinio nefol gân. AN.

# PWLLHELI. M. 7.6.

*Doh* F. M. 72. JOHN FRANCIS, 1827.

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | l :m | f :m | r :— | m :D | m :r | d :t, | l, :— | — | |
| :L, | d :l, | l, :d | d :t, | s, :L, | l, :l, | l, :se, | l, :— | — | |
| :D | m :m | r :m | l :s | m :M | d :f | m :r | d :— | — | |
| :L, | l, :d | r :d | f, :s, | d :L, | l, :r, | m, :m, | l, :— | — | |

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | l :m | f :m | r :— | m :D | m :r | d :t, | l, :— | — | |
| :L, | d :l, | l, :d | d :t, | s, :L, | l, :l, | l, :se, | l, :— | — | |
| :D | m :m | r :m | l :s | m :M | l :f | m :m.r | d :— | — | |
| :L, | l, :d | r :d | f, :s, | d :L, | d :r | m :m, | l, :— | — | |

| | | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | l :t | d' :l | m :— | m :M | l :d' | t :se | l :— | — | M | l :se | l :t | |
| :D | m :m | m :m.r | d :— | t, :T, | m :m | r :r | d :— | — | D | m :m | m :r | |
| :L | l :se | l :l | l :— | se :Se | l :l | f :m | m :— | — | L | d' :t | l :l | |
| :L, | d :t, | l,.t, :d.r | m :— | m :r | d :l, | r :m | l, :— | — | L, | l, :t, | d :r | |

| C.t. | | | | f.F. | ://: | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| m :— | m :dF | l :t | d' :t | lm :— | — :d | m :r | d :t, | l, :— | — |
| d :r.d | t, :lR | m :f | m :r | ds, :— | — :l, | l, :l, | l, :se, | l, :— | — |
| l :t.l | se :mL | l :l | l :se | lm :— | — :m | l :f | m :m.r | d :— | — |
| m :— | m, :lR | d :r | m :m | lm, :— | — :l, | d :r | m :m, | l, :— | — |

## 595 *Golwg ar y Nef.*

*mf* O! AM gael golwg newydd
Ar gyrau 'r hyfryd wlad,
Lle tyfa Pren y Bywyd,
A ffrwythau cafiad rhad!
*cres.* Mae yno bob danteithion
I loni 'r clwyfus rai,
A chroesaw iddynt wledda,
Er cymaint yw eu bai.

*mf* Mae 'n fynych yn fy enaid
Ryw chwant i fod yn rhydd,
Yn debyg i fy mrodyr
Sydd wedi cario 'r dydd—
*cres.* Ar ddysglaer wedd fy Mhriod,
Heb bechod, briw, na phoen,
*f* Yn canu yn ddiddiwedd
Am rinwedd gwaed yr Oen.

G. E.

## 596 *Cystudd a galar a ffy ymaith.*

*mf* FE dderfydd sôn am ryfel,
Fe dderfydd cario 'r groes,
Fe dderfydd dyddiau galar,
Fe dderfydd tywyll nos,
*cres.* Fe dderfydd temtasiynau,
Fe dderfydd dyddiau gwae,
*f* Fe dderfydd tywallt dagrau,
Daw amser llawenhau!

AN.

## 597 *Cwmni Iesu ar y daith.*

*p* Y MAN lle 'r wyf yn trigo
Yw byd y cystudd mawr,
A chalon drist 'rwyf ynddo
Yn treulio llawer awr:
*mf* O Iesu! 'r Cyfaill ffyddlon!
Un tirion iawn wyt Ti!
*dim.* Mae 'n hwyr, a'r dydd yn darfod,
*p* O! aros gyda ni!

*mf* Eglura yr Ysgrythyr
I'n deall ni bob un—
Y pethau hynod hyny
Am danat Ti dy hun.
Gwna i'n hymddiddanion redeg
O hyd am danat Ti,
*dim.* Mae'n hwyr ar dydd yn darfod,
*p* O! aros gyda ni!

*mf* Ymdeithwyr ydym yma,
Dieithriaid yn y tir,
Yn myn'd ar ol ein tadau
I wlad ein cartref hir:
Tra byddom yn yr anial
Rho wedd dy wyneb cu—
Mae 'n hwyr, a'r dydd yn darfod,
O! aros gyda ni!

AN.

Rhif 135. LLYDAW. M. 7.6.

*Doh* C. M. 72. *D.C.* Alaw Lydawig.

:M | l :d' | t :r' | d' :l | -:T | d' :l | se :t | l :- | - || L | t :m' | r' :m' | r' :t | -:L
:D | m :m | m :m | m :m | -:M | m :m | m :r | d :- | - || M | se :l | se :l | l :s | -:M
:L | l :l | se :t | l :d' | -:Se | l :l | t :se | l :- | - || D' | m' :m' | m' :m' | fe' :r' | -:D'
:L, | d :l, | m :m | l :l | -:M | l, :d | m :m | l, :- | - || L | m :d | t, :d | r :s | -:L

t :m' | r' :d' | t :— | — || R' | r' :t | m' :d' | l :s | —:T | d' :l | se :t | l :— | — ||
se :l | se :l | se :— | — || L | s :s | s :s | fe :s | —:Se | l :m | m :r | d :— | — ||
m' :m' | m' :m' | m' :— | — || R' | t :r' | d' :m' | r' :t | —:M' | m' :m' | t :se | l :— | — ||
m :d' | t :l | m :— | — || Fe | s :s | d :d | r :s | —:M | l :d | m :m | l, :— | — ||

598 *O flaen pregeth.*

*mp* O! ARGLWYDD Dduw Jehofah,
Tro yma'th wyneb llon,
*cres.* A doed griddfanau'n hysbryd
I'th glustiau'r oedfa hon!
*mf* Doed sain telynau'r nefoedd
I'n clustiau ninau'n awr,
*cres.* A gwna ni'n gyd-addolwyr
A'r nefol dyrfa fawr.

*mp* Dy hyfryd bresenoldeb,
Dysgleiried yma 'nawr;
*cres.* Rho nerth i eiddil egwan
Lefaru'th eiriau mawr;
*mf* Dy Ysbryd Di wna gynhwrf
Yn mhlith yr esgyrn sych,—
*cres.* Cyrhaedded glust a chalon,
Fel sain yr arian glych.

*mf* Duw! todda'r galon galed,
A dryllia'r muriau pres,
*cres.* Cyfoded Haul Cyfiawnder
Yn hyfryd yn ei wres;
*f* A nertha'r enaid ofnus
Sy'n methu d'od i'r lan,
*cres.* Cysura'r rhai galarus,
Dyddana'r meddwl gwan.

D. W.

599 *Doniau'r Ysbryd.*

*mf* WEL, dyma oedfa newydd,
Duw! rho dy fendith lawn;
Rho gymhorth i ni ddadlu
Dy addewidion mawr;
*cres.* Cyfrana ddoniau'th Ysbryd,
Yn hyfryd arnom ni,
Fel gallom gyda phleser,
Dy wir addoli Di.

*mf* Rho gymhorth i weddio,
A gwrando Di ein cwyn;
Rho gymhorth i bregethu,
Dy wirioneddau mwyn;
Rho gymhorth i ni wrando
Yn syml gyda phwyll,
A chwenych fel babanod
Y nefol laeth didwyll.

AN.

600 *Taith y Pererin.*

*mf* PERERIN wyf, yn teithio
I'r tragwyddoldeb mawr;
Yn iach, bleserau bydol,
A'r hawddfyd sy ar y llawr:
*cres.* Dieithr ydwyf yma,
Draw mae fy nghartref clyd,
*f* A barotodd fy Mhriod
Yn mhell cyn seilio 'r byd.

*f* Fe genir, ac fe genir
Yn nhragwyddoldeb maith,
Os gwelir un pererin
Mor lesg ar ben ei daith—
*cres.* A gurwyd mewn tymhestloedd,
A olchwyd yn y gwaed,
*f* A gânwyd, ac a gadwyd
Drwy 'r iachawdwriaeth rad!

M. R.

601 *Gwledd yr Efengyl.*

*mp* DUW! rho i ni awel canu,
A rho i ni ysbryd briw;
Os cawn ni ond dy Ysbryd,
Y nefoedd fawr a glyw;
*cres.* Dy Ysbryd wna i ni seinio
Nefolaidd gân a llef,
Heb flino, na diffygio,
Dan gynhes awel nef.

*mp* Ein llygaid aed yn ddagrau
A'n calon aed yn friw,
Wrth gofio cariad Iesu,
Fu farw i ni gael byw;
*mf* Mae 'n nefoedd ar y ddaear
Yr ochr hon i'r bedd,
Wrth wel'd ein Priod, Iesu,
Yn benaf yn y wledd.

*mf* Wel, dyma wledd arbenig,
Sydd wedi ei dwyfol drin,
*cres.* Mae eto ar fynydd Seion
Gan mil melusach gwin;
*f* Mae yma weithiau 'n treio,
Ac weithiau 'n llawn-fôr glâs,
*ff* Ond nid oes draw 'r Iorddonen
Ddim trai ar foroedd gras! D. W.

602

*Ymddiried yn Nghrist, y Duw-ddyn.*

*mf* O! ARGLWYDD Dduw Rhaglu-
niaeth,
Ac iachawdwriaeth dyn!
Tydi sy'n llywodraethu
Y byd a'r nef dy hun;
*cres.* Yn wyneb pob caledi
Y sydd neu eto ddaw,
*f* Dod gadarn gymorth imi
I lechu yn dy law.

*mf* O! am gael ffydd i edrych
Fel gwna'r angylion fry,
I fòr yr iachawdwriaeth—
Dirgelwch ynddi sy';
*cres.* Dwy natur mewn un Person
Yn gyson yno gaed;
*f* Anfeidrol a thragwyddol
Yw rhinwedd dwyfol waed.

*mp* O f' enaid! gwel addasrwydd
Y Person dwyfol hwn;
*mf* Anturia iddo 'th fywyd,
A bwrw arno 'th bwn:
*cres.* Mae'n ddyn i gydymdeimlo
A'th holl wendidau i gyd;
*f* Mae'n Dduw i fynu'r orsedd,
Ar ddiafol, cnawd, a byd. A. G.

603 *Croes Crist.*

*p* O DAN y groes 'rwy'n griddfan
Yn chwerw nos a dydd,
*mf* Ond yn y groes mae 'mywyd,
Ac yn y groes mae 'm ffydd;
*cres.* Ar bwys y groes mi ddringaf
I'r drigfan ddedwydd draw,
*f* Ac am y groes mi ganaf
Yn beraidd maes o law.

*mf* Trwy 'r groes y daeth trugaredd
I gadw euog ddyn,
Trwy 'r groes y daeth cyfiawnder
A heddwch yn gytûn;
*cres.* Trwy'r groes daeth Duw, o'i gariad,
I godi llwch y llawr—
*f* Am hyny, mi ymffrostiaf
Yn nghroes fy Iesu mawr! J. E.

604 *Yn ol dy addewid.*

*mp* DUW! 'n ol dy wir addewid,
I'r canol tyr'd yn awr;
*cres.* Dynoetha 'th fraich alluog,
A gwna rymusder mawr;
*mf* Llefara wrth bob calon
Sydd yma ger dy fron;
*f* Gwna rwyg yn nheyrnas Satan
Yr oedfa newydd hon.

*mf* Bendithion bryniau 'r nefoedd,
O! tywallt yma 'n awr;
Dy 'nabod yw dymuniad
Ein henaid, Arglwydd mawr!
*cres.* Dod ini amlygiad helaeth
O'r iachawdwriaeth rad,
Bwrcasodd Iesu tirion
Ei hun â'i briod waed. W. H.

605 *Diwedd yr yrfa.*

*mp* ER bod cystuddiau trymion
I Gristion dan y groes,
Llwyr gilwg llawer gelyn
I'w erbyn yn ei oes;
*cres.* Ymddengys yn nydd angeu,
O'r rhwydau oll yn rhydd;
*f* Ei ymdrech a goronir—
Gorphenir gyrfa'r ffydd.

*p* Ti, Iesu, 'r Hwn a hoeliwyd,
A ddrylliwyd dan dy gur,
*cres.* Dysgleiried yn fy mywyd
Dy ddelw sanctaidd, bur;
*mf* Pan ddelo'r ymdrech olaf,
Fy Llywydd, rhwyga'r llen;
*f* Yn dirion derbyn f'ysbryd
I wynfyd nefoedd wen. AN.

Rhif 136. TALYBONT. M. 7.6.

Alaw Gymreig.

*Doh* C. M. 66. *D.C.*

| | | | | | | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :L | d' | :l | t | :r' | d' | :-.t | l | :T | d' | :l | r' | :t | l | :— | — | |
| :M | m | :m | m | :m | m | :-.r | d | :M | m | :r | f | :m | d | :— | — | |
| :D' | l | :l | l | :se | l | :— | l | :Se | l | :l | l | :se | l | :— | — | |
| :L, | l, | :d | m | :m | l | :— | l | :M | l | :f | r | :m | l, | :— | — | |

| | | | | | | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :T | d' | :d' | r' | :r' | m' | :— | r' | :M' | r' | :m' | d' | :l | t | :— | — | |
| :M | m | :m | s | :s | s | :— | s | :S | s | :se | l.m | :m.re | m | :— | — | |
| :Se | l | :l | t | :t | d' | :— | t | :D' | t | :t | l | :l | se | :— | — | |
| :m | l | :l | s | :s | d' | :— | s | :D | s | :m | l | :f | m | :— | — | |

| | | | | | | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D'.r' | m' | :l | t | :r' | d' | :-.t | l | :T | d' | :l | r' | :t | l | :— | — | |
| :M | m | :d | m | :f | m | :-.r | d | :M | m | :f | f | :m.r | d | :— | — | |
| :L | l | :l | se | :l | l | :— | l | :Se | l | :d' | t.l | :se | l | :— | — | |
| :L, | d | :f | m | :r | l | :— | l, | :M | l | :f | r | :m | l, | :— | — | |

## 606 *Côf am Gethsemane.*

*mp* CÔF am y cyfiawn Iesu,
Y person mwyaf hardd—
Ar noswaith oer anesmwyth
Yn chwysu yn yr ardd!
A'i chwŷs yn ddafnau cochion
Yn syrthio ar y llawr!—
*mf* Bydd canu am ei gariad
I dragwyddoldeb mawr!

*mp* Côf am y llu o filwyr
A'u gwaywffyn yn d'od
I ddal yr Un diniwed
Na wnaethai ddrwg erioed:
*cres.* Gwrandewch y geiriau dd'wedodd,—
Pwy all'sai ond Efe?
*p* 'Gadewch i'r rhai 'n fyn'd ymaith,
Cymerwch fi 'n eu lle!'

*mp* Côf am y gwyneb siriol,
Y poerwyd arno, 'n wir;
Côf am y cefn tyneraf,
Lle 'r arddwyd cwysau hir!
*cres.* O! anwyl Arglwydd Iesu!
Boed grym dy gariad pur
*mf* Yn toddi 'nghalon galed
Wrth gofio am dy gur!

W. L.

## 607 *Iachawdwriaeth trwy Grist.*

*mf* DAETH ini iachawdwriaeth
Trwy eithaf chwys a gwaed;
Mae 'n codi pechaduriaid
O'r dyfnder ar eu traed;
*cres.* Nid af i ymofyn haeddiant,
Trwy 'r nef na'r ddaear lawr,
*f* Ond haeddiant pen Calfaria—
Rhinweddau 'r aberth mawr.

*p* Pan oedd euogrwydd creulon
Yn llosgi fel y tân,
A Satan, yntau, 'n rhifo
Fy meiau, fawr a mân;
*cres.* Anfeidrol haeddiant Iesu
A wnaeth i'r glorian droi,
*f* A'i nefol ymddangosiad
Wnaeth i'm gelynion ffoi.

*p* Fe'm siomwyd gan y ddaear,
Fe'm siomwyd gan y byd;
Fe'm siomwyd gan fy nghalon
Yn fwy na'r rhai 'n i gyd:
*cres.* Mewn myrdd o demtasiynau,
A mil o groesau 'r llawr,
*f* Ni safodd neb yn ffyddlon,
Ond fy Eirolwr mawr.

*mf* O Arglwydd! dyro olwg
Ar dy anfeidrol rym,
Yn ngwyneb holl ddichellion
A llid gelynion llym;
*cres.* Un olwg ar dy haeddiant—
Yr Iawn anfeidrol fawr!
*f* A wna i bob gelyn gilio,
A chwympo oll i lawr.

AN.

Rhif 137. CAERLLYNGOED. M. 7.6.

S. LLOYD.

Doh B♭. M. 66. D.C.

```
|L, :—  |m  :r      |d  :m   |r     :d    |t,  :D .r   |m   :l,     |r .d  :t,  |l,  :—  ||
|M, :—  |l, :m,     |m, :l,  |f,    :m,   |m,  :S, .f, |m,  :d,     |f,.m, :r,  |d,  :—  ||
|D  :—  |d  :t,     |l, :l,  |l,    :—    |se, :S,     |s,  :l,     |l,    :se, |l,  :—  ||
|L, :—  |l, :l,.se, |l, :d,  |r,    :l2   |m,  :M,.r,  |d,  :f,     |r,    :m,  |l2  :—  ||

|M  :—  |s  :f      |m  :r   |d     :t,   |—   :T,     |d   :t,.d   |r     :d.r |m   :—  ||
|S, :—  |t, :l,     |s, :s,  |m,.fe,:s,   |—   :S,     |s,  :s,     |l,    :l,  |se, :—  ||
|D  :—  |r  :d .r   |m  :t,  |d     :r    |—   :R      |d .s :f .m  |r     :l,  |t,  :—  ||
|D  :—  |s, :l,.t,  |d  :s,  |l,    :s,   |—   :S,.f,  |m,  :s,     |f,    :f,  |m,  :—  ||

            F.t.                            f.B♭.
|M, :—  |l, :(m)l   |s  :d'  |t     :—    |l   :(f)D.r |m   :l,     |r .d  :t,  |l,  :—  ||
|M, :—  |l, :(s)d   |d  :m   |f     :m.r  |d   :(r)L,  |m,  :f,     |l,    :se, |l,  :—  ||
|M, :—  |l, :(d)f   |s  :l   |l     :se   |l   :(l)M   |t,  :d      |f .m  :r   |d   :—  ||
|M, :—  |l, :(d)f   |m  :d   |r     :m    |l,  :(r)L,  |s,  :f,     |r,    :m,  |l2  :—  ||
```

## 608 *Ofni tynu yn ol.*

*mp* WRTH deimlo grym fy llygredd,
'Rwy'n ofni tynu'n ol,
O Dduw! rho nerth bob mynyd
I redeg ar dy ol;
*cres.* Rho i mi nerth i wylio
Tra byddwyf ar y llawr,
*p* A chadw ysbryd gweddi
Yn f' enaid gwan bob awr.

*mf* Rho gymhorth i ryfela
Yn lew ar faes y gwaed,
Nes cael y gelyn olaf
O'r diwedd dan fy nhraed;
*cres.* Rho lygaid ffydd i edrych
Yn graff i'r ochr draw;
Yn mhob rhyw brofedigaeth,
*p* O! cadw fi'n dy law.

AN.

## 609 *Marw yn elw.*

*mp* YMADO wnaf â'r babell
'Rwy'n trigo ynddi 'n awr,
Colofnau'r tŷ ddatodir,
Fe'u cwympir oll i lawr;
*cres.* A pob gwahanglwyf ymaith,
Glân fuddugoliaeth mwy:
*f* 'Rwy'n canu wrth gofio'r boreu
Na welir arnaf glwy'. M. R.

## 610 *Myned at yr Orsedd.*

*mf* FE dd'wedodd anghrediniaeth,
Do, wrthyf lawer gwaith,
Am beidio blino 'r Athraw,
Mai ofer fyddai 'ngwaith:
*cres.* Af at ei orsedd eto,
Er dued yw fy lliw,
Pwy ŵyr na châf drugaredd?
Un rhyfedd iawn yw Duw.

R. J.

## 611 *Dilea fy anwiredd.*

*mp* O! Iesu 'n iachawdwriaeth!
Ymgrymwn wrth dy groes;
Yn dy dosturi helaeth
Ystyria 'n cri a'n loes,
O! gwel ni yn grynedig,
Ein cwynion yn ddirif,
Ein calon yn ddrylliedig,
A'n dagrau fel y llif.

*mf* Yn mhob drylliedig galon,
Teyrnasa Di dy hun;
A maddeu ein dyledion,
A'n beiau mawr bob un;
*cres.* O! arwain ni i wynfyd,
Berffeithydd mawr ein ffydd!
*f* Y nos â'r golofn danllyd,
A'r cwmwl niwl y dydd. AN.

Alaw Gymreig.

Doh C. M. 66. D.C.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :L | l :t | d' :t | d' :t | — :D'.r' | m' :r' | d' :t | l :— | — |
| :D | m :m | m :m | l :se | — :S | s :f | m :r | d :— | — |
| :L | l :se | l :m' | m' :m' | — :D'.t | d' :l | l :se | l :— | — |
| :L, | d :m | l :se | l :m | — :M.r | d :r | m :m | l, :— | — |

G.t.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :T | d' :r' | m' :r' | d' :t | — :D'.t | lr :m.r | d :t, | l, :— | — |
| :M | m :s | s :s | s :s | — :Se | lr :l,.t, | l, :se, | l, :— | — |
| :Se | l :t | d' :t | m' :r' | — :R' | d'f :m.f | m :m.r | d :— | — |
| :M | l :s | d' :s | d :s | — :M | lr :d.r | m :m, | l, :— | — |

f.C.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :rL | l :t | d' :t | d' :t | — :D'.r' | m' :r' | d' :t | l :— | — |
| :l,M | m :m | m :m | l :se | — :L | l :f | m :r | d :— | — |
| :fD' | l :se | l :m' | m' :m' | — :M' | m' :l | l :se | l :— | — |
| :r,L, | d :m | l :se | l :m | — :L | d :r | m :m | l, :— | — |

## 612 *Erfyn bendithion nefol.*

*p* O! ARGLWYDD Dduw y lluoedd!
Gwna drugarhau yn awr,
*mp* A danfon rad fendithion
O'r nefoedd wen i lawr;
*cres.* Cyfrana i bob enaid
Sydd yma ger dy fron;
*f* Gwna waith cei glod am dano
Pan losgo'r ddaear hon.

D. S. E.

## 613
*Dyoddefaint, angeu, a buddugoliaeth Crist.*

*pp* BECHADUR! gwel E'n sefyll
Yn llonydd ar y groes;
Clyw'r griddfan sy'n ei enaid
Dan chwerw angeu loes;
*cres.* O! gwrando ei gwynfanau!
Mae pob ochenaid ddrud
Yn floedd yn nghlustiau'r nefoedd
Am faddeu beiau'r byd.

*p* Gwel ar y croesbren garw
Gyfiawnder mawr y nef,
Doethineb a Thrugaredd
Yn gorwedd ynddo Ef;
*cres.* A chariad anfesurol,
A thosturiaethau'n un,
Fel afon fawr lifeiriol
Yn rhedeg at y dyn.

W. W.

## 614 *Dymuno gwenau Duw.*

*mf* O ARGLWYDD! dyrcha arnom,
Tra byddom yn dy dŷ,
O lewyrchiadau grasol
Dy siriol wyneb cu;
*cres.* Tra byddom yma'n aros,
O Dduw! bydd yn ein plith,
A gwlawia ar ein hoedfa,
I lawr o'th nefol wlith.

*mf* Rho gymorth i dy garu,
A'th barchu, Arglwydd mawr!
A byw yn ol dy ddeddfau
Tra 'n teithio ar y llawr;
*cres.* Rho nerth i ni ymorphwys,
O hyd ar drefn dy ras,
A gwledda ar y manna,
Sylweddol, pêr ei flas.

D. S. E.

## 615 *Croesi yr Iorddonen.*

*mp* HEN afon yr Iorddonen!
Rhaid imi groesi hon;
Wrth feddwl am ei dyfnder,
Mae arswyd dan fy mron;
*cres.* Ond im' gael 'nabod Iesu,
A'm carodd cyn fy mod,
Af trwyddi'n ddigon tawel,
A'r gwaelod dan fy nhroed.

*mf* Paham yr ofna'i'r afon,
Wrth weled grym y dŵr?
Mae'r gwaelod wedi ei g'ledu,
A'r Iesu'n flaenaf Gŵr!
*cres.* Yr afon goch lifeiriol
A darddodd dan ei fron,—
Mae miloedd yn myn'd adref
Yn ngrym yr afon hon.

AN.

## EMYN HWYROL. 7.6.7.6.8.8.

*Doh* G. M. 76. Parch J. B. DYKES, Mus. Doc., 1823–1876.

| :D | $t_1$ :d | f :m | m :r | :M | $l_1$ :$l_1$ | $t_1$ :d.r | d :— | — ||
| :$S_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$s_1$ | d :$t_1$ | :$S_1$ | $s_1$ :$f_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :— | — ||
| :M | f :m | r :m | s :s | :D | d :r | r :m.f | m :— | — ||
| :D | r :d | $t_1$ :d | $s_1$ :$s_1$ | :$M_1$ | $f_1$ :$r_1$ | $s_1$ :$s_1$ | d :— | — ||

| :S | s :m | f :s | l :— | s :M | m :r | d :r | m :— | — ||
| :$T_1$ | d :d | d :$ta_1$ | $l_1$ :d | d :$S_1$ | $se_1$ :$se_1$ | $l_1$ :$l_1$ | $se_1$ :— | — ||
| :F | m :s | d :m | f :— | m :M | m :m | m :r.$l_1$ | $t_1$ :— | — ||
| :R | d :$ta_1$ | $l_1$ :$s_1$ | $f_1$ :$l_1$ | d :D | $m_1$ :$m_1$ | $l_1$ :$f_1$ | $m_1$ :— | — ||

| :M | m :m | r :-.d | $t_1$:d | r :D | m :s | f :$l_1$ | d :— | r :— | d :— | — ||
| :$S_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :-.$s_1$ | $s_1$:$s_1$ | $s_1$ :$S_1$ | $ta_1$:$ta_1$ | $l_1$:$s_1$.$f_1$ | $m_1$ :— | $s_1$ :$f_1$ | $m_1$ :— | — ||
| :D | m :m | f :-.m | r :m | f :M | s :m | d :r | m :d | $t_1$ :— | d :— | — ||
| :$D_1$ | d :d | $t_1$ :-.d | $s_1$:$s_1$ | $s_1$ :D | $d_1$ :$d_1$ | $f_1$:$f_1$ | $s_1$ :— | $s_1$ :— | $d_1$ :— | — ||

### 616 *Emyn Hwyrol.*

*mf* Y DYDD aeth heibio weithian,
O Iesu! molwn Di,
*cres.* Heb dramgwydd, ni erfyniwn,
Boed oriau 'r nos i ni;
*p* Gad ini dan dy aden fod,
*cres.* A chadw ni drwy'r nos sy'n dod.

*mf* Am fendithiau 'r dydd aeth heibio,
O'n calon, molwn Di;
*cres.* A sanctaidd, ni erfyniwn,
Boed oriau 'r nos i ni,
*p* Gad ini dan dy aden fod,
*cres.* A chadw ni drwy'r nos sy'n dod.

*mf* Drwy oriau y tywyllwch,
Ein Ceidwad ydwyt Ti;
*cres.* Yn effro ac yn cysgu,
O Iesu! cadw ni;
*p* Gad ini dan dy aden fod,
*cres.* A chadw ni drwy'r nos sy'n dod.

*p* Diwrnod yw ein bywyd,
Fe ddaw 'r nos dywell, ddu;
*cres.* Trwy ddyffryn cysgod angeu,
*p* O Iesu! arwain ni;
*cres.* Gad ini dan dy aden fod,
*mf* A chadw ni drwy'r nos sy'n dod.

CYF. S.

### 617 *Gorphwysfa 'r Saint.*

*mf* YN nghanol gorthrymderau
Y trigwn yn y byd;
Ac am gymdeithas Iesu
Yr wylwn lawer pryd;
*cres.* Ond yn y wlad tudraw i'r bedd
*f* Cawn yn wastadol weld ei wedd.

*mf* Ar ol helbulus deithio
I sanctaidd dŷ ein Tad,
A chyrhaedd adre i Ganaan
O'r ddyrys anial wlad:
*cres.* Mor felus yn dragywydd fydd
*f* Cael bod o'n holl flinderau'n rhydd!

*mf* Cawn roi ffarwel i bechod,
'R ol myn'd i'r bywyd draw,
A'n gwynfyd byth ni thorir
Gan dristwch, poen, na braw.
*f* Cawn dreulio tragwyddoldeb mwy
I foli 'r Hwn gadd farwol glwy.

J. G. J.

Rhif 140. **CROESAWIAD.** M. 7.7.8.7. D.

*Doh* C. M. 80. R. LL. OWEN, Prysgol, 1887.

```
:S   |d' :-.s |l  :d' |s  :-.f |m  :D'.r'|m' :-.d'|r'    :m' |r' :-.d'|t
:M   |m  :-.m |f  :f  |m  :-.r |d  :S    |s  :-.s |s     :s  |s  :fe  |s
:D'  |s  :-.d'|d' :l  |d' :—   |s  :S    |d' :-.m'|r'    :d' |t  :l   |s
:D   |d  :-.d |f  :f  |d  :—   |d  :M.r  |d  :-.d |t,    :d  |r  :—   |s,

:S   |d' :-.s |l  :l  |t  :d'  |r' :D'.r'|m' :-.f'|r'    :d' |d' :t   |d'
:R   |s  :-.m |f  :f  |f  :s   |s  :M.s  |s  :-.l |s     :m  |l  :s   |s
:T   |d' :-.d'|d' :d' |r' :m'  |t  :M'.r'|d' :-.d'|t     :d' |r' :—   |m'
:S.f |m  :-.d |f  :f  |r  :d   |s  :L.t  |d' :-.f |s     :l  |f  :s   |d

:T.d'|r' :-.m'|r' :d' |t  :l   |s  :D'.r'|m' :-.f'|m'    :r' |d' :t   |l
:S   |s  :-.s |s  :s  |s  :fe  |s  :M    |l  :-.l |s     :f  |m  :-.r |d
:R'.d'|t :-.d'|r' :m' |r' :-.d'|t  :L.t  |d' :-.d'|d'    :l  |l  :se  |l
:S   |s  :-.d |t, :d  |r  :—   |m  :L    |l  :-.f |d     :r  |m  :—   |l,

      G.t.                     f.C.
:S   |d'f:-.d |r  :l,.t,|d :t,  |lm :D'.r'|m' :-.d'|r'.m' :f' |m' :r'  |d'
:S   |d'f:-.l,|se,:l,  |l, :se, |lm :S    |s  :-.l |l.s   :f  |s  :-.f |m
:S   |d'f:-.f |f  :m.f |m  :-.r |ds :D'.t |d' :-.m'|r'.de':r' |d' :t   |d'
:S   |d'f:-.d |t, :d.r |m  :m,  |lm :M.s  |d' :-.l |f.m   :r  |s  :—   |d
```

**618** *Mawl i'r Ceidwad.*

*f* HOSANNA, Haleliwia,
I'r Oen fu ar Galfaria!
Gorphenwyd iachawdwriaeth dyn,
Efe ei hun yw 'r noddfa:
*cres.* Tragwyddol ddiolch iddo
Am faddeu a thosturio;
*ff* Anfeidrol fraint i lwch y llawr
Fod croeso 'n awr dd'od ato.

*mf* Mae 'n achub hyd yr eitha'
Y pechaduriaid mwya';
Fe drefnwyd ffordd i gadw dyn
Gan Dri yn un Jehofah;
*cres.* Anturiwn ninau arno,
Mae 'r Iesu 'n achub eto,
*f* A chroeso i bechaduriaid mawr
Bob mynyd awr dd'od ato.

*mf* Mae 'r ddyled wedi ei thalu,
Ac uffern wedi ei maeddu,
Gobeithiol garcharorion sy'
Yn d'od yn llu i fyny:
*f* Mae 'r pyrth yn llawn agored,
Doed Israel o'r caethiwed—
Pob llesg a gwan, fyth ger ei fron,
Ei wyneb llon gânt weled.

D. C.

**619** *Coroni 'r Flwyddyn.*

*mf* ANFEIDROL Dduw rhagluniaeth!
A Thad yr holl gre'digaeth!
Coronaist eto'r flwyddyn hon
A'th dirion ddoniau'n helaeth;
*cres.* Ti, Arglwydd pob daioni!
Beth mwy a dalwn iti,
*p* Na chydymostwng, lwch y llawr,
*cres.* Yn awr, i'th lwyr addoli?

*mf* Ni ddaeth un haint echryslon,
Na deifiol oer awelon,
At ddrysau'n pebyll ni, O Dduw!
Gan beri briw i'n calon;
*cres.* Anadlaist nerth a bywyd,
Llawenydd, llawnder, iechyd,
Drwy'r ddaear faith er cael mwynhau
Ein dyddiau mewn dedwyddyd.

*mf* Na foed i'th drugareddau
Ddyferu ar ein llwybrau,
A ninau'n fyddar ac yn fud
O hyd i'th nef rasusau;
*cres.* Ein telyn, Ior! cyweiria,
I seinio Haleliwia—
*f* Tragwyddol foli, byth heb boen,
Yr Oen fu ar Galfaria!

GWYNEDDON.

Rhif 141. HOSANNA. M. 7.7.8.7. D.

*Doh* C. M. 80. JAMES MILLS.

```
:L   |l  :se  |l  :t   |d'  :—    |d' :T  |l  :m'    |r' :d'   |d'  :—    |t
:M   |m  :m   |d  :m   |m   :—    |m  :R  |d  :m     |f  :m    |m   :—    |m
:D'  |l  :t   |l  :se  |l   :—    |l  :Se |l  :l     |l  :l    |l   :—    |se
:L,  |d  :m   |f  :m   |l   :—    |l, :M  |f  :d     |r  :l,   |m   :—    |m

:T   |d' :d'  |r' :r'  |m'  :m'   |r' :R' |m' :d'    |l  :r'.d'|t   :—    |l
:M   |m  :m   |s  :s   |s   :s    |s  :S  |s  :f     |f  :l    |l   :se   |l
:Se  |l  :l   |t  :t   |d'  :d'   |t  :T  |d' :d'    |d' :f'   |t   :m'.r'|d'
:M   |l  :l   |s  :s   |d.r :m.f  |s  :S  |d' :l     |f  :r    |m   :—    |l,

:D'  |m' :m'  |d' :d'  |r'  :d'   |t  :T  |d' :d'    |t  :l    |s   :fe   |m
:L   |s  :s   |s  :m   |r   :m    |f  :M  |m  :l     |se :m    |m   :re   |m
:M'  |d' :d'  |d' :s   |t   :d'   |r' :R' |d' :m'    |r' :d'   |t   :-.l  |s
:L   |d' :d.r |m  :d   |s   :—    |s  :Se |l  :d.r   |m  :l,   |t,  :—    |m

:M   |l  :l   |l  :t   |d'  :r'   |m' :M' |f' :m'.r' |m' :d'   |t   :—    |l
:M   |m  :m   |m  :m   |m   :s    |s  :S  |l  :s     |s  :f    |f   :m.r  |l
:Se  |l  :d'  |l  :se  |l   :t    |d' :D' |d' :t     |d' :l    |l   :se   |l
:M.r |d  :l,  |d  :m   |l   :s    |d' :D' |f  :s     |d  :f    |r   :m    |l,
```

**620** *Gorphwysfa y Saint.*

*mf* Y TIR dymunol peraidd,
Yr ardal hyfryd, euraidd,
Ag oedd yn mhell, yn sefyll draw,
A ddaeth ger llaw o'r diwedd ;
*cres.* Er lludded, ac er blino,
Na foed i ni ddiffygio ;
Yr y'm yn nes-nes—awn ar frys
I mewn i'r llys yn gryno.

*mf* Cawn orphwys yn ddiangol
O'n temtasiynau 'n hollol,
Mewn maith dangnefedd pur, di-drai,
Sydd yn parhau 'n dragwyddol ;
*cres.* A hyfryd ymddifyru
Yn ein Hanwylyd, Iesu !
A threulio Sabboth melus, gwiw,
Tragwyddol, i'w folianu ! W. W.

**621** *Ysbryd Duw yn adnewyddu gwyneb y ddaear.*

*mf* GLAN Ysbryd Duw ollyngir,
A'r ddaear adnewyddir,
Ei gwyneb, oedd yn grin a gwyw,
A thegwch byw addurnir.
*cres.* Eleni rhoes gyflawniad
O'i ddwyfol bur ragluniad,
Rhown ninau 'n gobaith gyda hedd
I orwedd ar ei gariad.

*mf* Efe yw Duw rhagluniaeth,
A Duw yr iachawdwriaeth,
*cres.* Pob bendith ddaeth, pob bendith ddaw
O law trugaredd helaeth :
*p* Am iddo Ef dosturio,
Ac yn ei ras ein cofio,
*cres.* Rhown ninau 'r oll, heb ddim ar ol
*f* Yn chwyddol ddiolch iddo.

LLIFON.

**622** *Y Gân dragwyddol.*

*mf* O ! LLANWED iachawdwriaeth
Fel môr di-drai, yn helaeth ;
*cres.* A doed ynysoedd pell y byd
I gyd gael meddyginiaeth ;
*f* Mae 'r Brenin ar ei orsedd
Yn cynyg o'i drugaredd,
*p* I bechaduriaid tlodion, gwael,
*cres.* Dd'od ato i gael ymgeledd.

*mf* O ! gwyn ei byd y dyrfa
Sy'n canu Haleliwia !
*cres.* Cawn ninau ddianc cyn bo hir
I mewn i'r wir orphwysfa—
*f* I ganu i dragwyddoldeb,
Mewn hwyl a nefol undeb,
*cres.* Heb gwmwl rhyngom, byth mewn hedd
A siriol wedd ei wyneb. AN.

Rhif 142. SILOH. M. 8.6.8.6.8.8.8.6.

*Doh* F. M. 80. W. T. Rees (Alaw Ddu), 1888.

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | m :— :d | f :— :m | r :m.r:d.t, | d :— :R | m :— :f |
| :S, | s, :— :d | d :— :d | s, :— :s, | s, :— :T, | d :— :t, |
| :D | d :— :m | l :— :s | s :m.f:s.f | m :— :S | s :— :s |
| :D | d :— :l, | f, :— :d | t, :d.r:m.r | d :— :S, | d :— :r |

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| m :s :r | m :— | M | m :r :d | f :— :s | l :d' :m | r :— :M |
| d :t, :l, | t, :— | T, | d :l,.t,:d | d :t, :d | d :— :d | t, :— :S, |
| s :— :l | l :se | Se | l :f :s | l :r :m | f :— :s | s :— :M |
| m :— :f | m :— | M | l, :r :m | r :— :d | f, :l, :d | s, :— :D |

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| f :— :f | f :m :r | d :— | R | r :f :m | m :l :s | s :d' :t |
| d :— :l, | t, :s, :t, | d :— | T, | r :t, :s, | d :— :t, | d :m :re |
| d :— :f | r :d :f | m :— | S | s :r :m | d :f :r | [illegible] :l :fe |
| l, :— :r | s, :— :s, | d :— | S, | t, :s, :d | l, :f, :s, | d :l, :t, |

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| t :— :M | l :— :t | d' :— :d' | t :d'.t:l .se | l :— | M | f :— :r |
| m :— :M | m :— :r | d :— :m | m :— :m .r | d :— | De | r :— :l,.t, |
| s :— :D'.t | l :— :se | l :m :l | l.se:l .t:d'.t | l :— | L | l :— :l |
| m :— :M.r | d :— :t, | l, :— :l, | m :— :m | l, :— | L, | r :— :f |

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| m :— :m | s :— :r | m :— :L | r :s :s | m :f.m:r | d :— |
| d :— :d | r :— :t, | d :— :D | t, :— :d | d :— :t, | d :— |
| s :— :s | s :— :s | s :— :R | r :— :d | d :l :f | m :— |
| m :— :d | t, :— :r | d :— :F, | s, :f, :m, | l, :f, :s, | d :— |

## 623 *Mawredd Duw.*

*mf* MAE 'n llon'd y nefoedd, llon'd y byd,
Llon'd uffern hefyd yw;
*cres.* Llon'd tragwyddoldeb maith ei hun—
Diderfyn ydyw Duw;
*f* Mae 'n llon'd y gwagle yn ddigoll,
Mae oll yn oll, a'i allu 'n un,
Anfeidrol, annherfynol Fod,
A'i hanfod ynddo 'i hun.

*mf* Anfesuredig yw ei ras,
Un addas yw i ni;
Ni a welsom ac a glywsom sôn
Am droion Un yn Dri:
*cres.* Ac fel y clywsom, felly mae
I ninau 'n rhyfedd yn parhau,
Yn ddigyfnewid i'w fwynhau,
Er cymaint beiau 'r byd.

*f* Un hunanfodol ydoedd Ef
Cyn llunio nef na llawr—
Yn nhragwyddoldeb maith yn ol,
Yn Dduw anfeidrol fawr—
*cres.* Heb ddechreu dyddiau iddo 'n bod,
Na diwedd einioes chwaith i dd'od,
Tragwyddol a rhyfeddol Fod
Yn Drindod uniawn drefn.

E. J.

 

# MAENTWROG. M. 8.6.8.6.8.8.8.6.

*Doh* A. M. 84. J. RICHARDS, Festiniog, trefniant W. HUGHES (Alaw Manod).

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :$S_1$ | $l_1$ :$s_1$ | d :$t_1$ | d :r | m :S | d :f | m :r | d :— | — |
| :$M_1$ | $f_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$S_1$ | $m_1$ :$l_1$ | $s_1$ :$f_1$ | $m_1$ :— | — |
| :D | d :d | m :r | d :$t_1$ | d :D | d :d | d :$t_1$ | d :— | — |
| :$D_1$ | $f_1$ :$m_1.r_1$ | $d_1$ :$s_1.f_1$ | $m_1$ :$s_1$ | d :$M_1$ | $l_1$ :$f_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $d_1$ :— | — |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :$S_1$ | $l_1$ :$s_1$ | d :$t_1$ | d :r | m :M | r :s | s :fe | s :— | — |
| :$M_1$ | $f_1$ :$s_1$ | $m_1$ :$s_1$ | $s_1$.d :d.$t_1$ | d :D | r :$t_1$ | d :$l_1$ | $t_1$ :— | — |
| :D | d :d | d :r | m :f | s :S | s :s | m :r | r :— | — |
| :$D_1$ | $f_1$ :$m_1$ | $l_1$ :$s_1.f_1$ | $m_1$ :$r_1$ | $d_1$ :D | $t_1$ :m | d :r | $s_1$ :— | — |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | s :m | f :r | m :m | r :M | r :d | r :$t_1$ | d :r | m |
| :D | r :d | d :-.$t_1$ | d :d | $t_1$ :D | $t_1$ :$l_1$ | $l_1$ :-.$se_1$ | $l_1$ :$l_1$ | $se_1$ |
| :M | s :s | l :s | s :s | s :S | f :m | f :m.r | d :$l_1$ | $t_1$ |
| :D | $t_1$ :d | $f_1$ :$s_1$ | $d_1.r_1$ :$m_1.f_1$ | $s_1$ :D | $s_1$ :$l_1$ | $r_1$ :$m_1$ | $l_1$ :$f_1$ | $m_1$ |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | m :d | r :$t_1$ | d :r | m :D | $l_1$ :f | m :r | d :— | — |
| :$Se_1$ | $l_1$ :$l_1$ | $l_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$S_1$ | $l_1$ :$l_1$ | $s_1$ :$f_1$ | $m_1$ :— | — |
| :$T_1$ | d :m | r :r | d :$t_1$ | d :D | d :d | d :$t_1$ | d :— | — |
| :$M_1$ | $l_1$ :$l_1$ | $f_1$ :$s_1.f_1$ | $m_1$ :$r_1$ | $d_1$ :$M_1$ | $f_1$ :$r_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $d_1$ :— | — |

## 624 *Iesu ar ddeheulaw y Tad.*

*mf* AWN at orseddfainc gras drwy ffydd,
Mae 'r ffordd yn rhydd a rhad,
Ac Iesu 'n Archoffeiriad fry,
O'n tu ger bron y Tad;
*cres.* Mae 'i dosturiaethau yn ddidrai,
Mae 'i eiriau fel y diliau mêl,
Ac erys byth yn drysor llawn
Ei ddawn i'r oesau ddêl.

*mf* Molienir Ef o oes i oes,
Hyd olaf oes y byd;
Yn beraidd glod i'w enw glân
Y rhoir y gân i gyd;
Ac wedi diffodd haul a sêr,
A darfod rhifo amser mwy,
*cres.* Ni dderfydd byth tra nef yn bod
Fawr glod ei farwol glwy!

HIRAETHOG.

## 625 *Dilyn yr Iesu.*

*mf* CRIST ydyw'r Bugail mawr di-ball,
Arweinia'r dall i dŷ;
Dyddanu'r gwan eu meddwl mae,
A'u llawenhau yn llu:
*cres.* A âi di, enaid, ar ei ol?
Mae yn rhinweddol nerthol Naf;
Fe'th dderbyn fel yr ydwyt, cred:
*f* Nac oeda, dywed, 'Af.'

*mf* Pan elych drwy'r Iorddonen ddu,
Cei lechu yn ei law:
Fe'th ddwg di, enaid llesg, i'r lân,
I'w nefol drigfan draw;
*cres.* Cei ganu'n llafar gyda'r llu
Sy'n llawenychu yn eu Naf:
A âi di i'w ganlyn doed a ddêl?
*f* Nac oeda, dywed, 'Af.'

E. J.

## 626 *Duw a drugarhao wrthym ac a'n bendithio.*

*mp* DUW! trugarha, bendithia ni
O'th fawr ddaioni rhad,
A dyrcha arnom lewyrch llon,
Dy wyneb, dirion Dad!
*cres.* Fel yr adwaener ffordd a gwaith
Dy iachawdwriaeth fawr ei dawn,
A ninau'th bobl oll yn nghyd,
*f* Dy foli'n unfryd wnawn.

HIRAETHOG.

## Rhif 144. WORMS. M. 8.7.8.7.8.8.7.

*Doh* G. M. 48. M. LUTHER, 1483—1546.

```
:D  |d :m |r :d |r :r |m :D |m :f |s :m |r :— |d  ||D  |d :m |r :d
:S, |s, :d |t, :d |d :t, |d :S, |s, :d |t, :d |d :t, |d ||S, |s, :d |t, :d
:M  |d :s |s :m |l :s |s :M |s :d |r :d |l :s.f |m ||M  |d :s |s :m
:D, |m, :d, |s, :l, |f, :s, |d, :D |d :l, |s, :l, |f, :s, |d, ||D, |m, :d, |s, :l,

|r :r |m :D |m :f |s :m |r :— |d ||M |f :m |r :d |t, :d |r :M
|d :t, |d :S, |s, :d |t, :d |d :t, |d ||D |d :d |t, :l, |se, :l, |t, :S,
|l :s |s :S.f |m.r :d |r :d |l :s.f |m ||S |l :s |s :m |m :m |s :S
|f, :s, |d :M.r |d.t, :l, |s, :l, |f, :s, |d ||D |f, :d |s, :l, |m, :l, |s, :D

|d :t, |d :s, |d :r |m ||D |m :f |s :m |r :— |d ||
|s, :f, |s, :s, |m,.d :t,.l, |se, ||L, |s, :d |d :d |d :t, |d ||
|m :f |m :m.r |d :l, |t, ||L,.t, |d :d |s :-.l |r :s.f |m ||
|m :r |d :d.t, |l, :f, |m, ||F, |d, :l, |m, :-.f, |s, :— |d, ||
```

(Na ddefnyddier y 𝄐 ond ynglyn a'r penill cyntaf ar olaf yn y tudalen hwn.)

### 627 *Dydd y Farn.*

*f* DDUW mawr! pa beth a welaf draw?
Diwedd a braw yr hollfyd!
Mi wela'r Barnwr yn nesau
Ar glaer gymylau tanllyd!
Yr udgorn mawr yn seinio sydd,
A'r beddau 'n rhoddi eu meirw 'n rhydd,
*p cr.* I wae, neu fythol wynfyd! R. D.

*f* Ah! hoffus sain—heb neb yn drist!
Y meirw yn Nghrist gyfodant
I'w gwrdd, yn mro'r gymylawg nen,
A'i orsedd wen cylchynant!
A'i bresenoldeb gwiw yn awr,
I'r rhai a'i carent ar y llawr,
Sy'n gweini gwawr gogoniant!

*mf* Ac wrth y floedd y meirw 'n Nghrist
Yn gyntaf a gyfodant;
I gwrdd eu Harglwydd fry uwch ben,
Yn llawen yr esgynant;
*cres.* Ei bresenoldeb dwyfol sydd
Yn troi eu nos yn fythol ddydd,
A'u gobaith prudd yn fwyniant.
AN.

### 628 *Bod yn barod.*

*mf* O ARGLWYDD Dduw! tuedda ni
I wylio cyn it' ddyfod!
Yn awr, cymoder ni â Thi
Cyn myned i'th gyfarfod!
*cres.* Gwna ni'n fwy ffyddlawn ar ein taith,
Fel pan y deui yr ail waith
Y byddwn oll yn barod!

*mf* Dydd gras yw 'n awr—dydd yw i ni
I ffoi rhag llid i ddyfod;
*cres.* Mae eto le, trwy 'r Iesu hael,
I ni â Duw gael cymod:
*f* Awn ato Fe, cawn eto fyw,
Boed iddo glod—dydd cymod yw;
O! brysiwn i'w gyfarfod!

*mf* O Farnwr cyfiawn! gwrando 'n cri,
Sydd mewn trueni 'n gorwedd;
O'th nerthol ras tosturia Di,
A dod i ni drugaredd!
*cres.* O fewn y noddfa caffer ni,
Agorwyd gynt ar Galfari,
*f* Cyn delo dydd dialedd!
AN.

Rhif 145. COED HELEN. M. 8.8.6. D.

*Doh* E♭. M. 60. H. J. GAUNTLETT, Mus. Doc., 1806—1876.

```
:M |m  :m  |m  :-.m |f  :f  |m   :-.M   |m  :m |f  :-.m |l  :f  |r  :S
:D |d  :r  |d  :-.d |r  :d  |r   :-.R   |d  :d |d  :-.d |d  :d  |t, :T,
:S |s  :se |l  :-.l |se :l  |t   :-.T   |l  :s |l  :-.l |l  :l  |s  :S
:D |d  :t, |l, :-.d |t, :l, |se, :-.Se, |l, :d |f, :-.l, |r, :r, |s, :F,
```

B♭.t.

```
s  :d |f :f   |m :— |— ||^s D   |d  :t, |d  :d  |d  :t, |d  :D
d  :d |d :t,  |d :— |— ||^d F,  |s, :s, |s, :f, |s, :s, |s, :M,
s  :s |l :s   |s :— |— ||^d' F  |m  :r  |d  :f  |m  :r  |d  :D
m, :m |r :s,  |d :— |— ||^m L,  |s, :f, |m, :l, |s, :f, |m, :L,
```

f.E♭.

```
r  :m      |f  :m       |r      :r  |^d s   :D   |d  :f      |r  :r   |d :— |—
l, :l,.s,  |f, :s,.l,   |r,.m,  :f, |^m t,  :D   |d  :d      |d  :t,  |d :— |—
d  :d      |t, :d       |d      :t, |^d s   :L   |s  :l      |l  :s.f |m :— |—
f, :m,     |r, :m,.f,   |s,     :s, |^d, s, :F,  |m, :r,.m,  |f, :s,  |d :— |—
```

**629** *Mwynhâd o Dduw.*

*mp* TYDI, fy Nuw! yw 'nhrysor drud;
Dy gariad geisiaf fi o hyd—
Gorphwysfa f' enaid yw:
*cres.* Pe collwn bobpeth ar y llawr,
A chael dy bresenoldeb mawr,
*mf* Yn ddedwydd byddwn byw.

*mp* Goleua hyn fy ffordd yn glir,
Drwy ofnau poenus anial dir
Sy'n blino f' enaid gwan.
*cres.* Er gwaetha'r byd ac uffern gref
Ymddiried wnaf yn ngras y nef,
*mf* Mae'n ddigon ar fy rhan.

AN.

**630** *Addewid y Tad.*

*mf* TYR'D, Iesu! yn dy gariad rhad,
Cyflawna addewid fawr y Tad,
I'n lloni ar ein taith;
O! gwêl ni mewn galarus wedd,
*cres.* Yn dysgwyl am dy hyfryd hedd,
I'n cynal gyda 'th waith.

*mp* Tywallta arnom ysbryd gras,
I lwyr farweiddio 'n llygredd câs,
Trwy rin dy aberth mawr;
*cres.* A dwg ni 'mewn i ryddid gwir,
I'th foli mwy â chalon bur,
Tra byddom ar y llawr.

AN.

**631** *Rhan y Pererin.*

*mp* MOR ddedwydd yw'r pererin gwan
Sydd ar ei daith i'w nefol fan:
Y Ganaan hyfryd yw!
*cres.* Mae 'n brysio adref nos a dydd,
Ac yn hiraethu bod yn rhydd,
*mf* I fyned yno i fyw!

*mp* O'r gwynfyd hwn ce's inau ran!
'Does ar y ddaear, mewn un man,
Ddim leinw f' enaid cu!
*cres.* Darfyddais a phleserau 'r byd—
Ei dda, a'i olud oll ynghyd:
*mf* 'Rwy'n ceisio'r pethau fry!

W. E.



N

## PENMAENMAWR. M. 8.8.6. D.

*Doh* A. M. 60. — E.t. — Purleigh.

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D | d :s, | l, :d | d :t, | d :M | m :d | $^{r}$s :d | f :m | r :S |
| :M, | m, :s, | f, :m, | l, :s, | s, :S, | s, :s, | $^{s_1}$d :d | t, :d | t, :R |
| :S, | s, :d | d :d | r :r | m :D | d :d | $^{t_1}$m :s | s :s.l | t :S |
| :D, | d, :m, | f, :l, | f, :s, | d, :D, | d, :m, | $^{s_1}$d :m | r :m.f | s :T, |

f.A.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| m :f | m :r | $^{d}$s, :— | — ‖ | S, | l, :s, | l,.t, :d | d :r | t, :R |
| d :r | d :t, | $^{d}$s, :— | — ‖ | S, | f, :s, | f, :m, | m, :fe, | s, :S, |
| s :l | s :-.f | $^{m}$t, :— | — ‖ | D | d :d | f, :s, | l, :d | r :T, |
| d :f, | s, :s, | $^{d}$s, :— | — ‖ | M, | f, :m, | r, :d, | l, :l, | s, :S, |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| m :s | f :m | r :d | t, :D | l, :r | d :t, | d :— | — ‖ |
| s, :s, | l, :s, | f, :s,.l, | s, :S, | f, :l, | s, :s, | s, :— | — ‖ |
| d :d | d :d | l,.t, :d.f | r :D | d :f | m :r | m :— | — ‖ |
| d :m, | f, :d, | r, :m,.f, | s, :M, | f, :r, | s, :s, | d, :— | — ‖ |

### 632 *Y Llef ddistaw fain.*

*mp* O'R nef fe ddaeth llef ddistaw, fain,
Hyfrydaf a phereiddiaf sain,
Trwy barthau 'r ddaear gron ;
Ac er dystawed yw y llef,
*cres.* Caiff pawb ei chlywed is y nef ;
*p* Mae Duw ei hun yn hon !

*mf* Llef radlawn yw, a melus iawn ;
Cyhoeddiad o faddeuant llawn
I'r euog gwael ei wedd ;
*cres.* Gwahoddiad i'r anghenus rai
At bob cyflawnder, heb ddim trai—
*f* Hon yw efengyl hedd.

*f* Aed sain efengyl cyn bo hir
I'r dwyrain a'r gorllewin dir,
Y gogledd oer, a'r de ;
*cres.* O ! profed pawb effeithiau hon,
Y byd fo 'n plygu ger ei bron,
A llwydded yn mhob lle.

Pedr Fardd.

### 633 *Crist ar y Groes.*

*mp* NIS gall y doeth angylion da
Fynegu faint oedd loes a phla
Mab Duw, achubydd dyn ;
Pan ar y groes yn goddef grym
Arteithiau llid cyfiawnder llym ;
*mf* Mae'n drech na dawn pob un.

*mp* Ni roddodd cledd fath ddyrnod, clyw !
A'r un dderbyniodd gwir Fab Duw
Ar groesbren un prydnawn ;
*cres.* Ond trwy ei loesion ar y pren
Agorodd ffordd i'r nefoedd wen,—
*mf* Efe ei hun yw 'r Iawn.

*mf* Iawn yn mhob dull, Iawn mawr Mab Duw,
Iawn gaed o fodd, Iawn geidw'n fyw
Fyrddiynau rif y dail ;
*cres.* Iawn nad oes fyth ddim eisieu 'i fwy,
Pan ar y groes, dan farwol glwy,
A roddodd Adda 'r ail.

I. ab Ioan.

# PEMBROKE. M. 8.8.6. D.

*Doh* G. M. 80. J. FOSTER, Bryste, 1850.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| :D | m :r :d | s :— :s | f :m :r | m :— :M | r :l :s |
| :$S_1$ | $s_1$ :— :$s_1$ | d :$t_1$ :d | d :— :$t_1$ | d :— :$S_1$ | $t_1$ :— :d |
| :M | s :f :m | m :r :s | l :s :s | s :— :D | r :— :s |
| :D | d :— :d | $s_1$ :— :$m_1$ | $f_1$ :$s_1$ :$s_1$ | d :— :D | $s_1$ :$f_1$ :$m_1$ |

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| d :f :m | $l_1$ :r :d | $t_1$ :— :R | m :fe :s | s :— :fe | s :— |
| $s_1$ :$t_1$ :d | $l_1$ :— :$l_1$ | $s_1$ :— :$T_1$ | d :— :$t_1$ | $l_1$ :— :$l_1$ | $t_1$ :— |
| m :f :s | f :— :fe | r :— :S | s :l :r | m :— :r | r :— |
| $m_1$ :$r_1$ :$d_1$ | $f_1$ :— :$r_1$ | $s_1$ :— :$S_1$ | d :$l_1$ :$t_1$ | d :— :r | $s_1$ :— |

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| :S | s :— :s | s :f :m | r :m :f | m :— :M | m :— :m |
| :D | m :r :d | d :— :d | $t_1$ :d :r | d :— :D | d :— :$t_1$ |
| :M | s :f :m | s :— :s | s :— :s | s :— :S | l :— :s |
| :D | d :— :d | m :r :d | $s_1$ :— :$s_1$ | d :— :D | $l_1$ :d :m |

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| l :— :d | s :f :m | r :— :M | f :s :l | s :— :$t_1$ | d :— |
| $l_1$ :— :$s_1$ | $t_1$ :r :d | $t_1$ :— :D | d :$ta_1$ :$l_1$ | d :— :$s_1$ | $s_1$ :— |
| f :— :s | s :— :s | s :— :S | f :m :f | m :r :f | m :— |
| f :— :m | r :$t_1$ :d | $s_1$ :— :D | $l_1$ :$s_1$ :$f_1$ | $s_1$ :— :$s_1$ | $d_1$ :— |

## 634 *Wrth ymadael.*

*mf* NEWYDDION da sy'n cael eu dwyn:
Mae cyfoeth yr efengyl fwyn,
A'i llawnder fel y lli';
*cres.* Ond er mor hyfryd cwrdd yn awr
A brodyr anwyl ar y llawr,
*dim.* Ymadael raid i ni!

*mp* Os rhaid gwahanu 'n awr am dro,
*cres.* Mae 'n felus iawn cael dwyn i go'
Gyfarfod pur y nef;
*mf* Lle cawn gydwledda 'n ddiwahân,
Yn nghwmni 'r Oen, a'r engyl glân,
*f* A chanu 'Iddo Ef!'

*mf* Mae yno bawb ar newydd wedd,
Yn llon o hyd, a llawn o hedd,
A'u cân am farwol glwy';
*f* Yn dorf ddirif, â'u llestri 'n llawn
O bur ddedwyddwch nefol ddawn—
*cres.* Heb raid ymadael mwy!

*mf* Cymhwysa ninau Arglwydd mawr!
I uno â'r dyrfa uwch y llawr,
Heb ofni poen a gwae;
*f* A threulio ein tragwyddol oes
Yn nghwmni 'r Hwn fu ar y groes,
*cres.* A'i weled fel y mae! T. P.

## 635 *Y Cristion mewn profedigaethau.*

*mf* AF heibio i bob creadur byw,
A'r byd a'i fwyniant gwael a gwyw,
Ei ŵg a'i wên ynghyd—
*cres.* Rhed, rhed fy enaid, ato Ef!
Cofleidia drysor nef y nef,
*f* A ddeil pan losgo 'r byd.

*mp* Os oes blinderau imi 'n stôr,
Fel fflamiau llym, neu dònau 'r môr,
Mewn byd sy'n llawn o blâ;
*cres.* Wna 'r dyfroedd ond fy ngwneyd yn lân,
Cha'i ond fy mhuro gan y tân,
*f* Am hyn pob peth yn dda! T. J.

## SEION. M. 8.8.6. D.

*Doh* **F.** M. 60. Alaw Germanaidd, o gasgliad, J. Hultze, 1623.

| :L | s :f \|m :m | r.m:d \|t, :T, | d :r \|m :s | l :fe \|m :M |
|---|---|---|---|---|
| :D | d :l,.t, \|d :s, | t, :l, \|se, :Se, | l, :t, \|d :r | d :t,.l, \|se, :L,.r |
| :M | m :r \|m :m | s :m \|m :M | m :s \|s :r | m :m.re \|m :M |
| :L, | d :r \|l, :d | s, :l, \|m, :M, | l, :s, \|d :t, | l, :t, \|m :D.t, |

| l :d' \|d' :t | l :— \|— | D' | t :l \|s :m | f :r \|d :M |
|---|---|---|---|---|
| d :m \|m :r | d :— \|— | M | m :re \|m :d | d :t, \|d :D |
| m :l \|l :se | l :— \|— | L | s :fe \|m :s | l :s.f \|m :S |
| d :l, \|m :m | l, :— \|— | L, | t, :t, \|d :m | r :s, \|d :D |

| l :s \|m :f | r.m:d \|t, :L, | d :m \|r :t, | l, :— \|— |
|---|---|---|---|
| m :r \|d :l, | t, :l, \|se, :L, | l, :d \|l, :se, | l, :— \|— |
| d :r.s \|s :f | f.m:m \|m :D | m :l \|f :m.r | d :— \|— |
| l, :t, \|d :r | se, :l, \|m, :L, | l, :l, \|r, :m, | l, :— \|— |

### 636 *Y ffordd trwy ei waed Ef.*

*mp* YN Gethsemane a Chalfari,
Tan faich oedd fawr, bu'n Harglwydd ni,—
Yn dawel darfu ei ddwyn!
A'i waed yn llifo hyd y llawr,
Mewn ing tan faich anrhaethol fawr,
Dyoddefodd er ein mwyn!

*mf* Fe ddaeth yn Feichiau ac yn Iawn,
A rhoes ei Hun yn daliad llawn,—
Yn aberth perffaith oll.
Trwy ufudd waith a dyfnaf gur
Rhoes lwyr foddhad i'r gyfraith bur,
Heb ddiffyg, bai, na choll.

*mf* Cysegrwyd ffordd sy'n rhydd a rhad,—
Ffordd newydd fywiol at y Tad,
Trwy werthfawr waed yr Oen:
*cres.* Mae'n ffordd i ninau deithio'n llon,
Nes dod yn berffaith ger ei fron,
Heb bechod, braw, na phoen.

T. J.

### 637 *Ymestyn at y pethau o'r blaen.*

*mf* O IESU byw! Iachawdwr byd!
Dwg fi yn glau i'th fynwes glyd,
'Gael prawf o'th gariad cu,
Sydd well na 'r gwin i'm henaid gwan;
Am hyn 'rwy'n daer am ddyfod dan,
Dy dirion aden Di.

*mf* Dy gariad dwys yn f' enaid dod,
Ac ynddo fyth gâd imi fod
Yn nofio tua 'r nef—
Nes gado 'n deg yr anial dir,
A glanio o fewn i Salem bur,
O'r afon greulon gref.

*f* O wynfydedig ddedwydd awr,
Pan dŷr yr hyfryd foreu wawr!
Caf esgyn uwch y nen:—
Gorphwysfa lân, tragwyddol wledd
Gaf fi fwynhau mewn dinas hedd,
Boed hyn ar frys, Amen.

W. W.

## LLANDEGAI. M. 8.8.6. D.

*Doh* F. M. 66. EVAN EVANS, Bangor, 1880.

:D |t, :s, |d :m |r :r |m :S |d :f |m :r.d |r :d |t, :R
:S, |s, :s, |s, :d |d :t, |d :S, |l, :l, |d :l, |l, :l, |s, :S,.fe,
:M |r :t, |d :s |l :s |s :R |m :r |s :m |r :fe |s :T,
:D |s, :f, |m, :m, |f, :s, |d :T, |l, :r, |m, :l, |fe, :r, |s, :S,

|d :t,.l, |t, :l, |s, :— |— || S |m :d |s :m |l :d' |t :L
|m,.fe, :s, |s, :fe, |s, :— |— || S |m :d |s :m |m :m |m :D
|d :r.m |r :r.d |t, :— |— || S |m :d |s :m |l :l |se :M
|l, :t,.d |r :r, |s, :— |— || S |m :d |s :m |d :l, |m :L,

|s :f |m :l |d' :t |l :S |f :m.r |m :r |d :— |— ||
|r :t, |d.r :m.f |m :r |d :R.d |l,.t, :d |d :t, |d :— |— ||
|r :s |s.se :l |l :se |l :R.m |f :s.l |s :s.f |m :— |— ||
|t, :s, |d.t, :d.r |m :m, |l, :T,.d |r :m.f |s :s, |d :— |— ||

### 638 *Mawredd Duw.*

*f* GLODFORWCH enw 'r Arglwydd Dduw,
Ei weision Ef, eich dyled yw
Molianu ei enw mawr.
Bendigaid yw, bendigaid fydd
Ef o hyn allan yn ddi-ludd,
Tra treiglo oesau 'r llawr.

*f* O godiad hyd fachludiad haul
Molianus ydyw, heb ei ail,
A byth y saif uwch law
Yr holl genedloedd sy'n y byd,
Ac uwch y nefoedd fawr i gyd
Ei fath ni bu—ni ddaw!

*mf* Pwy fel Jehofah, ein Duw ni,
Sydd uchel mewn anfeidrol fri,
Ac yn ymostwng lawr
*cres.* I edrych ar y pethau sy'
Yn nef y nef, a'r ddaear ddu?
*f* Efe ei hun sydd fawr!

*mf* Efe o'r llwch sy'n codi 'r tlawd,
Ac i'r anghenus mae yn frawd,—
*p* Trueiniaid gwael eu gwedd;
*cres.* I'w gosod hwy yn hardd eu drych
Yn mysg ei bendefigion gwych
*f* I gydfwynhau ei hedd.

HIRAETHOG.

### 639 *Trysorau'r Groes.*

*mf* NID wyf yn chwenych clywed mwy
Am ddim ond Crist, a'i farwol glwy';
Mae 'm noddfa ynddo Ef:
Ac yn ei sanctaidd werthfawr waed
Y mae 'r trysorau goreu gaed:
Am hwn y mae fy llef.

*mf* Pa enaid sydd na una 'n awr
I ganmol yr Iachawdwr mawr,
A rhin ei farwol glwy?
*cres.* Gan ddweyd o hyd, 'I mi nid oes
Ond Iesu Grist, a gwaed ei groes!—
A'i nabod Ef yn fwy.' AN.

Rhif 150. **TADMOR.** M. 8.8.6. D.

*Doh* E♭. M. 69. L. MASON, 1792—1872.

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D | m :-.m | m :r | m :f | s :M | l :-.l | l :s | f :m | r :S |
| :D | d :-.d | d :$t_1$ | d :r | m :D | d :-.d | d :d | r :d | $t_1$ :$T_1$ |
| :M | s :-.s | s :s | s :s | s :S | f :-.f | f :s | s :s | s :S |
| :D | d :-.d | d :f | m :r | d :D | f :-.f | f :m | $t_1$ :d | $s_1$ :$S_1$ |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| t :l | s :fe | s :— | — | S | $d^1$ :s | s :m | f :l | s :S |
| r :d | $t_1$ :$l_1$ | $t_1$ :— | — | D | m :m | d :d | d :d | d :D |
| s :m | r :r | r :— | — | M | s :$d^1$ | s :s | f :f | m :M |
| $s_1$ :d | r :r | $s_1$ :— | — | D | d :d | m :d | $l_1$ :$f_1$ | d :D |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| $d^1$ :s | s :m | f :l | s :D | r :f | m :r | d :— | — |
| m :m | d :d | d :d | d :D | $l_1$ :d | d :$t_1$ | d :— | — |
| s :$d^1$ | s :s | l :f | m :M | f :l | s :f | m :— | — |
| d :d | m :d | f :f | d :D | $f_1$ :$f_1$ | $s_1$ :$s_1$ | d :— | — |

## 640 *Yr Eglwys, a Christ.*

*mf* O! PWY yw hon sy'n dod yn hy',
Yn lew i'r lan, fel rhwng dau lu,
O'r dywell Aiphtaidd wlad?
Gan roddi pwys ei henaid pur
Ar Iesu gwiw—'r Messia gwir—
*f* Ei Ffrynd, a'i Phrynwr rhad!

*mf* O'r dyfnder du i'r lan y daeth,
Tua 'r wlad sy'n llifo o fêl a llaeth,—
Yr etifeddiaeth fras:
*cres.* Yn llawn o hedd, mae 'n awr mewn hwyl,
A'r nefol gainc yn cadw gŵyl,
Am dd'od o'r Aipht i maes.

*mf* Mae Duw o'i phlaid, hi ga'dd o'i blaen
Y cwmwl niwl a'r golofn dân—
Eneiniad yr holl saint;
*cres.* Hi ŵyr y ffordd i'r Ganaan draw,
Ni chyfeiliorna ar un llaw,
Nes cael meddianu 'r fraint.

W. W.

## 641 *Molwch yr Arglwydd.*

*mf* O ARGLWYDD Dduw! Tydi dy hun
Yw gwrthddrych serch a doniau dyn;
Pwy'n deilwng, ond Tydi?
*cres.* Mae 'th fawl yn fwy na geiriau 'r llawr;
Ond nid yn fwy, Greawdwr mawr!
Na 'n dymuniadau ni.

*f* Deffroed, deffroed pob perchen dawn—
I chwyddo 'r Haleliwia lawn,
I Ti, O Arglwydd Dduw!
*cres.* O annherfynol Dri yn Un!
Preswylia yn dy fawl dy hun—
Dy le dewisol yw!

*f* Doed meibion Adda 'n dyrfa lawn,
I draethu 'th annhraethadwy ddawn
A gaed drwy farwol glwy'!
Nid creu, a chynal, bod, a byw—
Ond rhoddion gwell trugaredd Duw
Yw pwnc eu hanthem hyw!

EMRYS.

## ST. JOHN. M. 8.8.6. D.

*Doh* C. M. 80. Alaw Gymreig.

L :— |d' :r' | m' :— |m' :— | d' :l |t :— | M' :— |r' :d'
M :— |l :l | se :— |l :— | l :l |se :— | M :— |f :m
L :— |l :l | t :— |m' :— | m' :m' |m' :— | L :— |l :l
L :— |l :f | m :— |d :— | l, :d |m :— | D :— |r :l,

t :— |l :— | s :fe |m :— | M' :— |r' :m' | d' :— |t :—
m :— |m :— | m :re |m :— | S :— |s :m | m :— |r :—
se :— |l :— | t :l |s :— | T :— |t :d' | l :— |se :—
m :— |d :— | t, :t, |m :— | M :— |s :d.r | m :— |m :—

l :— |— :— || M' :— |m' :m' | m' :— |r' :— | r' :d' |t :— | M :— |l :l
d :— |— :— || D :— |d :m | s :— |s :— | l :m |m :— | M :— |m :f
l :— |— :— || S :— |s :d' | d' :— |t :— | l :l |se :— | L :— |d' :r'
l, :— |— :— || D :— |m :s | d' :— |s :— | f :l |m :— | D :— |l, :r

l :— |t :— | d' :l |t :— | M' :— |r' :m' | d :— |t :— | l :— |— :— ||
m :— |se :— | l :l |se :— | S :— |s :m | m :— |r :— | d :— |— :— ||
m' :— |m' :— | m' :m' |m' :— | D' :— |t :d' | l :— |se :— | l :— |— :— ||
d :— |t, :— | l, :d |m :— | M :— |s :d.r | m :— |m :— | l, :— |— :— ||

### 642 *Mawr ddyoddefaint Crist.*

*p* AI Iesu, Cyfaill dynolryw,
A wela'i fry a'i gnawd yn friw,
A'i waed yn lliwio'r lle;
Fel gwr di-bris yn rhwym ar bren,
A'r gwaed yn dolchau ar ei ben?
*cres.* Ie, f' enaid, dyma Fe!

*p* Ai'm hanwyl Briod, wela'i draw,
A hoelion llymion drwy bob llaw,
A'u pwyo'n drwm i dre';
A'r miniog ddur trwy' i dyner draed,
Ac yntau'n marw yn ei waed?
*cres.* Ie, f' enaid, dyma Fe!

W. W.

### 643 *Gweddi ffydd.*

*mp* TYDI, 'r Hwn wrendy weddi ffydd,
A gedwi Di yr enaid sydd
Yn gogwydd at y groes?
I mi, nid oes un noddfa glyd,
Ond 'hedeg at Iachawdwr byd,
I lechu yn ei loes.

*mp* Yn lle'r pechadur, clwyfwyd Ef!
Ei bur gyfiawnder yw fy llef—
Ei waed fy nadl yw;
*cres.* Teilyngdod Crist fy ngwisg gaiff fod,
A thrwy ei ddwyfol ddawn caf ddod
Yn nes at orsedd Duw.

*mf* Gan hyny, rhag tragwyddol wae,
O! dwg fy enaid gwan lle mae
Tragwyddol hedd yn 'stor;
*cres.* Trwy d'Ysbryd crea dduwiol ddawn,
A sibrwd yn fy nghalon lawn—
'Dy gyfaill ydyw'th Ior.'

TOPLADY—CYF.

### 644 *Eden, a Chalfaria.*

*mp* YN Eden, cofiaf hyny byth,
Bendithion gollais rif y gwlith;
Syrthiodd fy nghoron wiw:
*cres.* Ond buddugoliaeth Calfari
Enillodd fwy yn ol i mi;
*f* Mi ganaf tra b'wyf byw.

*mp* Ar Galfari, yn ngwres y dydd,
Y caed y gwystl mawr yn rhydd,
*p* Trwy golli gwaed yn lli';
*cres.* 'Does dim heb dalu, rhoddwyd Iawn,
Nes clirio llyfrau'r nef yn llawn,
Heb ofyn dim i mi.

W. W.

## Rhif 152. TROYTE'S CHANT. M. 8.8.8.6.

Doh F. A. H. D. Troyte, 1811-1857.

| | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| M:– | m :f | s :– | F :– | m :r | m :– | M:– | m :r | d :– | R :– | d :$t_1$ | d :– |
| D :– | d :d | d :– | $T_1$:– | d :$t_1$ | d :– | D :– | d :$t_1$ | d :– | $L_1$:– | $s_1$:$s_1$ | $s_1$:– |
| S :– | s :f | m :– | S :– | s :s | s :– | S :– | s :f | m :– | F :– | m :r | m :– |
| D :– | d :$l_1$ | $m_1$:– | R :– | d :$s_1$ | d :– | D :– | d :$s_1$ | $l_1$:– | $F_1$:– | $s_1$:$s_1$ | d :– |

### 645 *Coroniad y Brenin.*

*f* CYFODI wnaeth Ty- | wysog | hedd,
Gorchfygodd uftern | fawr a'r | bedd,
Esgynodd i'w dra- | gwyddol | sedd,—
Mae 'r goron | ar ei | ben.

*f* Agorwyd dysglaer | byrth y | nef,
Fe glywir gorfol- | eddus | lef,
Fel swn y mor neu | daran | gref,—
Mae 'r goron | ar ei | ben.

*f* Y fuddugoliaeth | fawr a | gaed,
*p* Seraphiaid gwympant | wrth ei | draed,
A'r saint a olchwyd | yn ei | waed,—
*f* Mae 'r goron | ar ei | ben.

Gorseddwyd Crist yn | entrych | nef,
Pob glin a blyga | iddo | Ef,
Dyrchafwn y fudd- | ugol | lef,—
Mae'r goron | ar ei | ben.

*ff* Gogoniant fo, ar | uchel | gân,
Trwy 'r nef ar ddaear | heb wa- | han,
I'r Tad a'r Mab a'r | Ysbryd | Glân,—
Mewn coron | ar ei | ben.

An.

### 646 *Mae'n tynu ato'i hun.*

*mf* MAE 'r Iesu'n hyfryd | i'w fwyn- | hau,
Mae rhin ei aberth | yn par- | hau,
Mae'i waed o hyd yn | llwyr lan- | hau,
*f* Mae'n tynu | ato'i | hun.

*mf* Mae'n parotoi trig- | fanau | glân,
I'w anwyl deulu | fawr a | mân.
Nid hir y byddant | ar wa- | hân,
*f* Mae'n tynu | ato'i | hun. An.

### 647 *Molianant dy enw mawr.*

*f* DRAGWYDDOL Dad! col | ofnau'r | nef,
Gynheli a'th dde- | heulaw | gref;
Dysg ni yn awr ar | lafar | lef
I foli 'th | enw | mawr.

*f* Tydi, O Dduw! wyt | Dad pob | dawn;
Mae 'r ddaear, o'th ddai- | oni'n | llawn,
Mewn myrdd o leisiau | peraidd | iawn
Yn moli 'th | enw | mawr.

*cres.* Agori'th law, o | Arglwydd | Dduw
A llwyr ddiwelli | bobpeth | byw;
Pob perchen anadl | yn ei | ryw
Sy'n moli 'th | enw | mawr.

### 648 *Ail Ran.*

*mf* AM luniaeth, a char- | trefi | clyd,
Am iechyd, a phob | dawn yn | nghyd,
*cres.* Dyrchafwn gân â | llawen | fryd
*f* I foli 'th | enw | mawr.

*p* Gan i Ti roi, ein | nefol | Ri!
Dy Fab i farw | drosom | ni,
*cres.* Rhoi pobpeth gydag | Ef 'rwyt | Ti;—
*f* Rhown fawl i'th | enw | mawr.

*p* Tydi sy'n rhoddi 'r | Ysbryd | Glân,
Yn Ysbryd bywyd, | nerth, a | chân,
*cres.* I buro 'r byd â'r | dwyfol | dân,
*f* Er mawl i'th | enw | mawr.

*p* O Iesu! 'r cyfaill | goreu | gaed!
Am i Ti 'n prynu | drwy dy | waed,
*cres.* Rhown ein coronau | wrth dy | draed,
Mewn mawl i'th | enw | mawr.

*f* Rho fwy-fwy ini, o | ddoniau 'r | nef,
I buro 'n ffydd, a'i | gwneyd yn | gref,
*cres.* A chanwn byth ar | lafar | lef,
Ein mawl i'th | enw | mawr. S.

# LEEDS. M. 8.8.8.6.

*Doh* B♭. M. 60. L. MASON, 1792—1872.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :L, | m, :l, | d :t, | l, :se, | l, :D | t, :d | r :t, | d :r | m |
| :D, | m, :m, | m, :f, | m, :m, | m, :M, | m, :m, | f, :m, | m, :l, | se, |
| :L, | l, :d | m :r | d :t, | d :L, | se, :l, | l, :se, | l, :l, | t, |
| :L2 | d, :l2 | l, :r, | m, :m, | l, :L, | m, :l, | r, :m, | l, :f, | m, |

| | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D | r :m | f :m | r :d | t, :— | M :— | l, :t, | d :— | t, :— | l, :— | — |
| :M, | s, :s, | s, :s, | s, :m, | m, :— | M, :— | d, :f, | m, :— | m, :— | d, :— | — |
| :D | t, :d | r :d | t, :l, | se, :— | L, :— | l, :l, | l, :— | se, :— | l, :— | — |
| :L, | s, :d | t, :d | s, :l, | m, :— | D, :— | f, :r, | m, :— | m, :— | l2 :— | — |

## 649 *Gwrthddrych teilwng i'w garu.*

*mp* NID yw y ddaear fawr i gyd,
Yn deilwng o fy serch a 'mryd,
Nac unrhyw wrthddrych yn y byd;
*cres.* 'Rwy'n caru gwrthddrych mwy.

*mf* Nid llai y sawl wy'n garu yw
Na pherffaith ddyn a pherffaith Dduw,
Ddyoddefodd unwaith farwol friw:
*p* O! werthfawrocaf glwy'!

*mf* O addfwyn Iesu! gad im' fod
*cres.* O fewn dy gorlan, dan dy nôd,
A phob rhyw nwydau dan fy nhroed,
*f* Yn gyflawn o dy hedd.

*mf* Yn nghanol terfysg blin a gwae,
Croes a chystuddiau'n amlhau,
Heb fedru dim ond llawenhau,
Nes gorwedd yn y bedd.

W. W.

## 650 *Ymbil am gynaliaeth.*

*mp* RWYF yma bron a llwfrhau;
Mae fy ngrasusau yn llesghau,
A'm temtasiynau 'n amlhau,
Ac yn cryfhau o hyd.

*mf* O! atal fy ngelynion câs—
Fy unig noddfa yw dy ras;
Ond im' gael profi ei nefol flâs,
*f* Dy ogoniant fydd fy nghân!

W. W.

*mf* O! arwain trwy'r anialwch maith,
Fi wan bererin ar fy nhaith;
I orphen fy llafurus waith,
*f* O Dduw! rho nerth i mi.

*cres.* Gwna fi yn wrol, nos a dydd, [ffydd,
Yn ngwaith fy Nuw, gan fyw trwy
Nes o'm cadwynau fyn'd yn rhydd,
*f* I'r Ganaan freiniol fry.

M. R.

## 651 *Prynedigaeth.*

*mf* O IESU mawr! pwy ond Tydi,
A allai farw drosom ni,
A'n dwyn o warth i fythol fri?
*f* Pwy all anghofio hyn?

*f* Doed myrdd ar fyrdd o bob rhyw ddawn,
I gydfawrhau d'anfeidrol Iawn—
Y gwaith gyflawnaist un prydnawn
Ar fyth gofiadwy fryn.

*mf* Nid yw y greadigaeth faith,
Na'th holl arwyddion gwyrthiol chwaith
Yn gydbwys a'th achubol waith—
*p cres.* Yn marw i ni gael byw!

*f* Rhyfeddod heb heneiddio mwy
Fydd hanes mawr dy farwol glwy',
*cres.* Ni threiddia tragwyddoldeb drwy
Ddyfnderau cariad Duw.

EMRYS.

## WYDDGRUG. M. 8.7.3.

*Doh* **F.** M 60. J. A. LLOYD, 1815–1874.

```
D  :m   |s   :m    |r   :m   |f    :m    |D  :r   |m.s:s.f  |m  :r    |d  :— ||
S, :d   |d   :s,   |s,  :s,  |s,   :s,   |L, :t,  |d.m:m.r  |d  :t,   |d  :— ||
M  :s   |m   :d    |t,  :d   |d.t,:d     |M  :s   |s  :l    |s  :-.f  |m  :— ||
D  :d   |d   :d    |s,  :s,  |s,   :d    |L, :s,  |d  :f,   |s, :s,   |d  :— ||

M  :s   |d'.s:s.f  |m   :s   |d'   :t    |L  :s   |f  :m       |r  :d   |s  :— ||
S, :d   |m   :d    |s,  :d   |m    :r    |D  :d   |d.t,:d.s,  |s, :l,  |t, :— ||
D  :m   |s   :m.r  |d   :m   |s    :s    |L  :m   |f  :s       |t, :d   |r  :— ||
D  :d   |d   :d    |d   :d   |d    :r.m  |F  :m   |r  :d       |t, :l,  |s, :— ||

S  :f   |m   :—    |F   :m   |r    :—    |D  :r   |m.s:s.f  |m  :r    |d  :— ||
D  :t,  |d   :—    |R   :de  |r    :—    |D  :t,  |d.m:m.r  |d  :t,   |d  :— ||
S  :s   |s   :—    |L   :l.s |f    :—    |S  :s   |s  :l    |s  :r.f  |m  :— ||
M, :s,  |d   :—    |F,  :l,  |r,   :—    |M, :s,  |d  :f,   |s, :s,   {|d :— / |d, :—} ||
```

**749** *Y Messia wedi ei gael.*

*f* WELE, cawsom y Messia,
  Cyfaill gwerthfawroca' 'rioed,
Darfu Moses a'r prophwydi
  Ddweyd am dano cyn ei ddod;
Iesu yw, gwir Fab Duw,
Ffrynd a Phrynwr dynolryw.

*p* Hwn yw'r Oen, ar ben Calfaria
  Aeth i'r lladdfa yn ein lle,
*cres.* Swm ein dyled fawr a dalodd,
  Ac fe groesodd lyfrau 'r ne;
*mf* Trwy ei waed, i ni caed
*cres.* Bythol heddwch a rhyddhad.

*mf* Dyma Gyfaill haedda'i garu,
  A'i glodfori'n fwy nag un;
Prynu'n bywyd, talu'n dyled.
  A'n glanhau a'i waed ei hun;
*f* Frodyr, dewch, llawenhewch,
Yn ei foliant byth na thewch.

D. J. C.

**750** *Hwn fydd mawr.*

*mf* MAWR oedd Iesu'n nhragwyddoldeb
  Mawr yn gwisgo natur dyn,
Mawr yn marw ar Galfaria,
  Mawr yn maeddu angeu 'i hun;
*f* Hynod fawr, yw E'n awr,
Brenin nef a daear lawr!

Mawr yw'r Iesu yn ei berson,
  Mawr fel Duw, a mawr fel dyn,
Mawr ei degwch a'i hawddgarwch,
  Gwyn a gwridog, hardd ei lun!
*cres.* Mawr yw Ef, yn y nef,
Ar ei orsedd gadarn gref!

*mf* Mawr yw'r Iesu yn ei swyddau,
  Mawr fel Archoffeiriad glân,
Mawr fel Prophwyd, mawr fel Brenin,
  Mawr fel Bugail o fy mlaen;
Mawr oedd gwaith, (*p*) ingol daith,
*f* Lleinw 'i glod y nefoedd faith.

T. L.

## Rhif 195. NEANDER. M. 8.7.3.

J. Neander, 1610—1680.

*Doh* G. M. 72. *D.C.*

```
M :m   |r  :r   |d  :d   |t, :t,   |L,     :l,    |s,   :d      |m  :r   |d  :—
D :d   |d  :t,  |l, :l,  |l, :se,  |L,     :f,    |m,   :m,.d   |d  :t,  |d  :—
S :s   |s  :s   |m  :m   |m  :m    |D      :d.r   |m    :m      |s  :s.f |m  :—
D :d   |s, :s,  |l, :l,  |m, :m,   |F,.s,  :l,.t, |d    :l,     |s, :s,  |d, :—
```

```
M :m   |f  :—   |R  :r   |m  :—    |S  :s   |f     :m      |r  :r   |d  :—
D :d   |d  :—   |T, :t,  |d  :—    |S, :t,  |d.s,  :s,.d   |d  :t,  |d  :—
S :s   |l  :—   |S  :s   |s  :—    |R  :r   |d.r   :m      |l  :s.f |m  :—
D :d   |f  :—   |S, :s,  |d  :—    |T, :s,  |l,.t, :d      |f, :s,  |d, :—
```

## 751 *Arlwyadau Gras.*

*mf* CLYWCH genadon Duw yn galw!
Bechaduriaid, heddyw dewch
I briodas Mab y Brenin,
Croesaw grasol ganddo gewch:
*cres.* Dewch yn glau, (*p*) mae 'n hwyrhau,
*mf* Cyn y caffo 'r drws ei gau.

*mf* Pob peth ar y bwrdd sy'n barod,
Swper peraidd wedi 'i drin—
Gwledd o basgedigion breision,
A phuredig loyw win;
*cres.* Weithian dewch, a bwytewch,
*f* Gwledd o gariad yma gewch.

An.

## 752 *Cyfeillach y Saint.*

*mf* WELE! mor ddaionus ydyw
Trigo o frodyr yma 'nghyd;
Fel yr enaint tywalltedig
Fe adfywia 'n grasau i gyd.
*cres.* Dyro i ni, Arglwydd cu!
Fwyniant nefol yn dy dŷ.

*mf* Maeth a bywyd i'n heneidiau
Ydyw gwedd dy wyneb llon,
Mae yn falm i'r galon glwyfus
Ac yn heddwch dan y fron.
*cres.* Gwel'd dy wedd, ddyry hedd,
A orchfyga ofn y bedd.

*mf* Rho ireidd-dra gwlith dy gariad
Ar ein profiad yma 'nghyd,
Fel y b'o 'n rhinweddau 'n tarddu
Ac yn perarogli 'r byd.
*cres.* Arlwy fras, yw dy ras,—
Dyfroedd byw mewn anial cras.

Teganwy.

## 753 *Nerth yn Nuw.*

*mf* ARGLWYDD! edrych ar bererin
Sy'n myn'd tua'r wlad sydd well,
*mp* Ac yn ofni sŵn llifogydd
Wrth eu clywed draw o bell:
*p* 'Dwyf ond gwan, (*cr.*) dal fi i'r lan,
Mi orchfygaf yn y man.

*mf* Mi af trwy fyddinoedd cryfion
Yr estroniaid gwaetha'u rhyw,
*cres.* Ond cael gweled fod o'm hochr
Addewidion gwir fy Nuw:
*f* F' enaid ddaw yn dy law
I'r ardaloedd hyfryd draw.

*f* Ti gei 'r enw, a'r anrhydedd,
A'r gogoniant, yn y man,
Am, o ddyfnder maith trueni,
Iti wared f' enaid gwan:
*cres.* Nid oedd un ond dy hun
All'sai wared euog ddyn.

W. W.

## GROESWEN. M. 8.7.3.

*Doh* B♭. M. 69. J. A. Lloyd, 1815–1874.

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| D :$s_1$ | $l_1$ :$t_1$ | d :r | m :d | F :$l_1$ | r :d | $t_1$ :$l_1$ | $s_1$ :— |
| $M_1$ :$s_1$ | $f_1$ :$f_1$ | $m_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$m_1$ | $L_1$ :$fe_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$fe_1$ | $s_1$ :— |
| D :d | d :r | d :$t_1$ | d :m | R :r | r :m | r :d | $t_1$ :— |
| $D_1$ :$m_1$ | $f_1$ :$r_1$ | $l_1$ :$s_1$ | d :$d_1$ | $R_1$ :$r_1$.$d_1$ | $t_2$ :$d_1$ | $r_1$ :$r_1$ | $s_1$ :— |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| D :$s_1$ | $l_1$ :$t_1$ | d :r | m :d | F :r | s :f | m :r | d :— |
| $M_1$ :$s_1$ | $f_1$ :$f_1$ | $m_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$m_1$ | $L_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$l_1$ | $s_1$ :$f_1$ | $m_1$ :— |
| D :d | d :r | d :$t_1$ | d :m | R :$t_1$ | d :d | d :$t_1$ | d :— |
| $D_1$ :$m_1$ | $f_1$ :$r_1$ | $l_1$ :$s_1$ | d :$d_1$ | $R_1$ :$s_1$.$f_1$ | $m_1$ :$f_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $d_1$ :— |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| D :m | r :— | R :f | m :— | M :s | f :r | d :$t_1$ | d :— |
| $S_1$ :$s_1$ | $s_1$ :— | $S_1$ :$s_1$ | $s_1$ :— | $S_1$ :$s_1$ | $l_1$ :$l_1$ | $s_1$ :$f_1$ | $m_1$ :— |
| D :d | $t_1$ :— | R :$t_1$ | d :— | D :d | d :f | m :r | d :— |
| $M_1$ :$d_1$ | $s_1$ :— | T :$s_1$ | d :— | D :$m_1$ | $f_1$ :$f_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $d_1$ :— |

**754** *Dyoddefaint Crist.*

*mf* DACW'R ffynon wedi'i hagor,
A ddysgwyliwyd lawer oes;
'Nawr yn llifo fel y grisial,
Maes o'i ystlys ar y groes;
*cres.* Dŵr a gwaed, rydd iachâd,
I'r pechadur mwyaf gaed.

*mf* Nawr mi glywa 'r gair 'Gorphenwyd,'—
Gorphen iachawdwriaeth wir:
*p* Ac mi wela'r gwaed yn llifo,
Tros ei ruddiau sanctaidd pur:
*cres.* Wele'r nef, gadarn gref,
*dim.* Yn tywyllu wrth ei lef.

*mf* Minau bellach a obeithiaf—
Gobaith a felusa f' oes;
Gobaith wedi ei sylfaenu,
Ar och'neidiau pur y groes;
*cres.* Yma'n rhad, caf iachad,
Heddwch cyflawn a rhyddhad.

W. W.

**755** *Arweiniad y Gair.*

*mf* DIGON yw dy air i'm harwain
Trwy'r anialwch maith yn mlaen;
Mae yn golofn oleu, eglur—
Weithiau'n niwl, ac weithiau'n dân;
*cres.* Llusern yw, oleu wiw,
*f* I oleuo teulu Duw.

*mf* Af yn mlaen, a doed a ddelo,
Tra b'o hyfryd eiriau 'r nef
*cres.* Yn cyhoeddi iachawdwriaeth
Lawn, o'i enau sanctaidd Ef:
*f* Nid yw grym gelyn llym,
At dy ras anfeidrol ddim.

W. W.

**756** *Udgorn yr Efengyl.*

*mf* CLYWAF udgorn yr efengyl
Yn dadseinio nef a llawr,
Fod yn mherson y Messia
Fodd i faddeu 'mhechod mawr:
*cres.* Yn fy ngwae, llawenhau
*f* Wnaf am ffordd i'm cyfiawnhau.

*f* Clywed holl drigolion daear
Sŵn yr iachawdwriaeth hon:
Aed y newydd digyffelyb
Gylch y greadigaeth gron:
*cres.* Môr a thir, cyn bo hir,
Lenwir â'r newyddion gwir. W. E

Rhif 197. GILEAD. M. 8.7.3.

*Doh* E. M. 60. J. Roberts, Henllan o "Halelwiah" 1840.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| S | :m .f \| m.,r:d | s :s .l \| s.,f:m | S :m.f \| s :d' | t :l \| s :— |
| D | :d \| s, :s, | d :d \| d :s, | D :d.t, \| d :m | r :-.d \| t, :— |
| M | :s .l \| s.,f:m | m :m .f \| m.,r:d | M :s \| s :l .s | s :fe \| s :— |
| D | :d \| d :d | d :d \| d :d | D :d.r \| m :l, | r :r \| s, :— |

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| S | :m .f \| m.,r:d | s :s .l \| s.,f:m | S :m.f \| s :d' | t :l \| s :— |
| D | :d \| s, :s, | d :d \| d :s, | D :d.t, \| d :m | r :-.d \| t, :— |
| M | :s .l \| s.,f:m | m :m .f \| m.,r:d | M :s \| s :l .s | s :fe \| s :— |
| D | :d \| d :d | d :d \| d :d | D :d.r \| m :l, | r :r \| s, :— |

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| R | :f \| m.,r:d | s :d' \| t.,l:s | S :d'.t \| d'.,t:l.s,f | m :r \| d :— |
| T, | :r.s, \| s, :— | d :d.r \| r.,d:t, | D :m .r \| d :-.d,r | d :t, \| d :— |
| S | :t, \| d.,r:m | m :m.fe \| s :— | M :s \| s :f.s,l | s :-.f \| m :— |
| S, | :s, \| d :— | d :l, \| s, :— | D :d .r \| m :f.m,f | s :s, \| d :— |

## 757 *Dyfodiad Crist i'r Farn.*

*mf* GWELIR myrdd o ryfeddodau
Ar ddyfodiad Iesu Grist;
Ni fydd un o'r gwaredigion
Ar y boreu hwnw 'n drist;
*cres.* Galar mwy, poen na chlwy',
*f* Fyth ni ddaw i gwrdd â hwy.

*mf* Dyma 'r dydd y cân y caethion,
Nes dadseinio 'r nefoedd fawr,
Am ddyfodiad eu Gwaredwr,
Pan y cwrddont uwch y llawr:
*cres.* Yn eu plith, rif y gwlith,
*f* Molaf fy Iachawdwr byth.

M. R.

## 758 *Adgyfodiad Crist, a'i Bobl.*

*mf* WELE 'r ddyled wedi ei thalu!
Wele 'r ddraig â'i phen yn friw!
Meichiau anwyl pechaduriaid
Wedi d'od o'r bedd yn fyw!
*cres.* Digon yw, Iesu gwiw,
Gwellir Seion dlawd o'i briw.

*mf* Tynodd Iesu golyn angeu,
Daeth o'r bedd y trydydd dydd
A'r allweddau wrth ei wregys,—
Plant marwolaeth ddont yn rhydd!
*f* Ni gawn wledd, nefol hedd,
Drylliodd Iesu byrth y bedd!

An.

## 759 *Doniau helaeth Duw.*

*mf* DEUWN, Arglwydd! i'th gynteddau,
Ac ymgrymwn ger dy fron,
Er rhoi i Ti aberth moliant
Am gynaua'r flwyddyn hon.
*cres.* Gweddus yw, Arglwydd Dduw!
I ni foli 'th enw gwiw.

*mf* Yn lle newyn du, ac eisieu,
Llawnder welir yn ein gwlad;
O dy law haelionus dirion
Y daeth hyn, O nefol Dad!
*cres.* Gweddus yw, Arglwydd Dduw!
I ni foli 'th enw gwiw.

*mf* Beth a dalwn i Ti, Arglwydd!
Am dy ddoniau yn mhob modd?
Nerth rho im yn wastadol
Ar eu pwys i ryngu 'th fodd.
*cres.* Gweddus yw, Arglwydd Dduw!
I ni foli 'th enw gwiw.

W. W., T.

## Rhif 198. IREIDDIOL. M. 8.7.3.

*Doh* G. M. 84. W. B. Bradbury, 1816—1868.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| M :— :f | s :— :d | f :— :m | m :— :r | R :— :m |
| $S_1$ :— :$s_1$ | d :— :d | d :$s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :— :$s_1$ | $S_1$ :— :$s_1$ |
| D :— :r | m :— :m | d :r :m | d :— :$t_1$ | $T_1$ :— :d |
| D :— :d | d :— :d | $l_1$ :$t_1$ :d | $s_1$ :— :$s_1$ | $S_1$ :— :d |

| | | | *D.C.* | |
|---|---|---|---|---|
| f :— :r | d :— :$t_1$ | d :— :— | S :— :m | s :— :— |
| $l_1$ :— :$l_1$ | $s_1$ :— :$s_1$ | $s_1$ :— :— | D :— :$s_1$ | d :— :— |
| d :— :f | m :— :r | m :— :— | M :— :d | m :— :— |
| $f_1$ :— :$f_1$ | $s_1$ :— :$s_1$ | $d_1$ :— :— | D :— :d | d :— :— |

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| m :— :d | m :— :— | M :— :f | s :— :d | m :— :r | d :— :— |
| $s_1$ :— :$s_1$ | d :— :— | D :— :d | d :— :$l_1$ | $s_1$ :— :$s_1$.$f_1$ | $m_1$ :— :— |
| s :— :m | s :— :— | S :— :d | d :— :d | d :— :$t_1$ | d :— :— |
| $d_1$ :— :$d_1$ | d :— :— | D :— :$l_1$ | $m_1$ :— :$f_1$ | $s_1$ :— :$s_1$ | $d_1$ :— :— |

### 760 *Deisyfiad am fendith bersonol.*

*mf* ARGLWYDD! clywaf am gawodau
O fendithion roddi Di,
I adfywio 'th etifeddiaeth;
Gollwng ddefnyn arnaf fi:
*cres.* Ie, fi! Ie, fi!
Gollwng ddefnyn arnaf fi.

*mf* Arglwydd grasol! paid myn'd heibio,
Gad im' lynu wrthyt Ti:
Rhoist i eraill wleddoedd breision,
Rho friwsionyn bach i mi:
*cres.* Ie, fi! Ie, fi!
Rho friwsionyn bach i mi.

*mf* Ti achubaist fyrdd miliynau;
Beth yw achub un i Ti?
*p* Buost er fy mwyn yn gwaedu:
Yn dy waed, O! golcha fi:
*cres.* Ie, fi! Ie, fi!
Yn dy waed, O! golcha fi.

*f* Bydd rhyw dyrfa fawr fendigaid
Byth yn rhoddi mawl i Ti;
Ac i blith y dyrfa hono,
O fy Arglwydd! derbyn fi:
*cres.* Ie, fi! Ie, fi!
O fy Arglwydd! derbyn fi. S.

### 761 *Yr efengyl fel gwledd.*

*f* DEUWCH, hil syrthiedig Adda,
Daeth y Jubil fawr o hedd:
Galwad sydd ar bawb o'r enw
I fwynhau tragwyddol wledd;
*cres.* Bwrdd yn llawn, yma gawn,
O foreuddydd hyd brydnawn.

*mf* Ceisiwch wisgoedd y briodas,
Gwisgoedd hyfryd, hardd eu lliw;
Nid oes enw teilwng arnynt,
Ond cyfiawnder pur fy Nuw;
*cres.* Llian gwyn yw'r rhai hyn,
Wauwyd ar Galfaria fryn.

*f* Dyma wledd y cewch ddanteithion,
Yma cewch faddeuant rhad;
Yma cewch chwi brofi cariad,
Hedd yn nofio yn y gwaed;
*cres.* Dewch yn awr, dyrfa fawr,
Ac eisteddwch yma i lawr.
W. W.

### 762 *Dysgwyl am y dydd.*

*mf* FEL y morwr am yr awel,
Fel y gwyliwr am y dydd,
*mp* Felly dysgwyl f' enaid inau
Am yr Ysbryd Glan, trwy ffydd;
*cres.* Dyro 'n awr nefol wawr,
I fy lloni ar y llawr. D. J., Ll.

## Rhif 199. ADELAIDE. M. 8.7.3.

*Doh* E♭. M. 60. J. H. ROBERTS, Mus. Bac., 1879.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| S | :m.f | s :l | s :f.m | m :r | R :m | f :l | s :f | m :— |
| D | :d | d :d | d :r.d | d :$t_1$ | $T_1$ :d | d :d | $t_1$ :$t_1$ | d :— |
| M | :s.f | m :f | m :l | s :s | S :s | f :f | r :s | s :— |
| D | :d | d :d | d :$f_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $S_1$ :d | $l_1$ :$f_1$ | $s_1$ :$s_1$ | d :— |

B♭.t. f.E♭.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| S | :m | d' :l | ˢd :$l_1$ | $s_1$ :$l_1$.$t_1$ | D :r | m :s.f | m :r | ᵈs :— |
| D | :d | d :d | ʳ$s_1$ :$f_1$ | $f_1$ :$f_1$ | $S_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$s_1$.$l_1$ | $s_1$ :$f_1$ | ᵐ$t_1$ :— |
| M | :s | l :f | ˢd :d | $t_1$ :d.r | D :$t_1$ | d :d | d :$t_1$ | ᵈs :— |
| D | :d | d :d | ᵗ$m_1$ :$f_1$ | $s_1$ :$f_1$ | $M_1$ :$s_1$ | d :$m_1$.$f_1$ | $s_1$ :$s_1$ | ᵈ$s_1$ :— |

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| D' | :t | l :— | s :f | m :— | R :s.l | s :f | m :r | d :— |
| D | :m.r | d :— | r :r.d | $t_1$ :— | R :d.$t_1$ | d :r | d :$t_1$ | d :— |
| S | :s | l :— | l :l | se :— | L :s.f | s :l | s :f | m :— |
| M | :m | f :— | r :r | m :— | F :m.r | m :f | s :$s_1$ | d :— |

**763** *Amser Cymeradwy.*

*mf* DEUWCH, bechaduriaid, deuwch,
Ceisiwch heddwch yn y gwaed,
Rhag bydd fory'n rhy ddiweddar,
Ceuir drws trugaredd rad;
*cres.* Heddyw yw amser Duw,
Ffowch i'r noddfa bawb o'r byw.

*mf* Mae myrddiynau o'r rhai dua',—
Pechaduriaid pena'r byd,
Wedi'u derbyn, wedi'u cânu,
Fel yr eira gwyna i gyd;
*f* Ni bydd mwy arnynt hwy
Bechod, gofid, cur, na chlwy'.
J. J.

**764** *Caniadau Mynydd Seion.*

*mf* WELE'R Oen ar fynydd Seion,
'Nawr a'i weision gydag Ef;
Dwyn maent enw'u Tad a'u Harglwydd—
*cres.* Dyma arwydd Brenin nef;
*f* Wele'r llu—sanctaidd sy',
'N teithio tua Salem fry.

*mf* Pedair mil a saith ugein-mil,
Dyma lu rhyfeddol iawn;
Oll yn canu eu telynau,
*cres.* O foreuddydd hyd brydnawn;
*f* Wele'r llu—sanctaidd sy'.
'N teithio tua Salem fry.

*mf* Newydd byth a fydd eu hanthem,—
Cân briodol iddynt hwy;
Ger bron nefoedd a'r orseddfainc,
Canant am ei farwol glwy';
*f* Yn un llef—groyw gref,
Oll dywedant 'Iddo Ef.'
R. J., W.

**765** *Gwyn ei fyd y gwr, ni rodia yn nghyngor yr annuwiolion.*

*mf* GWYN ei fyd y gwr, ni rodia
Ffyrdd pleserau gwag y byd,—
Llwybrau cyfraith bur Iehofa,
*cres.* Yn hyfrydwch pena'i fryd,
*f* Gair y ffydd, nos a dydd
Iddo'n wledd wastadol sydd.

*mf* Megys ffrwythlawn bren yn tyfu,
Wrth afonydd dyfroedd byw,
Mae ei enaid yn cynyddu,
*cres.* Dan fendithion gwenau Duw;
*f* Hyfryd wlith, gras dilyth,
A ireiddia'i ysbryd byth. M.

## PENLLYN. M. 8.7.3.

*Doh* B♭. M. 96. Alaw Gymreig.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| D :— :t, | l, :—:t, | m :— :r | d :— :t, | D :— :r | m :— :r |
| L, :— :se, | l, :—:m, | m, :— :f, | m, :— :m, | M,:— :s, | s, :— :l, |
| M :— :r | d :—:se, | l, :— :l, | l, :— :se, | L, :— :t, | d :— :f |
| $L_2$:— :m, | f, :—:m,.r, | d, :— :r, | m, :— :m, | L, :— :s, | d, :— :r, |

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| d :— :t, | l, :— :— | D :— :r | m :— :d | t, :— :d | r :— :t, |
| l, :— :se, | l, :— :— | S, :— :s, | s,:— :s,.l, | s, :— :s, | f, :— :m, |
| m :— :r | d :— :— | D :— :t, | d :— :d .f | r :— :d | t, :l, :se, |
| m, :— :m, | $l_2$:— :— | M,:— :r, | d,:—.r, :m,.f, | s, :— :m, | r, :— :m, |

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| D :— :t, | l, :— :t, | d :— :r | m :— :— | M :— :d | l, :— :— |
| M,:— :se, | l, :— :se, | l, :— :l, | se, :— :— | M,:— :m, | m, :— :— |
| L, :d :r | m :— :r | d :— :l, | t, :— :— | D :— :d | d :— :— |
| L, :— :t, | d :— :t, | l, :s, :f, | m, :— :— | L, :— :l, | l, :— :— |

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| t, :— :s, | m, :— :— | L,:—:t, | m :— :r | d :— :t, | l, :— :— |
| s, :— :m, | m, :— :— | D,:—:m, | m, :l, :l, | l, :— :se, | l, :— :— |
| t, :— :t, | s, :— :— | L,:—:se, | l, :m :f | m :— :r | d :— :— |
| m, :— :m, | m, :— :— | F,:—:m,.r, | d, :— :r, | m, :— :m, | $l_2$ :— :— |

### 766 *Deisyf arweiniad a gwenau Duw.*

*mf* DYRO ini dy arweiniad,
Arglwydd! drwy yr oedfa hon,
*cres.* Rho dy Ysbryd, a'i ddylanwad,
I'n sancteiddio ger dy fron;
*f* Nefoedd yw, dedwydd fyw,
Dan dy wenau Di, O Dduw!

*mp* Yn lluddedig a newynog,
Crwydrwn drwy yr anial dir,
*cres.* Arwain ni i'r borfa welltog
*mp* Wrth y dyfroedd tawel, clir,
*mf* Rho fwynhad, Canaan wlad,
I dy blant, drugarog Dad.

*mf* Byw yn ngwen dy siriol wyneb
Ewyllysiwn yn y byd,
A chael oesoedd tragwyddoldeb
*cres.* I fawrhau dy gariad drud!
*f* Dyro 'i lawr, yma'n awr,
Ernes o'r gyfeillach fawr.

M.

### 767 *Dylanwadau achubol.*

*mf* DYRO ini wel'd o'r newydd,
Arglwydd! mai Tydi yw'n rhan;
Aed dy bresenoldeb hyfryd
Gyd â'th weision i bob man:
*cres.* Tyr'd yn awr, Arglwydd mawr!
Dyrcha arnom nefol wawr.

*mf* Ymddysgleiria yn y canol,
Gwel dy bobl yma 'nghyd,
Yn hiraethu, anwyl Iesu!
Am gael gwel'd dy wynebpryd:
*f* Chwyth yn gry', oddi fry,
Nes gwasgaru 'r cwmwl du.

*mf* Dyro nefol bur eneiniad
Rhin dy gariad ini 'n llawn;
Cawod hyfryd yn y boreu
Ac un arall y prydnawn;
*cres.* Profi 'th hedd, ini 'n wledd,
Nefoedd yw tu yma i'r bedd.

J. T.

# RHEIDOL. M. 8.7.3.

Doh A. M. 60. Parch J. Roberts (Ieuan Gwyllt), 1822–1877.

```
L, :se, |l, :t, |d  :r  |t,  :l, |M  :f   |m  :d   |r  :d  |t,  :— ||
M, :m,  |m, :s, |s, :l, |se, :l, |L, :l,  |l, :l,  |t, :l, |se, :— ||
D  :t,  |d  :r  |m  :f  |m   :d  |M  :r   |d  :m   |f  :m  |m   :— ||
L, :m,  |l, :s, |m, :r, |m,  :l, |D  :r   |l, :l,  |se,:l, |m,  :— ||

L, :se, |l, :t, |d  :r  |t,  :l, |D  :t,  |l, :t,  |d  :r  |m   :— ||
M, :m,  |m, :s, |s, :l, |se, :l, |L, :se, |l, :se, |l, :l, |se, :— ||
D  :t,  |d  :r  |m  :f  |m   :d  |M  :r   |d  :m   |m  :l, |t,  :— ||
L, :m,  |l, :s, |m, :r, |m,  :l, |L, :m,  |f, :m,  |l, :f, |m,  :— ||

M  :f   |r  :—  |r  :m  |d   :—  |T, :m   |m  :l,.t,  |d  :t,  |l, :— ||
L, :l,  |s, :—  |s, :s, |l,  :—  |L, :se, |l, :l,     |l  :se, |l, :— ||
D  :r   |t, :—  |t, :d  |l,  :—  |F  :t,  |d  :m.f    |m  :r   |d  :— ||
L, :r,  |s, :—  |s, :d, |f,  :—  |R, :m,  |l, :d,.r,  |m, :m,  |l, :— ||
```

## 768 *Gorphwysfa yn Nghrist.*

*mp* DAN fy maich o drwm euogrwydd,
Teithio 'n araf, llesg, a wnawn;
Ofn bob eiliad i lidiawgrwydd
Duw i ddisgyn arna' i'n llawn!
*cres.* Gwel'd ei wedd, greodd hedd,
Laddodd ynwyf ofn y bedd.

*mf* Wedi 'stormydd geirwon enbyd,
Wedi gwynt cynhyrfus cryf,
*p cres.* Yn ei ddystaw lef mae bywyd,
Wna fy ysbryd llwfr yn hyf;
*cres.* Defnydd nef sy'n ei lef,
Ddena f'enaid ato Ef.

*mf* Dyma 'm nefoedd ar y ddaear,
Ydyw gwedd ei wyneb llon,
*cres.* Try annedwydd ddyffryn galar
Yn Seceina ger fy mron;
*f* Tyrd yn awr, Iesu mawr!
Tyn fy mryd oddiwrth y llawr.

*mf* Pan fo tònau poen a blinder
Yn cynhyrfu f'enaid trist,
*cres.* Caf obenydd esmwyth, tyner,
Yn addewid Iesu Grist;
*f* Doed y byd ato i gyd,
Dyma gysgod tawel clyd.

Cernyw.

## 769 *Iawn Crist.*

*mf* GWAED yr Oen ar ben Calfaria
Lwyr foddlonai 'r nefoedd fawr;
Gwaed yr Oen a gàna'r dua
Geir o deulu daear lawr;
*f* Digon yw Iawn Mab Duw
Dros bechodau dynolryw!

*mf* Iawn i'r nef—Iawn dros y ddaear—
Iawn yw hwn foddlona'r Tad:
Iawn yr Oen sydd Iawn digymhar,
Iawn gaed trwy ei werthfawr waed!
*f* Yn yr Iawn, un prydnawn,
Ca'dd y ddeddf foddlonrwydd llawn.

An.

# PRISCILLA. M. 8.7.3.

D. J. JAMES, Penrhyndeudraeth.

*Doh* B♭. M. 60. *D.C.*

```
L, :t,  |d  :r  |m  :r  |m  :l,.se, |L, :t,    |m  :r  |d  :t,  |l,  :—
M, :se, |l, :l, |l, :l, |se, :m,    |M, :m,    |m, :l, |l, :se, |l,  :—
D  :m   |m  :r  |d  :l, |t,  :t,    |L, :se,   |l, :f  |m  :r   |d   :—
L, :m,  |l, :f, |m, :f, |m,  :m,    |D, :m,.r, |d, :r, |m, :m,  |l2  :—
```

F.t.

```
M  :m   |m .,r :d |rs  :s   |s .,f :m |F  :m  |r   :m .f
S, :s,  |s,    :— |s,d :t,  |d     :— |D  :de |r   :d
D  :d   |d .,r :m |t,m :r   |m .,f :s |L  :s  |f   :l
D, :d,  |d     :— |s,d :s,  |d     :— |L, :l, |ta, :l,
```

:||: B♭.

```
s  :s      |s .,f :m |fd   :t,  |m  :r  |d  :t,    |l,  :—
t, :d .r   |d     :— |l,m, :se, |l, :l, |l, :se,   |l,  :—
r  :r      |m .,f :s |fd   :m   |m  :f  |m  :m .r  |d   :—
s, :l, .t, |d     :— |rl,  :m,  |d, :r, |m, :m,    |l2  :—
```

## 770 *Y Gronyn Gwenith.*

*mp cres.* O FY enaid ! nac anghofia
*p* Ymdrech Iesu yn yr ardd—
Ei riddfanau dwys a'i boenau,
*cres.* Wrth fawrhau ei gyfraith hardd !
*mf* Ef yw 'r Iawn, taliad llawn,
Roddodd drosom un prydnawn.

*mp* Wele 'r gronyn gwenith nefol
Wedi syrthio i'r ddaear lawr:
*p cres.* Gan ei farw, ni bydd unig—
*mf* Bydd ei ffrwyth fel gwlith y wawr.
*f* Gwelir fry ddirif lu—
Ffrwyth marwolaeth Iesu cu !

AN.

## 771 *Gweddi am brofi tangnefedd Duw.*

*mf* TYRED, Arglwydd ! a'r amseroedd
Mae fy enaid am fwynhau—
Pur dangnefedd heb dymhestloedd,
Cariad hyfryd a didrai;
*f* Gwledd o hedd yw dy wedd,
Nid oes ond dy blant a'i medd.

*mf* Rho i mi arwydd, cryf ac eglur,
Heb amheuaeth ynddo ddim,
Gan nad beth fo arnaf eisieu,
Dy fod Di yn Briod im';
*f* Gwel'd fy rhan, ddeil i'r lan,
Yn mhob brwydr f' enaid gwan.

*mf* Nis gall un o'r 'stormydd enbyd
Nis gall dim o'r gwyntoedd cry',
Guro i lawr yr enaid egwan
Welo'i drysor ynot Ti;
*f* Teimlo'th hedd, gwel'd dy wedd,
Gonera angeu cryf a'r bedd.

W. W.

## 772 *Crist yn unig i adeiladu arno.*

*mf* NI'AD fi adeiladu'n ysgafn
Ar un sylfaen is y ne',
Na chymeryd craig i orphwys
Tu yma i angeu yn dy le:
*f* Iesu'm Duw, tra fwyf byw,
Bydd i mi 'n orphwysfa wiw.

*mf* Dyma'r maen sy'n sylfaen Seion,
Etholedig, gwerthfawr, pur,
Gloddiwyd allan yn y bryniau,
Bryniau y tragwyddol dir:
*cres.* Nid oes le is y ne',
I adeiladu ond Efe.

*mf* Minau'r gwaela' o bechaduriaid,
Yn y diwedd ro'f fy nhroed,
Ar y Graig sydd yn y moroedd,—
Craig gadarnaf fu erioed:
*f* Ceidw hon, yn mhob ton,
Ofnau ffwrdd o dan fy mron. W. W.

## DOLFOR. M. 8.7.3.

Alaw Gymreig.

*Doh* C. M. 60. *D.C.*

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| L :d' \|t :t | m' :m' \|r' :t | D' :l \|t :r' | d' :t \|l :— | ‖ |
| M :m \|f :m | m :l \|f :m | M :f \|f :f | m :r \|d :— | ‖ |
| D' :l \|l :se | l :d' \|l :se | L :d' \|t :l | l :se \|l :— | ‖ |
| L$_1$ :l \|r :m.r | d :l$_1$ \|r :m | L :f \|r :r | m :m \|l$_1$ :— | ‖ |

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| M' :m' \|r' :— | d' :d' \|t :— | M' :r' \|d' :d' | t :t \|l :— | ‖ |
| D :s \|s :— | m :l \|se :— | L :l.se \|l :l | l :se \|l :— | ‖ |
| S :d' \|t :— | m' :m' \|m' :— | M' :m' \|m' :f' | f' :m'.r' \|d' :— | ‖ |
| D :m \|s :— | l$_1$ :d \|m :— | D' :t \|l :f | r :m \|l$_1$ :— | ‖ |

### 773 *Llef yr Arglwydd.*

*mf* ARGLWYDD! anfon dy leferydd
Heddyw yn ei rwysg a'i rym,
Dangos fod dy lais yn gryfach
Nas gall dyn wrthsefyll ddim;
*f* Cerdd yn mlaen, nefol dân,
Cymer yma feddiant glân.

*mf* Grym dy lef a nerth dy eiriau,
Sydd yn codi'r marw'n fyw,
Mae agoriad nef ac uffern
Wrth dy wregys Di, fy Nuw!
*f* Gair dy ras, pur ei flâs,
All ddeffroi y galon fras.

W. W.

### 774 *Ysbryd gweddi.*

*mp* O! AM ysbryd i weddio,
Byw dan geisio Iesu gwiw,
Gorsedd gras yw ne'r credadyn,
Ar ei ddeulin gyda'i Dduw;
*mf* Arglwydd cu! rho i ni
Anian ceisio genyt Ti.

*mp* Cydymbiliwn ar ein gliniau,
Am weniadau'r Ysbryd Glân;
O! am deimlo yn bresenol,
Bur effeithiol nefol dân;
*mf* Rhown ein llef tua'r nef,
Am ei arg'oeddiadau Ef.

AN.

### 775 *O! anadl tyred.*

*mp* DEUED yr awelon hyfryd,
Effaith Ysbryd Gras i lawr;
*cres.* Llifed atom afon bywyd
Dardd o dan yr orsedd fawr;
*mf* Arglwydd da! trugarha,
Y sychedig dwfrha.

*mf* O! anadla ar yr esgyrn
Sychion sydd yn feirwon fyth;
*cres.* Llef, O Arglwydd! trwy'th genadon,
Nes bo cynhwrf yn eu plith;
*f* Dyro'n rhad, wir fywhad,
I'r rhai meirw yn eu gwaed!

AN.

### 776 *Iesu y Penrhyfelwr.*

*mf* AROS, Iesu! yn y rhyfel,
F'enaid yn lluddedig sydd;
*cres.* Ti biau d'rysu fy ngelynion,
Ti biau'r enw, Ti biau'r dydd:
*f* Yn dy ddawn, 'n unig cawn,
Floeddio buddugoliaeth lawn.

*mf* O! na ddeuai'r dyddiau dedwydd,
I deyrnasoedd daear lawr
*cres.* Wir adnabod Crist yr Arglwydd,
Plygu i'r Messia mawr;
*f* Pawb yn llu, o'r un tu,
Yn molianu Iesu cu.

W. W.

Rhif 204. CAERSALEM. M. 8.7.4.

*Doh* G. M. 52. Alaw Gymreig. *D.C.*

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| D :s,.d | m :d.m | s :f.m | r :d | M :r | d :f.m | r :s.fe | s :— | ‖ |
| S, :s, | d :d | d :d | t, :d | D :t, | d :s,.l, | t, :l, | t, :— | ‖ |
| M :m | s :l | s :l | s.f :m | S :f | m :r.m | s :l | s :— | ‖ |
| D :d | d :l, | m, :f, | s, :d, | D :s, | l, :t,.d | r :r, | s, :— | ‖ |

:‖: :‖:

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| M :m | m :r | f :f | f :m | d :m | m :r |
| D :d | d :t, | d :d | d :d | d :d | d :t, |
| S :s | s :s | l :l | l :s | m :s | s :s |
| D, :m, | s, :s, | f, :l, | d :d | d :d, | s, :s, |

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| M :r | d :f | m :— | r :— | d :— | — :— | ‖ |
| D :t, | l, :d | d :— | t, :— | d :— | — :— | ‖ |
| S :f | m :l | s :— | — :f | m :— | — :— | ‖ |
| D :s, | l, :f, | s, :— | s, :— | d, :— | — :— | ‖ |

## 777 *Iesu yn ddigon.*

*mf* IESU, Iesu, 'rwyt Ti'n ddigon,
'Rwyt Ti'n llawer gwell na'r byd;
*cres.* Mwy trysorau sy'n dy enw,
Na thrysorau'r India i gyd;
*f* Oll yn gyfan,
Ddaeth i'm meddiant gyda'm Duw.

*mf* Y mae gwedd dy wyneb grasol
Yn rhagori llawer iawn
*cres.* Ar bob peth a welodd llygad,
Ar byd wyneb daear lawn;
*f* Rhosyn Saron!
Ti yw tegwch nef y nef!

*f* Mae dy enw mor ardderchog,
Fel, yn ngrym y storom gref,
*cres.* Llaesa'r gwyntoedd, llaesa'r tònau
Dim ond imi ei enwi Ef;
*ff* Noddfa gadarn
Yw yn eithaf grym y dw'r.

W. W.

## 778 *Rhinweddau yr Iesu.*

*mf* GWELL na deng mil o angylion,
Gwell na holl d'wysogion byd,
Yw y Gwr fu ar Galfaria,
Bywyd geir o'i angeu drud;
*f* Hwnw'n unig,
Rydd i'm fuddugoliaeth lawn.

*f* O! am fedru gwir ddyrchafu
Enw Iesu yn y byd;
Ein calonau fo'n ei garu,
Gan ei ogoneddu i gyd:
*ff* Boed coronau,
Fyrdd myrddiynau ar ei ben.

W. W.

## 779 *Ceidwad i'r colledig.*

*mf* DYMA Geidwad i'r colledig,
Meddyg i'r gwywedig rai;
Dyma un sy'n caru maddeu
I droseddwyr mawr eu bai;
*f* Diolch iddo,
Byth am gofio llwch y llawr.

*f* Mae'n rhoi bywyd ac ymgeledd
I rai'n gorwedd yn eu gwaed;
Gwisga'r noeth a golcha'r aflan,
Cwyd y truain ar eu traed;
*ff* Teilwng ydyw,
O'r gogoniant oll am hyn.

*f* Brenin tragwyddoldeb ydyw,
Llywodraethwr dae'r a ne',
Byth ni wel tylwythau'r ddaear,
Geidwad arall ond Efe;
*ff* Mae E'n ddigon,
Y tragwyddol fywyd yw.

W. W.

## Rhif 205. REGENT SQUARE. M. 8.7.4.

*Doh* C. M. 66. H. SMART, 1812—1879.

S :m |d' :s |m' :-.r'|d' :s |L :l |s :d' |s :f |m :— ||
M :d |s :m |s :-.s |s :s |D :d |d :d |r :t, |d :— ||
D' :s |s :d' |d' :-.t |d' :d' |L :d' |s :l |s :s |s :— ||
D :d |m :d |s :-.f |m :m |F :f |m :l, |t, :s, |d :— ||

S :m |d' :s |m' :-.r'|d' :t |D' :t |l :t .d'|t :l |s :— ||
M :d |s :s .f|m :-.f |m :m |M :m |m :m |s :fe |s :— ||
D' :d' |s :s |d' :-.t |l :se |L :se |m' :r'.d'|r' :d' |t :— ||
D' :s |m :m .r|d :-.r |m :m |L :m |d :l, |r :r |s, :— ||

://:
R' :-.r'|t :s |m' :-.r'|d' :l |F' :m' |r' :d' |d' :t |d' :— ||
S :-.s |s :s |s :-.m |f :f |L :s |f :m .f|s :f |m :— ||
T :-.t |r' :t |d' :-.ta|l :d' |R' :s |l .t :d' |r' :r' |d' :— ||
S :-.s |s :s |d :-.d |f :f |R :m |f .s :l |s :s, |d :— ||

780 *Haul y Cyfiawnder.*

*mf* WEDI 'r nos am hirfaith oesau
Fu 'n amgylchu daear dyn,
*cres.* Wele hyfryd ddysglaer, oleu—
Seren foreu Duw ei hun,
*f* Haul Cyfiawnder
Sy'n cyfodi ar ein byd.

*f* Ddysglaer haul!—rhinweddau 'r nefoedd
Ymddangosant yn ei wawr,
Ac ni threia yn oes oesoedd
Ddiluw ei oleuni mawr;
*cres.* Derbyn bywyd
Mae 'r cyfanfyd ganddo Ef.

*f* Dan ei rym fe wywa llygredd,
Fu 'n andwyo 'n daear ni,
Tardda siriol flodau rhinwedd,
A sancteiddrwydd, gyda bri,
*cres.* Daw yr anial
Yn baradwys gan ei wres.

*f* Derfydd gwywlyd ddyddiau galar,
Fel mae goleu Duw yn dod;
Mae addewid ceir y ddaear
Fel y nef, yn bur ei nod;
*cres.* Nef a daear
Ymgofleidiant ynddo mwy.

CERNYW.

781 *Buddugoliaeth y Cristion.*

*mf* ARGLWYDD! dal fy ysbryd egwan
Tra b'o'r frwydr yn parhau:
Er mor aml yw 'r gelynion,
F' enaid, paid a llwfrhau:
*f* Pen-Tywysog
Hollalluog ydyw 'r Oen!

*mf* Er mai duon yw 'r cymylau,
Ac ofnadwy 'r mŵg a'r tân,
Iesu yw 'r blaenaf yn y fyddin—
*cres.* Cân! fy enaid egwan, cân!
*f* Buddugoliaeth
Bob mynydyn sy'n nesau.

*f* Iachawdwriaeth yw fy mywyd,
Iachawdwriaeth yw fy hedd:
Iachawdwriaeth, wedi im' farw,
Ysgrifener ar fy medd!
*cres.* Iachawdwriaeth,
Wrth im' godi, fydd fy nghân. AN.

# LEWES. M. 8.7.4.

*Doh* G. M. 66. J. Randall, Mus. Doc., 1715—1799.

```
M  :-.f |r   :s  |d  :r   |t,  :d  |F  :m   |l   :s  |f  :m  |r   :—  ||
S, :-.l,|s,  :t, |l, :l,  |s,  :s, |D  :d   |d   :d  |t, :d  |t,  :—  ||
D  :-.d |t,  :m  |m  :f   |r   :m  |D  :s   |f   :s  |s  :s  |s   :—  ||
D  :-.f,|s,  :m, |l, :f,  |s,  :d  |L, :d   |f   :m  |r  :d  |s,  :—  ||

M  :-.f |r   :s  |d  :r   |t,  :d  |F  :m   |r   :s  |s  :fe |s   :—  ||
D  :-.d |t,  :t, |l, :l,  |s,  :s, |D  :d   |t,  :d  |d  :d  |t,  :—  ||
S  :-.l |s   :s  |m  :f   |r   :m  |F  :s   |s   :s  |l  :l  |s   :—  ||
D  :-.f,|s,  :m, |l, :f,  |s,  :d  |L, :d   |f   :m  |r  :r  |s,  :—  ||

                  :/|:
M  :-.f |r.d :r  |f  :-.s |m.r :m  |S  :-.l |s   :f.m|m  :r  |d   :—  ||
D  :-.d |t,.l,:t,|l, :-.t,|d.t,:d  |D  :-.d |s,  :d  |d  :t, |d   :—  ||
S  :-.l |s   :s  |l  :-.s |s   :s  |S  :m   |r   :d  |s  :f  |m   :—  ||
D  :-.f,|s,  :s, |r  :-.s,|d   :d  |M  :d   |t,  :l, |s, :s, |d   :—  ||
```

## 782 *Yr wyf yn sefyll wrth y drws.*

*mp* WELE wrth y drws yn curo
Iesu tegwch nef a llawr;
Clyw ei lais ac agor iddo,
Paid ag oedi fynyd awr;
*cres.* Agor iddo,
Mae ei ruddiau fel y wawr.

*mf* Parod yw i wneyd ei gartref
Yn y galon euog ddu,
Ei phrydferthu a grasusau,
Gwerthfawr ddoniau'r nefoedd fry;
*cres.* Agor iddo,
Trwy y byd ei ail ni fu.

*f* O! mor felus a fydd gwledda
Ar yr iachawdwriaeth rad,
Wedi gadael byd o drallod,
*mp* Draw yn nhawel dŷ ein Tad;
*f cres.* Agor iddo,
Cynyg mae y nef yn rhad.

I. Lleyn.

## 783 *Gweinidogaeth bywyd.*

*f* TAENED gweinidogion bywyd
Iachawdwriaeth Iesu ar led;
Cluded moroedd addewidion
Drosodd draw i'r rhai digred;
*cres.* Aed efengyl,
Ar adenydd dwyfol wynt.

*f* Duw! teyrnasa ar y ddaear,
O'r gorllewin faith i'r de;
Cymer feddiant o'r ardaloedd
Pellaf, t'wyllaf is y ne';
*cres.* Haul Cyfiawnder!
*ff* Llanw'r ddaear fawr a'th ras.

W. W.

## 784 *Wrth ymadael.*

*mf* DAN dy fendith wrth ymadael,
Y dymunem, Arglwydd! fod;
Llanw'n calon â dy gariad,
A'n geneuau â dy glod;
*cres.* Dy dangnefedd,
Dyro ini yn barhaus.

W. G.

*Doh* B♭. M. 66. SAMUEL STANLEY, 1797–1882.

```
D   :- .r  |m   :- .r  |d .t, :l, .s, |s,  :d   |R   :m .fe  |s   :- .d
M,  :- .s, |s,  :- .f, |m,   :f, .r,  |d,  :m,  |S,  :s, .l, |s,  :s,
D   :- .t, |d   :- .t, |d    :d .t,   |d   :d   |T,  :d      |r   :m
D,  :- .s, |d   :- .s, |l,   :f,      |m,  :d,  |S,  :d      |t,  :d

t,   :l,    |s,  :—  ||R   :- .r  |d .t, :l, .s, |d   :r   |m   :m
s,   :fe,   |s,  :—  ||S,  :- .s, |s,    :r,     |s,  :s,  |s,  :s,
r    :r .d  |t,  :—  ||T,  :- .t, |r     :t,     |d   :t,  |d   :d
r    :r,    |s,  :—  ||S,  :- .s, |s,    :f,     |m,  :s,  |d   :d,

M   :- .m   |r .d  :t, .l, |s,  :fe,  |s,  :—  ||D       :- .d    |d .t, :t,
L,  :- .l,  |t, .l,:s, .m, |r,  :r,   |r,  :—  ||M, .f,  :s, .l,  |s,    :r,
D   :- .d   |t, .d :r .d   |t,  :l,   |t,  :—  ||D       :- .f    |r     :s,
L,  :- .fe, |s,    :- .d,  |r,  :r,   |s,  :—  ||D, .r,  :m, .f,  |s,    :s,

:||:
l,     :- .l,  |l, .s, :s,  |M   :- .m  |f   :- .f  |m   :r       |d   :—  ||
f,     :- .f,  |f, .m, :m,  |S,  :- .s, |l,  :- .l, |s,  :s, .f,  |m,  :—  ||
l, .t, :d .r   |d      :d   |D   :- .d  |d   :- .d  |d   :t,      |d   :—  ||
f, .s, :l, .t, |d      :d   |D,  :- .d, |f,  :- .f, |s,  :s,,     |d,  :—  ||
```

## 785 *Crist yn y Farn.*

*mf* WELE 'n dyfod ar y cwmwl,
'Rhwn fu farw ar y pren—
Myrdd myrddiynau o angylion
Sy'n amgylchu ei orsedd wen!
*f* Haleliwia,
*ff* Iesu a deyrnasa byth!

*mf* Dacw 'r Brenin yn ei gerbyd,
Udgyrn fyrdd yn canu o'i flaen;
Cydymgasgla meirw 'r oesau
Oll ger bron yr orsedd lân:
*f* Haleliwia,
Dyma ddydd gogoniant Crist!

*f* Gorfoledda y ffyddloniaid,
A'u llawenydd fydd yn llawn;
Dyma 'u Prynwr mawr bendigaid,
A'u Gwaredwr anwyl iawn!
*ff* Haleliwia,
Byddant mwyach gydag Ef.

I. G. GEIRIONYDD.

## 786 *Iesu oll yn hawddgar.*

*f* WELE 'n sefyll rhwng y myrtwydd
Wrthddrych teilwng o fy mryd;
Er o'r braidd 'rwy'n ei adnabod
Ef uwch law gwrthddrychau 'r byd:
*cres.* Henffych foreu!
Caf ei weled heb un llen.

*mf* Rhosyn Saron yw ei enw,
Gwyn a gwridog, hardd ei bryd!
Ar ddeng mil y mae 'n rhagori
O wrthddrychau pena'r byd;
*f* Ffrynd pechadur!
Dyma 'm llywydd ar y môr.

*mf* Beth sydd imi mwy a wnelwyf
Ag eilunod gwael y llawr?
Tystio 'r wyf nad yw eu cwmni
I'w gymharu â'm Iesu mawr:
*f* O! am aros
Yn ei gariad ddyddiau f' oes!

A. G.

Rhif 208. PISGAH. M. 8.7.4.

*Doh* D M. 72. Parch W. H. HAVERGAL, 1793–1870.

S :s |d' :-.m |m :m |l :l |D :d |f :m |r :m.f |m :— ||
M :r |d :-.t, |d :t, |l, :d |D :d |t, :d |d :t, |d :— ||
D' :s |l :-.m |m :s |d' :f |L :s |f :s |l :s |s :— ||
D :t, |l, :-.se, |l, :s, |f, :f, |F :m |r :d |f, :s, |d :— ||

S :s |f :m |l :l |t :t |D' :m |l :d |m :r |d :— ||
M :r |r :d |l,.t, :d.r |t, :m |M :d |d :d |d :t, |d :— ||
D' :t |l :s |f :l |l :se |S :s |l :m |s :f.s |m :— ||
D :s, |r :m |f :f |m :m |D :d |l, :l, |s, :s, |d :— ||

://:

D' :d' |t :s |l :l |s :m |D.r :m.f |s :d' |d' :t |d' :— ||
D :-.r |r :r |f :f |m :d |S, :d |d :d.f |r :r |m :— ||
M.f :s.l |t :t |d' :d' |d' :s |M :s |s :s.l |s :s |s :— ||
D.r :m.f |s :s, |f,.s, :l,.t, |d :d |D :d.r |m :m.f |s :s, |d :— ||

787 *Golwg ar y Ganaan nefol.*

*mf* ESGYN, f'enaid, i ben Pisgah,
Gwel dy ffordd drwy gywir ffydd,
Cymer ddrych o'r fath eglura',
Dewis deg oleuni 'r dydd;
*f* Gwel oddiyno
Hardd gyffiniau 'r Ganaan gu!

*mf* Per arogla' i meusydd gwyrddion,
Gan anfarwol flodau hardd,
Ffrwythau iachus a melusion,
Gesglir yno 'n ddiwahardd;
*f* Pren y bywyd,
Dros y fro a leda'i frig.

*mf* O! mor ddedwydd ei thrigolion,
Sy'n cydrodio gyda 'r Oen,
Oll yn gwisgo gynau gwynion,
Yn ddibechod, yn ddiboen!
*f* Gorfoleddu,
Yn dragywydd yw eu gwaith.

B. F.

788 *Genedigaeth Crist.*

*mf* WELE ganwyd y Messia
Daeth yr hyfryd foreu ddydd;
Awn i Fethl'em gyda'r doethion,
Gwelwn Ef â golwg ffydd:
Cydaddolwn, &c.,
Wele Dduw yn natur dyn!

*f* Wele'r enw mawr rhyfeddol,
Wele'r Iôr tragwyddol yw!
Clywch angylion yn clodfori,
Duw yn ddyn, a dyn yn Dduw:
*cres.* Iachawdwriaeth, &c.,
I drueiniaid trwyddo ddaeth.

AN.

789 *Yr Arglwydd a ddarpar.*

*mp* YN y cyfyngderau mwyaf,
Pwysa, f'enaid, ar dy Dduw;
Dysgwyl wrth Jehofah Jireh,
Ceidwad grasol dynolryw;
*mf* Fe a'th geidw
Rhag dy ofnau fawr a mân.

*mf* Yn y bylchau mwyaf cyfyng,
Estyn Ef ei nerthol fraich,
Gan wasgaru'r holl gymylau,
A lleihau fy mhoenus faich;
*f* Try'r tywyllwch
*cres.* Yn oleuni yn ei wydd.

GOMER.

# VERONA. M. 8.7.4.

*Doh* G. M. 76. Alaw Italaidd.

D :m |s :m |f :l |s :r |M :s |f :r |d :l, |s, :— ||
S, :d |r :d |d :d |t, :t, |D :d |l, :s, |m, :fe, |s, :— ||
M :s |s :s |f :f |r :s |S :s |d :t, |d :d |t, :— ||
D :d |t, :d |l, :f, |s, :s, |D, :m, |f, :s, |l, :r, |s, :— ||

D :m |s :m |f :l |s :r |M :f |s :l |s :fe |s :— ||
S, :d |r :d |d :d |t, :s, |S, :l, |s, :d |t, :l, |t, :— ||
M :s |s :s |f :f |r :t, |D :d |r :m |r :r |r :— ||
D, :d |t, :d |l, :f, |s, :s, |D :l, |t, :d |r :r, |s, :— ||

D :m |r :d |m :s |f :m |F :m |r :d |d :t, |d :— ||
L, :s, |s,.f, :m, |l, :t, |l, :s, |L, :s, |s,.f, :m, |l, :s, |s, :— ||
F :d |t, :d |d :r |d :d |D :d |t, :d |f :r |m :— ||
F, :m,.f, |s, :l, |l, :s, |l, :d |F, :d |s, :l, |f, :s, |d, :— ||

## 790 *Arch i gadw.*

*mf* O! AM lechu yn y clwyfau,
Gynt agorwyd ar y pren;
Unig noddfa f' enaid ydyw'r
Gwr ogwyddodd yno'i ben;
*cres.* Pwysaf arno,
Deued arnaf fel y del.

*mf* Nid oes fan o dan y nefoedd,
Lle caf yn ddiangol fod,
Ond o fewn yr arch ysbrydol,—
Byth i Iesu byddo'r clod:
*cres.* Rhag y diluw,
Yno caf fy nghadw'n fyw. AN.

## 791 *Neb ond Iesu.*

*mp* NID oes drysor, nid oes bleser,
Nid oes enw mewn un man,
Er ei fri a'i holl ogoniant
A foddlona f'enaid gwan,
*cres.* Ond yr Iesu,
*dim.* A fu farw ar y groes.

*mf* Mae myrddiynau o rinweddau
Dwyfol yn ei enw'n wir;
Yn ei wedd mae mwy o degwch
Nag a welodd môr na thir;
*cres.* Gwyn a gwridog,
Oll yn hawddgar yw Efe.
W. W.

## 792 *Crist yn ogoneddus yn ei ail ddyfodiad.*

*mf* GWELIR Iesu'n ogoneddus
Yn ei ail-ddyfodiad glân,
Gwelir miloedd iddo'n plygu
Na phlygasant iddo'r blaen;
*cres.* Gwelir hefyd,
Fyrdd yn dechreu llawenhau.

*mf* Goddiweddant wir lawenydd
A hyfrydwch nefol lys,
Gwelir cystudd, gwelir galar,
Yn ffoi ymaith gyda brys;
*cres.* Gwelir gwynfyd
Yn ddigymysg, yn ddidrai.

*mf* Melus fydd y fwyn gyfeillach
Yn y pur ogoniant maith,
Melus fydd cydganu'r anthem
O'r un ysbryd, a'r un iaith;
*cres.* Melus meddwl,
Na fydd raid ymadael mwy.
D. S.

**793** *Cydgladdu â Christ.*

*mf* O! NEWYDDION melus odiaeth
Ddaeth o wefus cariad pur,
At yr enaid fyddo'n gwaeddi,
*cres.* 'Beth a wnaf?' (*p*) dan galed gur!
*f* Cred yn Iesu,
Ac mewn dwfr bedyddier di.

*mf* O! gyd-gladdiad gogoneddus!
Adyn edifeiriol, trist,
Yn arddangos yn ei fedydd,
Ei gyd-gladdiad gyda Christ,
*cres.* A'i gyfodiad;—
Codiad er adferiad fydd.

*mf* Fel yr arch drosglwyddai Noah
Gynt o'r hen i'r newydd fyd,
Dengys bedydd y crediniwr,
Droi ei gyflwr yntau i gyd;
*cres.* Nid yw mwyach
O'r byd hwn, ond oddi fry.

*mf* Felly, os cyd-gyfodasom
Gyda'n Harglwydd Iesu Grist,
Nac argeisiwn bethau isod,
*p* Ffrwythau pechod, trallod trist,
*mf cres.* Beth sydd gymaint,
Neu'r un fraint a'r enw fry?

EBEN FARDD.

**794** *Pen y daith.*

*mf* DAL fi, Arglwydd! dal fi ronyn—
Nid rhaid iti 'nal yn hir;
Mwy sydd eisoes wedi ei deithio
Nag sy'n ol o'r anial dir;
*cres.* Bryniau Canaan
Ddont i'r golwg yn y man.

*mf* Yno caf fi ddweyd yr hanes
Modd y dringodd eiddil gwan
Trwy afonydd, a thros greigiau
Dyrys, anial, serth i'r lan;
*cres.* Iesu ei hunan
Gaiff y clod trwy eitha'r nef!

W. W.

*mf* Wedi teithio trwy 'r anialwch,
Melus cyrhaedd pen y daith!
Perffaith burdeb a dyddanwch,
Geir am dragwyddoldeb maith!
*f* Moli 'n Brenin,
Yno fydd yr hyfryd waith! R. E.

**795** *Erfyn gwenau Duw.*

*mp* ARGLWYDD grasol! Ior anfeidrol!
Crewr nef a daear faith!
*cres.* Dod o wenau'th hyfryd wyneb:
I ni gyda'th wiwdeg waith:
*mf* Ysbryd crefydd,
Fyddo beunydd yma'n ben.

*mp* Edrych arnom yn ein gwaeledd,
Rho ymgeledd ini i gyd;
Rho dangnefedd i'n calonau,
Rho weniadau'th wyneb pryd,
*cres.* O! tosturia,
Arglwydd, gwena yn y gwaed!

R. J.

**796** *Ti, yr Hwn a wrandewi weddi.*

*mp* TI, yr Hwn wrandewi weddi,
Atat Ti y daw pob cnawd;
*cres.* Llef yr isel, ni ddirmygi,
Clywi ocheneidiau'r tlawd!
*mf* A'th drugaredd,
Sy'n cofleidio 'r ddaear faith.

*mp* Minau blygaf, yn grynedig,
Wrth dy orsedd rasol Di,
Gyda hyder gostyngedig
Yn haeddianau Calfari,
*cres.* Dyma sylfaen,
Holl obeithion euog fyd.

*mf* Hysbys wyt o'm holl angenion,
Cyn eu traethu ger dy fron;
Gwyddost gûdd feddyliau 'm calon
A chrwydriadau mynych hon;
*cres.* O! tosturia,
Ymgeledda fi, a'th ras.

*mf* Nid oes ond dy ras yn unig,
A ddiwalla 'm heisieu mawr,
O! rho'r profiad bendigedig,
O'i effeithiau imi 'n awr,
*cres.* Arglwydd! gwrando
Mewn trugaredd ar fy llef.

M.

**797** *Dydd yr Arglwydd.*

*mf* DYMA 'r dydd roed ini gofio
Adgyfodiad Iesu gwiw,
Wedi maeddu uffern greulon
Prynu dynion fyrdd i Dduw!
*f* Haleliwia!
Byth i'w enw anwyl Ef!

*mf* Dyma 'r dydd ordeiniwyd ini,
Gan ein Harglwydd at ei waith;
Darllen, canu, a gweddio,
Gwrando ar ei hyfryd iaith;
*cres.* Na foed enaid
Heddyw'n fud trwy'r ddaear faith.

J. J., A.



R

 PENIEL. M. 8.7.4.

*Doh* E♭. M. 60. Alaw Gymreig.

D.C

| D :m | s :s | l :t | d' :s | D' :s.l | s :f | m.s:m | r :— ||
| S, :d | r :d | d :r | m :d | D :d | t, :l,.s, | s,.d:d | t, :— ||
| M :s | s :m | f :f | s :m | M :s.f | r :f.r | d.m:s | s :— ||
| D :d | t, :d | f :r | d :d | L, :m,.f, | s, :l,.t, | d :d | s, :— ||

| R :s | m.,r:d | l :r' | t.,l:s | d' :t | d' :s.l || S :f | m.l :s.f | m :r | d :— ||
| R :t, | d :d | d :f | r :t, | m :r | d :t, || D :d.t, | d :d.r | d :t, | d :— ||
| S :s | s :m | f :l | s :s | s :f | s :s || S :s | s.f :s.l | s :f | m :— ||
| T, :s, | d :d | f :r | s :s | d :r | m :s.f || M :r | d.l, :m,.f, | s, :s, | d :— ||

798 *Brenhiniaeth Crist.*

*f* RHOED i Grist yn etifeddiaeth,
Y Cenhedloedd o bob iaith;
A therfynau'r byd i'w feddiant,
Ga'dd yn wobrwy am ei waith;
*cres.* Ie, rhoddwyd,
Pob awdurdod yn ei law.

*f* Holl deyrnasoedd byd yn gyfan,
Sydd yn eiddo'n Harglwydd ni;
Ei lywodraeth sydd yn eang,
Mae ei enw uwch pob bri;
*cres.* Boed yn amlwg
Ei ogoniant Ef a'i ras.

PEDR FARDD.

799 *Cartref y serchiadau.*

*mf* YMGARTREFED fy serchiadau
Ar drysorau'r nefoedd fry;
Sail fy nghysur yw rhinweddau
Gwerthfawr angeu Calfari;
*cres.* Dyma ddigon,
Bywyd yw adnabod Crist.

*mf* Son am aur, a son am berlau,—
Soniwch am y gemau 'nghyd,
Dim yw gwerth y ewrel goreu,
A thrysorau pena'r byd;
*cres.* Nid yw'r cwbl,
Ddim i achub enaid un.

*f* Bellach, O fy nghalon! deffro,
C'od dy olwg tua'r fan,
Lle mae trysor wedi ei roddi
I ddigoni enaid gwan;
*cres.* Iesu'n gwbl
Dyma fwy na'r nef ei hun.

W. W.

800 *Lledaeniad yr efengyl.*

*f* TYRED, Geidwad cyffredinol!
Cymer feddiant ar y byd;
Tyr'd yn awr mewn cariad dwyfol,
Llywia'n daear fawr i gyd;
*cres.* Doed dy deyrnas,
Aed yn nefoedd ar y llawr.

AN.

801 *Genedigaeth y Ceidwad.*

*mf* PERAIDD ganodd sêr y boreu
Pan y ganwyd Brenin nef;
Doethion a bugeiliaid hwythau,
Ddaethant i'w addoli Ef:
*cres.* Gwerthfawr drysor!
Yn y preseb Iesu a gaed!

*f* Tad tragwyddol yw ei enw,
T'wysog y tangnefedd yw—
Crëwr mawr y bydoedd ydyw,
A Gwaredwr dynolryw!
*cres.* Hollalluog!
*p rall.* Daeth i farw yn ein lle. M. R.

## DOLYCOED. M. 8.7.4.

*Doh* G. M. 72. W. Harris.

```
D  :m  |m  :s   |f   :m   |r  :r  |D  :r  |m  :d  |f  :m   |r  :— ||
S, :s, |d  :d   |d   :d   |d  :t, |D  :t, |d  :d  |t, :d   |t, :— ||
M  :d  |d  :d   |f   :s.fe|s  :s  |M  :s  |s  :s  |s  :s   |s  :— ||
D  :d  |l, :m,  |r,  :d,  |s, :s, |L, :s, |d  :m  |r  :d   |s, :— ||

D  :m  |m  :s   |f   :m   |r  :r  |M  :fe |s  :d  |t, :l,  |s, :— ||
S, :s, |l, :t,  |l,.t,:d  |r  :t, |D  :d  |s, :s, |s, :fe, |s, :— ||
M  :d  |d  :r   |f   :s.fe|s  :s  |S  :l  |r  :m  |r  :r.d |t, :— ||
D  :d  |l, :s,  |r   :d   |t, :s, |D  :l, |t, :d  |r  :r,  |s, :— ||

                 :||:
D  :r  |m  :m    |r  :m   |f  :f   |S  :m  |d  :r  |m  :r   |d  :— ||
S, :t, |d  :d    |r  :de  |r  :l,  |S, :s, |d  :d  |d  :t,  |d  :— ||
S  :s  |s  :l    |l  :s   |f  :f.m |R  :d  |m  :l  |s  :s.f |m  :— ||
M, :s, |d  :l,.s,|f, :l,  |r  :r.d |T, :d  |l, :f, |s, :s,  |d, :— ||
```

### 802 *Dilyn Iesu.*

*mf* O! AM nerth i ddilyn Iesu,
Yn ein gyrfa drwy y byd,
Cadw 'i air, ac anrhydeddu
Ei orchmynion glân i gyd;
*cres.* Dilyn Iesu,
*f* Dyma nefoedd teulu Duw.

*mf* Cafodd Bedydd fawredd bythol
Yn ei ymostyngiad llawn,
Ninau, ar ei air, yn wrol,
Ar ei ol, trwy 'r dyfroedd awn;
*cres.* Dilyn Iesu,
*f* Dyma nefoedd teulu Duw.

*mf* Er fod rhiwiau serth i'w dringo,—
Gyda'i gariad i'n cryfhau,
Ysgafn yw ei faich i'w gario
Ysgafn esmwyth yw yr iau;
*cres.* Dilyn Iesu,
*f* Dyma nefoedd teulu Duw.

*mf* Y mae llwybrau ei orchmynion,
Er holl rwystrau 'r anial du,
Yn cyfeirio 'r pererinion
I'r trigfanau dedwydd fry;
*cres.* Dilyn Iesu,
*f* Dyma nefoedd teulu Duw.

M.

### 803 *Ymgeledd mewn tir sychedig.*

*mf* Y MAE syched ar fy nghalon
Heddyw am gael gwir fwynhau
Dyfroedd hyfryd ffynon Bethle'm—
Dyfroedd gloywon sy'n parhau:
*cres.* Pe cawn hyny,
*f* 'Mlaen mi gerddwn ar fy nhaith.

*mf* Y mae gwres y dydd mor danbaid,
Grym fy nwydau fel y tân,
A gwrthddrychau gwâg o'm cwmpas
Am fy rhwystro i fyn'd yn mlaen:
*cres.* Rho i mi gysgod,
*f* Addfwyn Iesu! ganol dydd.

W. W.

## ST. GARMON. M. 8.7.4.

*Doh* G. M. 92. Alaw Gymreig.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| D :— :r | m :— :s | f :— :m | r :d :— | R :— :m | r :— :s |
| S, :— :t, | d :— :d | t, :— :d | t, :d :— | T, :— :d | r :— :t, |
| M :— :s | s :— :s | s :— :s | f :m :— | S :— :s | s :— :r |
| D :— :s, | d :— :m | r :— :d | s, :d :— | S, :— :d | t, :— :s, |

:||: D.C.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| s :— :fe | s :— :— | m :— :d | m :— :s | r :-.d:r | d :— :— |
| t, :— :l, | t, :— :— | d :— :d | d :— :d | t, :— :t, | d :— :— |
| r :— :r | r :— :— | d :— :m | s :— :s | s :— :s.f | m :— :— |
| r :— :r, | s, :— :— | d, :— :d, | d :— :m, | s, :— :s, | d, :— :— |

:||:

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| M :— :r | d :r :— | f :— :m | r :m :— | D :— :m | s :— :m |
| D :— :t, | l, :t, :— | d :— :d | t, :d :— | D :— :d | r :— :d |
| S :— :s | m :s :— | l :— :s | s :s :— | S :— :s | s :— :s |
| D :— :s, | l, :s, :— | f, :— :d | s, :d :— | M :— :d | t, :— :d |

:||:

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| d :— :m | r :— :— | s :— :m | s :— :m | r :m :r | d :— :— |
| d :— :d | t, :— :— | d :— :d | r :— :d | t, :— :t, | d :— :— |
| l :— :s | s :— :— | s :— :s | s :— :s | f :s :f | m :— :— |
| l, :— :m, | s, :— :— | m :— :d | t, :— :d | s, :— :s, | d, :— :— |

### 804 *Y nefol wlad.*

*mf* GWEL uwchlaw cymylau amser,
O fy enaid! gwel y tir
Lle mae'r awel fyth yn dyner,
Lle mae'r wybren fyth yn glir;
*cres.* Hapus dyrfa
Sydd yn nofio yn ei hedd.

*mf* Ynddi tardd ffynonau bywyd,
Trwyddi llif afonydd hedd,
I ddyfrhau ei broydd hyfryd,
Ac i anfarwoli ei gwedd;
*cres.* Iachawdwriaeth
Ar ei glan anadlir mwy.

*mf* Troir awelon glyn marwolaeth
Oll yn hedd tu yma i'r fan,
Try holl ocheneidiau hiraeth
Yn anthemau ar y lan;
*cres.* Syrth y deigryn
Olaf i'r Iorddonen ddu!

*mf* Mae fy nghalon brudd yn llamu
O orfoledd dan fy mron,
Yn y gobaith am feddianu
'R etifeddiaeth ddwyfol hon;
*f* Hapus dyrfa
Sydd a'u gwyneb tua'r wlad.

ISLWYN.

### 805 *Cyflawniad yr addewidion.*

*mp* DROS y bryniau tywyll, niwliog,
'N dawel f' enaid, edrych draw,
'R addewidion sydd i esgor
Ar ryw ddyddiau braf gerllaw;
*cres.* Nefol Jubil,
Gad im' wel'd y boreu wawr.

*mf* Hed fel mellten, bur efengyl,
A gorchfyga oll yn lân;
*cres.* Bydded i'th gyffiniau eang
Ymhelaethu fyth yn mlaen;
*f* A'th lywodraeth,
Dros y moroedd maith i gyd.

CYF. J. W., P.

### 806 *Crist, y Graig!*

*f* O DRAGWYDDOL Graig yr Oesoedd!
F' enaid cân am dani byth:
Hon yn unig yw fy Noddfa,
Dan ei chysgod gwnaf fy nyth.
*ff* Haleliwia!
Craig fy iachawdwriaeth yw!

*f* Dyma 'r Graig y cenir iddi,
A thelynau 'r nefoedd wen;
Ac er canu am fil o oesoedd,
Byth ni ddaw y gân i ben!
*ff* Haleliwia,
Craig fy iachawdwriaeth yw!

D. W.

Rhif 213. PETERSBURGH. M. 8.7.4.

Alaw Rwsiaidd.

*Doh* E♭. M. 54. B.t. f.E♭. *D.C.*

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| S :l | s.m:d | d' :t.l | s :l | F :s | $^{m}l_1$ :$l_1$.$t_1$ | d :$t_1$ | $^{l}$m :— |
| D :d | d :$s_1$ | d :d | d :d | $L_1$ :$s_1$ | $^{s}d_1$ :$f_1$ | $m_1$ :$m_1$ | $^{d}s_1$ :— |
| M :f | m :m | s :f | m :m | R :r | $^{m}l_1$ :$l_1$ | $l_1$ :$se_1$ | $^{l}$m :— |
| D :$f_1$ | d :d | m :f | d :$l_1$ | R :$t_1$ | $^{d}f_1$ :$r_1$ | $m_1$ :$m_1$ | $^{l_2}m_1$ :— |

://:

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| F :m.r | m :s | d'.t:l .s | l :s | D' :t.l | s :s.f | m :r | d :— |
| $T_1$ :$t_1$ | d :d | d :d | d :m | M :r.$t_1$ | d :d | d :$t_1$ | d :— |
| R :s | s :m | s :d' | d' :d' | S :f | s :l | s :s.f | m :— |
| $S_1$ :$s_1$ | d :d | m :m | f :d | D :r | m :f | s :$s_1$ | d :— |

## 807 *Gwaed y Groes.*

*mf* GWAED y groes a ddygodd heddwch
I elynol euog rai;
Gwaed y groes yw sail fy ngobaith
Am faddeuant o bob bai.
*cres.* Pob daioni
Ddaeth i mi drwy waed y groes.

*mf* Gan i'r Iesu drwy farwolaeth,
Ein heddychu byth â'r nef,
*cres.* Mwy o lawer y'n hachubir
Bellach drwy ei fywyd Ef.
*f* Byth ni chollir
Neb a gredo ynddo Ef.

T. W.

## 808 *Gobaith.*

*mf* GOBAITH cyrau eitha'r ddaear,
Wrthyt dysgwyl f' enaid gwan;
Rho i mi'r gobaith ni ch'wilyddia,—
Gobaith da trwy ras i'm rhan;
*cres.* Gobaith bywiol
*f* Ddalio'n wrol hyd y nef.

*mf* O! am obaith gwynfydedig,
Sylfaenedig ar y Graig,
Ddalio 'ngwyneb poeth bicellau,
Erchyll ddrygau'r gyfrwys ddraig;
*cres.* Gobaith gano
*f* Pan fo'n curo angeu du.

*mf* Gobaith buro'm henaid euog,
Dduw trugarog! dyro im';
Cadarn angor ar y cefnfor,
Gadwo'n ddidor byth mewn grym;
*cres.* Fel b'wy'n canu
*f* Mewn goleuni draw i'r bedd.

GOMER.

## 809 *Noddfa yn angeu Iesu.*

*mf* NID oes noddfa mewn creadur—
Rhaid ei chael yn nes i'r nef;
'R unig un i wael bechadur
Yw ei aberth gwerthfawr Ef;
*cres.* Mae 'n ddigonol,
*f* Dros bechodau dynolryw.

*mp* Dyoddefodd angeu creulon
Dan yr hoelion ar y groes,
*mf* A gorchfygodd luoedd uffern
Trwy rinweddau 'i farwol loes:
*cres.* Sain 'Gorphenwyd!'
*f* Fyddo 'n llenwi 'r byd i gyd.

*f* Mae afonydd mawrion ynddo
O drugaredd, gras, a hedd;
Er ein mwyn dyoddefodd angeu,
*dim.* Ac yr aeth i lawr i'r bedd:
*mf cres.* Cenir iddo,
*f* Wedi 'r clo 'r byd ar dân. AN.

# HYFRYDOL. M. 8.7. D.

*Doh* G. M. 84. R. H. PRICHARD, Bala.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| D :— :r | d :r :m | f :— :m | r :d :r | S :— :f | m :— :m |
| $S_1$ :— :$t_1$ | d :$t_1$ :d | d :r :d | $t_1$ :$l_1$ :$t_1$ | D :— :$t_1$ | d :$s_1$ :d |
| M :— :s | s :f :m | l :s :s | s :— :s | S :— :s | s :m :s |
| D :— :$s_1$ | m :r :d | $l_1$ :$t_1$ :d | $s_1$ :— :$s_1$ | M :— :r | d :— :$m_1$ |

| | *D.C.* | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| r :-.d:r | d :—:— | S :—:s | s :f :m | f :— :f | f :m :r |
| $t_1$ :— :$t_1$ | d :—:— | D :—:d | de :r :$l_1$ | $l_1$:— :$s_1$.$l_1$ | $t_1$ :d :$s_1$ |
| f :— :f | m :—:— | M :—:m | m :r :de | r :— :r | r :d :$t_1$ |
| $s_1$ :— :$s_1$ | d :—:— / $d_1$ :—:— | D :—:d.$t_1$ | $l_1$ :— :$l_1$ | r :-.d:$t_1$.$l_1$ | $s_1$ :— :$s_1$ |

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| M :— :m | m :f :s | s :f :m | r :—:— | S :m :s | f :r :f |
| $S_1$ :$se_1$ :$l_1$ | $ta_1$ :$l_1$ :$s_1$.d | d :$s_1$ :$s_1$.$l_1$ | $t_1$ :—:— | D :— :d | $t_1$ :— :$t_1$ |
| D :m :d | d :—:d | d :r :m.fe | s :—:— | S :— :s | s :— :s |
| D :$t_1$ :$l_1$ | $s_1$ :$f_1$ :$m_1$ | $l_1$ :$t_1$ :d | $s_1$ :—:— | m :d :m | s :— :$s_1$ |

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| m :d :m | r.m:f.m:r | S :— :s | l :s :f | m :— :r | d :—:— |
| d :$s_1$ :d | $s_1$ :— :$s_1$ | $S_1$ :$t_1$ :d | d :— :d | d :— :$t_1$ | d :—:— |
| s :m :d | $t_1$.d:r.d:$t_1$ | D :r :m | f :s :l | s :— :f | m :—:— |
| d :— :d | $s_1$ :— :$s_1$ | $M_1$:$r_1$ :$d_1$ | $f_1$ :$m_1$ :$f_1$ | $s_1$ :— :$s_1$ | $d_1$ :—:— |

## 866 *Yr Efengyl.*

*mf* CYMER aden, fwyn efengyl,
Hed dros wyneb daear lawr;
*cres.* Seinia 'th udgorn clir nes clywo
Pawb o deulu 'r golled fawr;
*f* D'wed am rinwedd Balm Gilead,
A'r Physygwr yno sydd:—
Golch yn wyn y rhai aflanaf,
Dwg y caethion oll yn rhydd!
D. S. E.

*mf* Mae banerau 'r nef yn chwareu—
Hedeg mae 'r efengyl lon;
*cres.* Rhaid i'r Iesu mwyn deyrnasu
Dros derfynau 'r ddaear gron:
*mf* Gwael yw gweled llwythau Israel,—
Dim ond hyny wrth ei draed:
*f* Rhaid cael tyrfa ddirifedi
I glodfori 'r dwyfol waed. T. PH.

## 867 *Tyr'd i fyny.*

*mf* TYR'D i fyny, o'r anialwch,
Wedi aros yno 'n hir;
Sypiau grawnwin mawrion, addfed,
Sy'n dy aros yn y tir;
*f* Brysia i ryfel, gwisg dy arfau,
Cymer galon, cerdd yn mlaen,
Ar dy ffordd, y mae'n dy arwain
Gwmwl niwl a cholofn dân. W.W.

## 868 *Udgorn yr efengyl.*

*mf* BETH yw'r udgorn glywai'n seinio?
*f* Brenin Seilo sydd yn gwa'dd;
*mf* Pwy sy'n cael eu galw ganddo?
*f* Pechaduriaid o bob gradd:
Adre', adre', blant afradlon,
Gadewch gibau gweigion ffol;
Clywaf lais y Brenin heddyw,
'N para i alw ar eich hol.

*mf* Pam y geilw 'r Brenin arnom?
*f* Am ei fod yn llawn o ras:
*mf* Beth a wna i'r drwg sydd ynom?
*f* Gylch â'i waed ein pechod câs:
Ei amynedd sydd yn rhyfedd,
Yn ein goddef hyd yn awr;
Plygwn, plygwn i'w drugaredd,
Cyn myn'd dan ei lid i lawr.

*mf* A achubir hen droseddwr?
*f* Gwneir, o waelod trallod trist:
*mf* Pwy fydd iddo yn Waredwr?
*f* Duw a dyn—un Iesu Grist:
Bechaduriaid euog, aflan,
O dan faich euogrwydd llym,
At yr Iesu, deuwch weithian—
Ef ni 'ch bwria allan ddim. R. E.

# BETHANY. M. 8.7. D.

Doh F. M. 69. HENRY SMART, 1812—1879.

M :l |s :m |d :-.r|d :t$_1$ |L$_1$ :s$_1$ |d :m |s :f.m|r :— ||M :l |s :m
D :d |d :t$_1$ |d :l$_1$ |s$_1$ :s$_1$ |R$_1$ :r$_1$ |s$_1$ :d |d :r.d|t$_1$ :— ||S$_1$ :d |r :t$_1$
S :f |s :s |m :f |m :r |T$_1$ :t$_1$ |d :s |s :l |r :s ||M :m |r :s
D :f$_1$ |m$_1$ :s$_1$ |l$_1$ :f$_1$ |s$_1$ :s$_1$ |F$_1$ :f$_1$ |m$_1$ :d$_1$ |m$_1$ :f$_1$ |s$_1$ :— ||D :l$_1$ |t$_1$ :s$_1$

C.t.

d :-.r|d :t$_1$ |L$_1$ :s$_1$ |d :f |m :r |d :— ||$^{r}$S :d'|d' :t |l :l |l :s
l$_1$ :fe$_1$ |s$_1$ :s$_1$ |R$_1$ :r$_1$ |s$_1$ :d |d :t$_1$ |d :— ||$^{t_1}$M :s |s :s |f :f |f :m
m :r |r :r |T$_1$ :t$_1$ |d :d |s :s.f |m :— ||$^{s}$D' :d'|r' :r' |d' :r' |d' :d'
l$_1$ :r$_1$ |s$_1$ :s$_1$ |F$_1$ :f$_1$ |m$_1$ :l$_1$ |s$_1$ :s$_1$ |d :— ||$^{s_1}$D :m |s :s$_1$ |l$_1$ :t$_1$ |d :d

f.F.

S :m'|r' :l |d' :t |d' :— ||$^{m'}$T :s |d' :s |f :-.s|f :m |L :s |f :m |r :r |d :—
S :s |f :r |m :f |m :— ||$^{s}$R :t$_1$|d :d |d :r |d :d |D :de|r :d |d :t$_1$ |d :—
D' :ta|l :l |s :r'|d' :— ||$^{d'}$S :s |s :m |l :s |s :s |F :m |f :s |l :s.f|m :—
M :d |f :f |s :s |d :— ||$^{d'}$S :f |m :d |l$_1$ :t$_1$ |d :d |F$_1$ :l$_1$|r$_1$ :m$_1$|f$_1$ :s$_1$ |d :—

## 869 *Gwahoddiadau yr Efengyl.*

*mf* O! MOR felus yw'r efengyl!
Mae 'n mynegu'n syml iawn,
Iachawdwriaeth pechaduriaid—
Taen ar led y tir yn llawn:
*cres.* Fel corn arian yn cyhoeddi,
Blwyddyn Jubili i'r wlad,
*f* Mae yn galw pawb i dderbyn
Gwerthfawr iachawdwriaeth rad.

*mf* Mae anogaeth gref i'r caethion,
Caiff y cleifion eu hiachau:
Wele'r etifeddiaeth gyflawn
Wedi cael ei llwyr ryddhau!
*cres.* Clyw yn awr yr Ysbryd geirwir,
O! bechadur truan trist!
*f* Yn dy alw tan dy ddolur,
Gyda chroesaw'n daer at Grist.
B. F.

## 870 *Gair Duw.*

*mf* GAIR fy Nuw sydd oleu nerthol,
Melus fel y diliau mêl;
Cadarn fel y bryniau oesol,
Angeu Iesu yw ei sêl;
*cres.* Hwn a nertha'm henaid rodio'r
Dyrys anial ffordd yn mlaen
*f* Hwn a gynal f'enaid egwan
Yn y dw'r ac yn y tân. AN.

*mf* Yma rhedo'm myfyrdodau,
Ar drysorau mawr y gair;
Dawn ac iechyd i fy ysbryd,
Grym a bywyd i mi bair;
*cres.* Mi anturia 'r oll a feddaf
Ar y gair cadarnaf gwiw;
*f* Cwyd fi fyny, ceidw f' enaid,
Mae fy nodded yn fy Nuw. B. F.

## 871 *Buddugoliaeth Crist.*

*mf* HOELIODD Iesu 'r ordeiniadau,
Oedd i'n herbyn, wrth y groes,
Gan ysbeilio 'r awdurdodau
Pan yn goddef angeu loes:
*cres.* Cododd faner wen trugaredd,
Drylliodd gedyrn byrth y bedd,
*f* Seiniodd Jubil lawn i'r caethion,
Ac arlwyodd radlon wledd!

*f* Agoriadau y llywodraeth
Wisgwyd ar ei ysgwydd Ef,
Rhoddwyd iddo bob awdurdod
Trwy y ddaear faith a'r nef:
*cres.* Marchog mae yn ngherbyd cariad;
Troi o'i gylch mae engyl nef;
*ff* Sigla cedyrn byrth y fagddu,
Hyd eu sail, wrth rym ei lef. S. R.

Alaw Rwsiaidd.

Doh F. M 60. D.C.

| | | | |
|---|---|---|---|
| M :s \|f :s | m :s \|r :s | M :s \|f :r | d :t, \|d :— |
| D :d \|d :r | d :d \|t, :t, | D :r \|d :l, | s, :s, \|s, :— |
| S :s \|l :s | s :s \|s :s | S :r \|f :f | m :r \|m :— |
| D :m \|r :t, | d :m, \|s, :s, | D :t, \|l, :f, | s, :s, \|d :— |

| | | | |
|---|---|---|---|
| D :-.d \|d :d | r :-.r \|r :r | D :-.d \|d :m.r | d :t, \|d :— |
| S, :-.s, \|l, :ta, | l, :-.l, \|t, :t, | D :t, \|l, :l, | s, :s, \|s, :— |
| M :-.m \|m :m | r :-.r \|s :f | M :-.m \|f :f | m :r \|m :— |
| D :t, \|l, :s, | f, :fe, \|s, :se, | L, :s, \|f, :r, | s, :s, \|d :— |

| | | | |
|---|---|---|---|
| D' :t \|d' :s | f :r \|m :s | D' :t \|d' :s | f :r \|d :— |
| M :r \|d :d | d :t, \|d :d | D :r \|d :d | d :t, \|d :— |
| S :f \|s :m | l :s \|s :s | S :s \|s :ta | l :s.f \|m :— |
| D :r \|m :d | f, :s, \|d :m | M :s.f \|m :d | f, :s, \|d :— |

## 872 *Dyeithriaid a phererinion.*

*mp* DYN dyeithr ydwyf yma—
Draw mae'm genedigol wlad,
Draw i'r moroedd mawr tymhestlog,
Ac o fewn i'r Ganaan rad ;
'Stormydd mawr o demtasiynau
A'm curasant i mor bell,
*f* Tyred y deheu-wynt hyfryd
Chwyth fi i'r baradwys well.

*mf* Ac er gwaethaf grym y tonau
Sydd yn curo o bob tu,
D'of trwy'r stormydd do'f trwy'r gwynt- [oedd,
Rywbryd i'r baradwys fry ;
*cres.* Gair fy Nuw sy'n drech na'r moroedd,
Gair fy Nuw sy'n drech na'r dòn,
*f* Mi anturia 'r oll a feddwyf
I'r addewid fythol hon.

*mf* 'Rwyf yn dechreu teimlo eisoes
Beraroglau 'r gwledydd draw,
Gyda r awel bur yn hedeg—
Dïau fod y wlad ger llaw :
*cres.* Tyr'd ! y tir dymunol hyfryd !
Tyr'd ! yr ardal sydd heb drai !
*f* Dy bleserau nefol rywiau,
Gâd im' bellach eu mwynhau !
W. W.

## 873 *Bedydd.*

*mf* AF ar ol yr Apostolion
Aeth yn ffyddlon o fy mlaen,
Y rhai gladdwyd yn y dyfroedd
Fel gorch'mynodd Iesu glân ;
*cres.* Rhai yn Ainon gerllaw Salim,
Rhai yn yr Iorddonen fawr,
*f* O ! am nerth i barchu geiriau
Brenin nef a daear lawr.

*mf* Draw yn afon yr Iorddonen,
Gyda thòriad nefol wawr,
Y bedyddiwyd ein Pen Cadben,
Gyda thorf aneirif fawr ;
*mp* Yno llefodd Tad y deyrnas,
'Fe'm boddlonwyd ynddo Ef ; '
*f* Codir miloedd o'r tomenau
'N etifeddion teyrnas nef. C. E.

Rhif 238. MARGARET. M. 8.7. D.

*Doh* G. M. 80. DAVID LEWIS, Llanrhystyd.

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| D :—:r | m :— :l | s :-.m:d' | r :m :— | L, :—:t, | d :-.r :m | r :-.d:r | d :—:— |
| S, :—:t, | d :— :d | s, :— :s, | l, :se, :— | M, :—:m, | l, :-.t, :d | t, :— :t, | d :—:— |
| M :—:s | s :-.m:d | r :-.m:m | l, :t, :— | D :—:m | m :-.f :s | f :-.m:f | m :—:— |
| D :—:s, | d :— :l, | t, :— :d | f, :m, :— | D :—:se, | l, :— :m, | s, :— :s, | d, :—:— |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| D :— :r | m :— :l | s :-.m:d | r :m :— | M :-.f:s | r :—:m | l, :-.s, :l, | s, :—:— |
| D :— :d.t, | d :— :d | d :— :d | d.t, :d :— | D :— :d | t, :—:s, | fe, :— :fe, | s, :—:— |
| L :-.s :f | m :-.r:d | s :— :m.fe | s :s :— | S :— :s | s :—:m | d :-.t, :d | t, :—:— |
| F, :-.m, :r, | d, :— :f, | m, :— :l, | s, :d :— | D :— :m, | s, :—:d, | r, :— :r, | s, :—:— |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| R :— :m | f :—:f | m :—:r | d :t, :— | D :—:r | m :— :l | r :-.m:fe | s :—:— |
| S, :— :s, | l, :—:t, | d :—:l, | l, :se, :— | L, :—:l,.se, | l, :-.t, :d | d :— :d | t, :—:— |
| T, :— :de | r :—:r | s :—:f | m :m :— | M :—:m | m :— :m | fe :-.s:l | s :—:— |
| S, :-.f, :m, | r, :—:s, | d, :—:r, | m, :m, :— | L, :—:t, | d :-.t, :l, | r :— :r, | s, :—:— |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| S :—:l | f :— :s | m :—:f | m :r :— | M :-.f:s | d :—:m | r :-.d:r | d :—:— |
| T, :—:de | r :— :r | d :—:d | d :t, :— | D :— :t, | l, :—:d | t, :— :t, | d :—:— |
| S :—:m | f :-.m:r | s :—:l | s :s :— | S :— :f | m :—:s | f :-.m:f | m :—:— |
| M :—:l, | r :-.d:t, | d :—:f, | s, :s, :— | D :— :s, | l, :—:m, | s, :— :s, | d, :—:— |

**874** *Craig sydd uwch na mi.*

*mf* MEWN gwasgfeuon a gofidiau,
Trof fy wyneb at fy Nuw,
Pan bo'm calon bron ymollwng
Dan helbulon o bob rhyw;
*cres.* O eithafoedd pella'r ddaear,
Llefaf, Arglwydd! arnat Ti,
Am dy gymorth i fy nhywys
Mewn i'r graig sydd uwch na mi.

*mf* Pan yn ymchwydd yr Iorddonen,
Yn ei gwyllt ryferthwy hi,
*cres.* Melus ganaf, er mor eiddil,
Ar y graig sydd uwch na mi;
*f* Ac mi roddaf hèr, heb g'wilydd,
I alluoedd uffern ddu,
Pan y b'o fy nhraed yn ddiogel
Ar y graig sydd uwch na mi. AN.

**875** *Aberth Crist, a'i Waed.*

*mf* ARGLWYDD! tyred! rhwyga 'r cwmwl,
Gwlawia o'th fendithion rhad,
Ffrwythau 'r hen addewid rasol,
Pwrcas rhwymau 'r Oen, a'i waed!
*cres.* Dyro imi eli llygaid,
Tỳn y gorchudd, rhwyga 'r llen,
*mf* Fel y gwelwy'r ystlys ânwyl,
Waedodd droswyf ar y pren.

*mf* Dyma 'r gwaed y caf ei ddadleu,
Tra b'wyf ar y ddaear lâs,
*cres.* Am faddeuant o'm pechodau,
Wrth nesâu at orsedd gras:
*f* Cân telynau nef a daear
Byth am dano hyfryd sain;
O fy enaid! seinia dithau 'th
Delyn fechan gyda'r rhai'n! D. W.

**876** *Ffynon Cysuron.*

*mf* TYNWN ddyfroedd wrth ein heisieu,
O ffynonau Brenin nef;
Maent yn llawnion ac yn helaeth—
Doniau 'i iachawdwriaeth Ef!
*f* Dyma'r fan y mae cysuron
Pererinion yn y byd;
*cres.* Dyma felus wir orfoledd,
Pur a hedd yn para o hyd. T. W.

## Rhif 239. HAMBURG. M. 8.7. D.

*Doh* G. M. 60. J. SCHOPE, 1640, trefnwyd gan F. FILITZ, Ph.D. 1853.

```
D  :d   |t,  :s,  |l,  :t,  |d   :d   |M  :m   |f   :f   |m   :m   |r   :— ||
S, :s,  |s,  :s,  |f,  :s,  |s,  :s,  |D  :d   |d   :d   |d   :d   |t,  :— ||
M  :m   |r   :d   |d   :f   |m   :m   |S  :s   |l   :l   |s   :s   |s   :— ||
D  :d   |s,  :m,  |f,  :r,  |d,  :d,  |D  :d   |f,  :f,  |d,.r,:m,.f,|s, :— ||

M  :f   |s   :d   |t,  :d   |r   :r   |M  :m   |r   :r   |d   :d   |t,  :— ||
D  :d   |d.t,:l,  |s,  :m,  |s,  :s,  |S, :s,  |s,  :s,  |m,  :l,  |se, :— ||
S  :l   |s   :f .m|r   :d   |d   :t,  |D  :d   |t,  :t,  |d.t,:d .r|m   :— ||
D  :l,  |m,  :f,  |s,  :l,  |s,  :s,  |D,.r,:m,.f,|s, :s, |l,  :l,  |m,  :— ||

D  :d   |r   :r   |m   :m   |f   :f   |M  :m   |r   :d   |d   :t,  |d   :— ||
L, :l,  |t,  :t,  |d   :d   |d   :d   |D  :d   |t,  :l,  |l,  :s,  |s,  :— ||
M  :m   |s   :s   |s   :l   |l   :l   |S  :s   |s.f :m   |f .m:r .f|m   :— ||
L, :l,  |s,  :s,  |d.ta,:l,.s,|f, :f, |D,.r,:m,.f,|s, :l, |f,  :s,  |d,  :— ||
```

**877** *Cadarn Sylfaen Seion.*

*f* WELE, gadarn sylfaen Seion  
Ar y Graig dragwyddol gref!  
Pan falurio 'r bryniau mawrion,  
Saif preswylfa Brenin nef;  
Wele, brydferth furiau 'r ddinas!  
A'r heolydd hardd eu gwedd!  
Wele, mewn adeilad addas,  
Orseddfainc Tywysog hedd!

*mf* O! mor ddiogel, ac mor ddedwydd  
Yw trigolion Seion Duw!  
Ffrydia yno hoff afonydd  
O lawenydd, dyfroedd byw:  
*f* Os y'm ni yn ddinasyddion,  
Mawr yw 'n braint, a gwyn ein byd;  
*cres.* Cawn dros byth, mewn hoffach Seion,  
Wel'd y Brenin hardd ei bryd. B. F.

**878** *Cariad Crist.*

*mf* CEFNFOR mawr uwchlaw gwybodaeth  
Ydyw cariad Iesu Grist;  
*cres.* Ffynon fywiol iachawdwriaeth,  
I adloni 'r enaid trist;  
*mp* Marw drosom, bechaduriaid,  
Gwerthfawr rodd deheulaw Duw!  
*cres.* Golwg arno wna i'm henaid  
*f* Lawenhau mewn ffydd, a byw.  
CYNDDELW.

**879** *Genedigaeth Crist.*

*f* GORFOLEDDA, ddaear, heddyw,  
Llawenhaed dy galon brudd!  
Torodd o'r uchelder arnat  
Wawr dy waredigol ddydd:  
Ateb roed i'r hen ofyniad—  
'Ai gwirionedd yw y gwna  
*cres.* Duw breswylio gyda dynion?'  
Heddyw gwnaed y gair yn dda!

*f* Llawenhewch, fynyddoedd uchel—  
Llemwch hyd yr awyr werdd!  
Gorfoleddwch, fryniau oesol!  
Wyntoedd nefoedd, seiniwch gerdd!  
Curwch ddwylaw, goed y meusydd!  
Cyd-ddeffrowch, yr adar mân!—  
*cres.* Unwch oll yn gôr i seinio  
Y blygeiniol newydd gân!

*mf* Chwi, aneirif sêr goleuni,  
Llygaid gloywon awyr fawr,  
Sefwch! synwch! cydgyfeiriwch  
Eich golygon yma i lawr!  
Gwelwch Ef—yr hwn, â'i fysedd,  
Gynt a'ch crëodd bob yr un—  
*cres.* Ar y ddaear wedi 'i eni 'n  
Geidwad i'r colledig ddyn!  
HIRAETHOG.

Rhif 240. ROUSSEAU. M. 8.7. D.

Priodolir i J. J. Rousseau, 1712–1778.

*Doh* F. M. 56.

| | | | | | | | | D.C. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| M :m.,r | d :d | r :r | m :d | S :s.,f | m :m | r.d :r.m | d :— | |
| D :d | d :d | $t_1$ :$t_1$ | d :$s_1$ | R :$t_1$ | d :d | $t_1$.$l_1$ :$t_1$ | d :— | |
| S :s.,f | m :m | s :s | s :m | R :s | s :d' | s :f | m :— | |
| D :d | d :$l_1$ | s :$s_1$ | d :d | $T_1$ :$s_1$ | d.r :m.f | s :$s_1$ | d :— | |

| | | | | | | | | D.C. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| M :m.,f | s :s | l :l | s :m | M :m.,f | s :s | l.t :d'.l | s :— | |
| D :d.,r | m :d | d :d | d :d | D :d.,r | m :d | d :d | d :— | |
| S :s | d' :m | f :f | m :s | S :s.,f | m.s :d'.t | l :l.f | m :— | |
| D :d | d :d | f :$f_1$ | d :d | D :d | d :m | f :$f_1$ | d :— | |

**880** *Y Beibl.*

*mf* DYMA Feibl anwyl Iesu,
Dyma rodd deheulaw Duw;
Dengys hwn y ffordd i farw,
Dengys hwn y ffordd i fyw;
Dengys hwn y golled erchyll
Gafwyd draw yn Eden drist;
*f* Dengys hwn y ffordd i'r bywyd,
Trwy adnabod Iesu Grist. An.

**881** *Plentyn Duw yn deisyf arweiniad.*

*mf* HEN arweinydd pererinion!
Clyw ddeisyfiad plentyn gwan,
Sydd yn llwfr a llawn amheuon,
Eto 'n ceisio dod i'r lan.
*cres.* Tra bwy'n teithio 'r byd helbulus
Arglwydd! arwain fi 'n dy law,
Nes im' ddod yn orfoleddus
Atat i'r baradwys draw. R. J.

*mf* Yn dy law, fy anwyl Iesu,
Gad i'm fod drwy 'r anial maith,
Onite mi ymollyngaf
Cyn cyrhaeddyd pen fy nhaith.
*cres.* Ond os caf dy law i'm tywys,
Dof drwy 'r anial gwaetha'i ryw,
Byddaf yn ddiangol beunydd,
Tra bo 'm llaw yn llaw fy Nuw.
J. R., C.

**882** *Gorfoledd pechadur yn Nuw.*

*mf* O! ANFEIDROL rym y cariad,
Anorchfygol ydyw 'r gras,
Digyfnewid yw 'r addewid,
Pery byth o hyn i maes;
*cres.* Hon yw 'm hangor ar y cefnfor—
Na chyfnewid meddwl Duw;
Fe addawodd na chawn farw,
Yn nghlwyfau 'r Oen y cawn i fyw.
D. W.

**883** *Boreu Sabboth.*

*mp* CAFFED f'enaid heddyw lonydd
Gan drafferthion cnawd a byd,
Ymgartrefed fy serchiadau
Ar haeddianau 'r aberth drud;
*mf* Nid oes genyf ond yr Iesu
Yn arweinydd ar y daith,
*cres.* I'm cysuro, a'm cyfnerthu
Yn ei ogoneddus waith.

*mf* Arno Ef, fy enaid pwysa,
Dysgwyl wrtho ddydd a nos;
Ynddo mae dy holl drysorau,
Brynwyd iti ar y groes.
*cres.* Dan ei gysgod Ef cei lechu,
Yn ei waed cei lwyr lanhad;
*f* Pwysa arno, yntau 'th gynal
Drwy y daith i dŷ fy Nhad.
J. J., F.

**884** *Enw Iesu.*

*mf* ENW melus ydyw'r Iesu,
Enw gwerthfawroca' erioed;
Enw gorfydd i bob enw
Blygu'n isel wrth ei droed;
*f* Dyma'r enw sy'n pêrciddio,
Fel yr enaint gwerthfawr drud;
Taenu wnelo'i bêraroglau,
Hyd nes llenwi conglau'n byd.
W. L.

Rhif 241. MORIAH. M. 8.7. D.

*Doh* F. M. 72. Alaw Gymreig.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| M :— :f.s,l | s :-.m:d | s :— :s | f :m :— | L :— :l |
| D :— :d | s, :— :l, | s, :— :t, | l, :s, :— | D :— :d |
| S :— :l.s,f | m :— :m | r :— :r | d.r :m :— | F :— :f |
| D :— :d | d :— :l, | t, :— :s, | l,.t,:d :— | F, :— :f |

D.C.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| s :— :m.f,s | f :-.m:r | d :— :— ‖ | S :— :m | s :s :— |
| d :— :d | d :— :t, | d :— :— ‖ | D :— :d | r :d :— |
| s :— :s.f,m | l :-.s:s.f | m :— :— ‖ | M :— :s | r :m :— |
| m :— :d | f, :— :s, | d :— :— ‖ | D :— :d | t, :d :— |

D.C.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| l :— :s | f :m :— | S :— :m | s :s :— | l :—:s.,f | m :— :— |
| d :— :d | t, :d :— | D :— :d | r :d :— | d :—:t, | d :— :— |
| f :— :s | s :s :— | M :— :s | s :m :— | f :—:r.s | s :— :— |
| f :— :m | r :d :— | D :— :d | t, :d :— | f, :—:s, | d :— :— |

885 *Gwregysa dy gleddyf.*

*f* MARCHOG, Iesu! yn llwyddianus,
Gwisg dy gleddyf ar dy glun;
Nis gall daear dy wrthsefyll,
Na holl uffern faith ei hun;
Mae dy enw mor ardderchog,
Pob rhyw elyn gilia draw;
Mae rhyw arswyd trwy'r greadigaeth
Pan y byddot Ti gerllaw.

*mf* Mi debygaf clywaf heddyw
Swn caniadau draw o bell,
Tyrfa'n moli am ddiangfa,
Ac am ryddid llawer gwell!
*cres.* Gynau gwynion yw eu gwisgoedd,
Palmwydd hyfryd yn eu llaw;
Iesu'n wrthddrych, nef yn gartref,
Maw! yn lloni'r bywyd draw.

*f* Minau bellach orfoleddaf
Fod y Jubil fawr yn dod,
Pan gyflawnir pob addewid
Roddodd Iesu mawr erioed;
*cres.* Mil o filoedd, myrdd myrddiynau,
Ddont o eithaf tywyll fyd,
Gyda sain yr udgorn arian,
Mewn i Salem bur ynghyd.

W. W.

886 *Cariad Crist.*

*f* DYMA gariad fel y moroedd,
Tosturiaethau fel y lli'!
T'wysog bywyd pur yn marw,
Marw i brynu'n bywyd ni!
*cres.* Pwy all beidio cofio am dano,
Pwy all beidio canu ei glod?
Dyma weithred nad â'n anghof,
Tra bo'r nefoedd fawr yn bod!

*f* Ar Galfaria yr ymrwygodd,
Holl ffynonau'r dyfnder mawr—
Torodd holl argaeau'r nefoedd,
Oeddynt gyfain hyd yn awr:
Gras a chariad megys dylif,
Yn ymdywallt yma 'nghyd;
A chyfiawnder pur a heddwch,
Yn cusanu euog fyd.

HIRAETHOG.

887 *Erfyn am lwyddiant.*

*mf* 'RHWN sy'n gyru 'r mellt i hedeg,
Ac yn rhodio brig y dòn,
Anfon saethau arg'oeddiadau
I galonau 'r oedfa hon:
*f* Agor ddorau hen garcharau,
Achub bentewynion tân;
Cwyd yr eiddil gwan i fyny,
Dysg i'r mudan seinio cân.

*mf* Llama, Arglwydd! dros y bryniau,
Doed y dyddiau pur i ben,
Pan bo Seion, trwy fawr lwyddiant,
Yn ben moliant is y nen!
*f* Enw 'r Iesu gaffo 'i barchu
A'i ddyrchafu trwy bob gwlad—
*cres.* Miloedd ddelo i gofleidio
Iachawdwriaeth yn y gwaed!

D. S.

888 *Cwymp Babilon.*

*f* BABEL gwympa, er ei chryfed;
Dagon syrth, er maint ei barch;
Nid oes elyn ddichon sefyll
O flaen Iôr, a'i gadarn arch:
*cres.* Hollalluog yw Duw Israel!
Arglwydd lluoedd llawr a nen!
Caerau Jericho a syrthiant
Pan ddaw 'r seithfed tro i ben.

*mf* Clywir sŵn yn mrig y morwydd,
*f* Deulu Seion! ymgryfhewch;
*mf* Sicrwydd sydd am fuddugoliaeth,
*f* Haleliwia, llawenhewch;
*cres.* Fe udgenir drwy 'r holl ddaear
Udgorn mawr efengyl hedd—
'Syrthiodd Babel! syrthiodd Babel!
Mwy nis gwelir ond ei bedd!' AN.

889 *Llwyddiant yr Efengyl.*

*f* HEDED yr efengyl fywiol,
Gyda dwyfol allu Duw,
At elynion, pelledigion,
Tyned feirwon ati'n fyw;
*cres.* Aed fel cleddyf llym, daufiniog,
I'r afrywiog galon fras:
Nes bo'r cyndyn balch yn plygu,
Gan ymgrymu am gael gras.

*f* Eled Seion yn ben moliant,
Traether ei gogoniant gwiw;
Nes bo myrdd oddiwrth eilunod
Eto'n dyfod at eu Duw;
*cres.* Sigled seiliau hen garcharau,
Nes bo rhwymau pawb yn rhydd;
Moliant Iesu'n anorchfygol,
Gallu'r diafol gollo'r dydd. J. C. J.

890 *Cyfod, Arglwydd, i'th orphwysfa.*

*mf* CYFOD, Arglwydd! i'th orphwysfa,
Boed dy arch mewn bri a braint;
Gwisg dy weision â chyfiawnder,
Rho orfoledd mawr i'th saint;
*cres.* Er mwyn Iesu, dy Eneiniog,
Derbyn, Iôr! nyni a'n gwaith;
Dyro i dylodion Seion
Ddiwall fanna ar eu taith.

*mf* Oni ddarfu iti, Arglwydd!
Ddewis Seion fel dy sedd?
Ti ddywedaist, Dyma 'nghartref—
Yma trigaf yn fy hedd:
*cres.* Tyr'd, gan hyny, i'th orphwysfa,
Yna mawl a leinw hon;
*f* Saint mewn hwyl yn llawen ganant,
Am y gras a'r llewyrch llon. AN.

891 *Bywyd yn y Groes.*

*mf* Y MAE Sinai heddyw'n ddystaw,
Swn taranau mwy nid oes;
Duw sy'n cynyg hedd a bywyd
I'r credadyn drwy y groes;
*cres.* Gwaith cyfiawnder mwy fydd maddeu,
Cuddio beiau rif y gwlith;
*f* Am y gwaed fe gân myrddiynau
Fawl a bery'n newydd byth. AN.

892 *Sinai a Chalfaria.*

*mf* WELE Sinai a Chalfaria
Heddyw wedi cwrdd ynghyd,
Sylwedd mawr yr holl gysgodau
Yn wynebu 'r dwyfol lid;
*cres.* Dacw 'r cleddyf wedi deffro,
Llyfrau 'r ddeddf yn d'od yn mlaen,
*f* Dacw aur y gwaredigion
Wedi ei buro yn y tân.

*f* Dacw angeu wedi ei faeddu,
Dacw 'r ddraig â'i phen yn friw,
Dacw nerthoedd uffern wedi
Eu hysbeilio gan Fab Duw;
*cres.* Dacw 'r Iesu yn myn'd adref,
Bywyd miloedd yn ei law;
Tyrfa fawr nas gallwn rifo,
Welir ganddo 'r dydd a ddaw. T. D.

893 *Buddugoliaeth y Groes.*

*f* WELE Iesu, 'r pen rhyfelwr,
'Nawr yn d'od o Edom wlad!
'Wisg yn goch, a'i fraich yn rymus,
Dreigiau 'n glwyfus dan ei draed!
*cres.* Am yr hyfryd fuddugoliaeth
Canaf ronyn ar y llawr,
Hyd nes gwawrio 'r hyfryd foreu
'Canai 'n nhragwyddoldeb mawr.
D. W.

*mf* Filwyr Seion! cym'rwn galon,
Gwisgwn arfau 'r nef yn llawn;
Byddwn gedyrn yn y frwydr,
Tra parhao 'n byr brydnawn:
Y mae hyfryd foreu tawel,
Rhanu 'r ysbail, bron gerllaw;
*f* Melus seiniwn fuddugoliaeth
Cyn bo hir yr ochr draw. AN.

*f* Cadben mawr ein hiachawdwriaeth
Welaf yn y frwydr hon;
Holl elynion ei ddyweddi
'N gorfod plygu ger ei fron;
*cres.* Plant afradlon sy'n dod adref,
A fu 'mhell o dir eu gwlad:
Rhai fu 'n fudion sy'n clodfori
Duw, am iachawdwriaeth rad. M. R.

Rhif 242. DUSSELDORF. M. 8.7. D.

Cyfaddaswyd o "Elijah." MENDELSSOHN, 1809—1847.

*Doh* C. M. 60. *D.C.*

```
S :m' |r' :t  |d' :l  |s  :m  |S :d' |t  :r' |d' :l  |s  :—  ||
M :s  |s  :s  |s  :f  |r  :d  |D :s  |s  :s  |s  :fe |s  :—  ||
D':d' |r' :r' |d' :d' |s  :s  |S :m' |r' :s  |m' :r' |t  :—  ||
D :d' |t  :s  |m  :f  |t, :d  |M :d  |s  :t, |d  :r  |s, :—  ||

D':d' |t  :se   |l  :m' |r' :d' |D':t  |l  :d' |r' :d' |t  :—  ||
M :m  |m  :m    |l  :l  |se :l  |L :se |l  :m  |f  :m  |m  :—  ||
L :l  |se :t    |l  :d' |m' :m' |M':r' |d' :d' |l  :l  |se :—  ||
L :d  |m  :m.r  |d  :l, |t, :l, |L,:t, |d  :l, |r  :l, |m  :—  ||

S :m' |r' :t    |d' :l  |s  :m  |S :f'     |m' :r' |d' :t  |d' :—  ||
S :s  |s  :s    |s  :f  |r  :d  |R :f.s    |s  :l  |s  :f  |m  :—  ||
S :d' |t  :r'   |d' :d' |t  :d' |T :d'.r'  |m' :f' |m' :r' |d' :—  ||
S :s  |s  :s.f  |m  :f  |s  :l  |T :l.t    |d' :f  |s  :s  |d  :—  ||
```

## 894 *'Felly y carodd Duw y byd.'*

*mf* 'FELLY carodd Duw' wrthddrychau
Anhawddgara' erioed a fu,
'Felly carodd,' fel y rhoddodd
Anwyl Fab ei fynwes gu;
*p* Nid arbedodd, ond traddododd
Ef, dros ein pechodau i gyd,
*cres.* Taro'r Cyfaill, arbed gelyn,
*f* 'Felly carodd Duw y byd.'

*mf* 'Felly carodd,' gan dosturio
'N rhad wrth hunan ddamniol ddyn:
'Felly carodd,' yn anfeidrol
Deilwng byth o hono'i hun;
*p* Er arbediad gwrthryfelwyr,
Gwnaeth ei Fab yn Aberth drud;
*cres.* Maddeu iddynt a'u cofleidio!—
*f* 'Felly carodd Duw y byd!'

*mf* 'Felly carodd,' ond ni ddichon
I angylion nef y nef
Draethu i oesau tragwyddoldeb
Hyd a lled ei gariad Ef;
*cres.* Dyfnach yw na dyfnder daear,
Uwch na'r nefoedd fawr i gyd;
Rhaid yw tewi gyda d'wedyd,
*f* 'Felly carodd Duw y byd!'

HIRAETHOG.

## 895 *Brwydr Golgotha.*

*mf* DRAW ar gopa bryn Golgotha,
Bu'r ymladdfa fwya' erioed;
'R Oen heb gleddeu na grym arfau,
'N sathru dreigiau dan ei droed;
*mp* Er ei ludded mawr a'i syched,
Wrth orchfygu uffern lu,
*cres.* Fe gaed ffynon yn ei galon,
*f* Ylch yn wyn yr Ethiop du.

*mf* Golchwyd Magdalen yn ddysglaer,
A Manasse 'n hyfryd wyn,
Yn y dwfr a'r gwaed a lifodd
Maes o'i ystlys ar y bryn:
*mp* Pwy a ŵyr na olchir finau?
Pwy a ŵyr na byddaf byw?
*cres.* Mae rhyw drysor anchwiliadwy
*f* O drugaredd yn fy Nuw.

J. D.

896 *Doniau'r Ysbryd.*

*mf* ARGLWYDD! anfon Di dy Ysbryd,
Gweithia'n danllyd trwy dy air;
Tawdd y galon galed gyfan,
Fel yr arian yn y pair;
Brysia wneuthur grymusderau,
Dryllia greigiau â dy ordd;
*cres.* Disgyn fel pe rhwygai'r nefoedd,
*f* Tawdd fynyddoedd, myn dy ffordd.
AN.

897 *Dyfodiad y Barnwr.*

*mf* WELE 'r Barnwr mawr yn dyfod!
Wele holl gymylau 'r nef
Wedi eu britho gan angylion,
Fyrdd, o gylch ei orsedd Ef!
*mp* Udgorn yr archangel seinia,
*cres.* Treiddia 'r sain i byrth y bedd;
Rhüa deng mil o daranau—
Cryna 'r bydoedd wrth ei wedd!

*mf* Hyllt y ddaear, rhwyga 'r beddau,
Cwyd y meirw, fach a mawr;
Düa 'r heulwen, gwrida 'r lleuad,
Syrth y sêr, fel ffigys, 'lawr;
Moroedd dyfnion ro'nt i fyny
'R myrdd sy'n gorphwys dan y dòn;
Egyr uffern, cryna 'r anwir—
Arswyd rwyga 'u heuog fron!

*mp* Holl elfenau natur doddant—
Ysol dân a lysg y byd;
*cres.* Ond y saint a gipir 'fyny
At eu Harglwydd, rhag y llid,
*mf* Bryniau 'r byd, fel eira, doddant,
Mŵg y pydew gŵyd i'r lan;
*f* Ond sain canu, 'n uwch na 'r cyfan,
Glyw 'r sawl fo â Christ yn rhan!

*f* Adsain bêr y gân ddiddarfod,
Golwg ar y bryniau draw,
Wna fy enaid llesg yn llawen,
Erlid ymaith bob rhyw fraw;
*cres.* Pam yr ofnaf anhawsderau,
A gelynion gwaetha'u rhyw?
Dof yn fuan i'r ardaloedd
Lle nad oes na phoen na briw!
J. H., LL.

898 *Duwioldeb.*

*mf* GWELL i mi nâ pherlau daear
Yw duwioldeb yn ei grym;
Hon a'm cynal yn yr anial,
Dan y croesau mwyaf llym;
*cres.* Hon a'm deil yn afon angeu,
Hon a'm hachub rhag y tân;
*f* Hon a'm dysg ar feusydd gwynfyd,
*cres.* Byth i seinio'r beraidd gân. AN.

899 *Pobpeth er daioni Seion.*

*mf* MAE cymylau a thywyllwch
Yn amgylchu'r Arglwydd Ior;
Uniawn yw ei lân lywodraeth
Dros derfynau tir a môr;
*cres.* Mae ei sail ar bur gyfiawnder,
Gwir uniondeb ynddi sydd;
*f* A chawn weled fod ei throion
Oll yn gyson iawn ryw ddydd.

*mf* Dyrys droion a thywyllwch
Sy'n cyfarfod Seion Duw,
Ar ei gyrfa trwy'r anialwch
Tua'i hetifeddiaeth wiw;
*cres.* Gan fod agoriadau'r nefoedd
A dyfnderoedd uffern fawr,
Oll yn nghadw gan ei Phriod,
*f* Daw o'i thrallod fel y wawr.
AN.

900 *Athrawiaeth Bedydd.*

*f* MOLWN Di, ein Ceidwad graslawn!
Am y sanctaïdd ordinhad,
Ddengys fyth i Seion ffyddlawn,
Sail ei chymod gyda'r Tad;
*p* Dengys ddiluw'r dwyfol ddigter
Yn myn'd dros dy enaid Di,
*f* Gan foddloni 'r pur gyfiawnder,
Waeddai am ein bywyd ni.

*f* Bendigedig fo dy enw!
Am dy ras a'th gariad drud,—
*p* Y sancteiddiaf Un yn marw
Er mwyn cadw euog fyd!
*mf* Mae dy waith wrth fodd ein calon,
Parchu 'th ordinhadau wnawn,
*cres.* Ac wrth wneuthur dy orch'mynion,
*f* Nefoedd yn ein henaid gawn.
M.

901 *Cadernid y Cyfamod.*

*f* DYFAIS fawr tragwyddol gariad,
Ydyw'r iachawdwriaeth lawn;
Sail cyfamod hedd sydd gadarn,
Ac nis derfydd byth mo'i ddawn;
*mp* Dyma'r man y gorphwys f'enaid,
Dyma'r man y byddaf byw;
*mf* Mewn tangnefedd pur heddychol,
*cres.* Yn mhob 'stormydd gyda'm Duw.

*mf* Syfled iechyd, syfled bywyd,
Cnawd a chalon yn gytun;
*cres.* Byth ni syfla amod heddwch—
Hen gytundeb *Tri yn Un;*
Dianwadal yw'r addewid,
Cadarn byth yw cynghor Duw;
*f* Cysur cryf i'r neb a gredo'n
Haeddiant Iesu i gael byw. T. C.

Rhif 243. MOUNT OF OLIVES. M. 8.7. D.

BEETHOVEN, 1770—1827.

Doh B♭. M. 66.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| D :t,.l, \|s, :m, | l, :d.l, \|s, :m, | M :r.d \|l, :r | d :t, \|d :— | D.C. |
| M, :f, \|m, :m, | f, :f, \|m, :m, | S, :s, \|f, :l, | s, :s, \|s, :— | |
| S, :d \|d :d | d :d \|d :d | D :t,.d \|d :f | m :r \|m :— | |
| D, :d, \|d, :d, | f, :l, \|d :d, | D, :r,.m, \|f, :r, | s, :s, \|d, :— | |

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| M :m.f \|s :m | f :r \|m :d | M :m.f \|s :m | f :m \|r :— | D.C. |
| S, :s, \|s, :s, | l, :s, \|s, :m, | S, :s, \|s, :s, | l, :s, \|s, :— | |
| D :d \|r :d | d :t, \|d :d | D :d \|r :d | d :d \|t, :— | |
| D, :d \|t, :d | f, :s, \|d :d | D, :d \|t, :d | f, :d, \|s, :— | |

## 902 *Gobaith y Cenhedloedd.*

*mp* WELE Iesu mawr ei hunan,
Draw yn hongian ar y groes!
Wele obaith yr holl ddaear,
Wedi dyoddef angeu loes!
*cres.* Wele noddfa pechaduriaid,
Wele Feddyg—wele fan,
Y caf wella'r holl archollion,
Dyfnion sydd ar f' enaid gwan!

*f* Gorfoleddwch, holl blant dynion,
A chlodforwch Frenin ne';
*mp* Iesu Grist fu dan yr hoelion,
Rhoes ei einioes yn eich lle:
*mf* Drws sydd wedi'i agor i chwi,
Nad oes neb a all ei gau;
*f* Gallwch oll, trwy ffydd yn Iesu,
Gael yn rhad eich cyfiawnhau.

W. W.

## 903 *Yr Efengyl.*

*mf* DYMA 'r dyddiau wedi gwawrio,
Clywir llais yr udgorn mawr—
Llais efengyl fwyn yn seinio
Dros holl barthau daear lawr:
*cres.* Mae y swper heddyw 'n barod;
Allan aed cenhadon hedd,
A chymheller pawb i ddyfod—
Mae cyflawnder yn y wledd.

*mf* Clywch yr udgorn fel mae'n seinio,
Uchel iawn trwy'r byd mae'i lef;
Iesu Grist sy'n galw trwyddo,
Bechaduriaid ato Ef;
*cres.* Doed y byd i gyd i'w garu,
Llwyr orchfygu wnelo Ef;
Tyred, Arglwydd! i deyrnasu
Ar bob enaid dan y nef.

AN.

## 904 *Gwawrddydd yr Efengyl.*

*mf* BETH yw 'r ddysglaer wawr sy'n tori?
*f* Gwawr efengyl ydyw hon!
*mf* Beth yw 'r cynhwrf sy'n cynyddu?
*f* Ffoi mae 'r fagddu ger ei bron!
*cres.* Deuwch, gonglau t'wylla'r ddaear,
I groesawu 'r hyfryd wawr—
Na foed pagan dan y nefoedd
Heb gael gwel'd y goleu mawr.

*mf* Beth yw 'r sŵn parhaus sy'n treiddio?
*f* Adsain yr hyfrydlais yw!
*mf* Beth yw sŵn y genadwri?
*f* Gwaredigaeth dynol ryw!
*ff* Haleliwia! bellach canwn,
Torwyd grym pob cadwyn den,
Brysiwn! brysiwn tuag adref!
Y mae 'r pyrth o led y pen.

EMRYS.

## 905 *Emyn Cenhadol.*

*f* HEDED yr efengyl hyfryd
I ardaloedd pella'r byd;
Doed teyrnasoedd oll yn unfryd
I feddiannu 'r trysor drud;
Fel yn nyddiau'r Apostolion
Boed ei phurdeb, boed ei grym;
Mawl i'r Hwn fu dan yr hoelion
Byth am hedd Calfaria fryn!

M. J. R.

906 *Bedydd Crist.*

*mp* O DAN donau yr Iorddonen
Dodwyd Iesu Grist i lawr,
*cres.* Er cyflawni pob cyfiawnder—
Cynwys yr ufudd-dod mawr!
*mf* Yno'r Tad, o'r nef agored,
Roddes gym'radwyol lef;
*cres.* Wrth ei ddilyn, ca'r credadyn
Eto dyner wenau 'r nef.

*mf* Y mae bywyd glan yr Iesu
Ar ei hyd yn burdeb byw;
Yn ei broffes gwisga 'r Cristion
Wisgoedd ei gymeriad gwiw;
*cres.* Yma rhodda glir arwydd-lun—
Marwolaethu pechod cas,
*f* A'r aileni i newydd-deb
Buchedd, er gogoniant gras.

*mf* Darlun ydyw 'r Bedydd hefyd
O fy Ngheidwad yn ei fedd,
Ac yn codi a dysgleirdeb
Anfarwoldeb yn ei wedd.
*cres.* Gwelaf finau, wan gredadyn,
Ynddo, gyda golwg ffydd,
Sicrwydd y bydd imi godi
Ar ei ddelw 'n fythol rydd. LLIFON.

907 *Tangnefedd Duw.*

*mf* BOED tangnefedd Duw a'i anedd
Yn ein hysbryd gwanaidd trist,
Fel y cadwer ein calonau,
A'n meddyliau byth yn Nghrist;
*f* Ynddo maeddwn feiau fyrddiwn,
Beunydd cyrchwn at y nôd,
Ffy pob gelyn ddaw i'n herbyn,
Nes cawn nef i ganu ei glod. AN.

908 *Daioni Duw.*

*mf* DUW a roes i ni, eleni,
Bob daioni i'n lloni 'n llawn—
Meusydd ffrwythlon, tywydd tirion—
Da i ddynion yw ei ddawn:
*cres.* Wele 'r flwyddyn dan ei choron—
Pob rhyw foddion er ein maeth;
*f* Cydfolianwn Dduw y duwiau,
Am ei ddoniau ini ddaeth.

*f* Rhoddwn fawl i Dduw yn ddilyth
Am bob bendith yn y byd;
Am ein porthi, a'n dilladu,
'Fe sy'n haeddu 'r clod i gyd—
*cres.* Ond yn benaf am ddarpariaeth
Rhyfedd iachawdwriaeth rad;
Bara 'r bywyd byth ni dderfydd—
Peraidd fydd mewn nefol wlad. AN.

909 *Rhyfeddodau'r Iachawdwriaeth.*

*mf* MAE rhyw fyrdd o ryfeddodau
Yn yr iachawdwriaeth râd;
Hon yw 'r afon fawr a lifodd
O dan riniog tŷ fy Nhad;
*cres.* Yn ei ffrydiau dwg fi adref
Gyda'r dyrfa hardd ei gwedd,
*f* Minau ganaf am ei rhinwedd,
Byth yr ochr draw i'r bedd.

*mf* Bydd angylion yn rhyfeddu,
Draw i oesoedd rif y dail,
Gweled myrdd o bechaduriaid
Yn dysgleirio fel yr haul,
*cres.* Wedi d'od o wlad y cystudd
Wedi gadael byd o boen,
*f* Ac yn gwisgo 'r gynau gwynion,
Wedi eu cânu yn ngwaed yr Oen.

*mf* Nid oes neb o'r hardd gyfeillion
Yno yn teimlo cur na phoen;
Trowd eu galar yn ganiadau
Am gystuddiau 'r addfwyn Oen.
*f* Rhyfedd byth os gwelir finau
Gyda'r dyrfa lon ei gwedd,
Yn cael edrych a rhyfeddu
Yr anfeidrol gynghor hedd! G. E.

910 *Rhyfeddodau'r Iawn.*

*mf* MAE rhyw fyrdd o ryfeddodau,
Iesu, yn dy farwol glwy';
*p* Trwy dy loes, dy gur, a'th angeu,
*cres.* Caed trysorau fwy na mwy;
*f* Nis gall cerub byth, na seraph,
Lawn fynegu gwerth yr Iawn
Roddwyd drosom gan Gyfryngwr
Ar Galfaria un prydnawn.

*mf* Pwy all fesur maint ei gariad
A rhinweddau maith ei ras?
Nid angylion, er eu doniau,
Na holl seintiau daear lâs:
*f* Môr didrai, heb waelod iddo,
Sydd yn chwyddo byth i'r lan;
Nofia miloedd ynddo 'n hyfryd
Draw i'r bywyd yn y man. AN.

911 *Cariad Duw.*

*mf* RHYFEDD gariad Duw at ddynion!
Syndod yw i luoedd ne'!
Hwn sy'n enyn tân seraphaidd
Trwy holl gyrau 'r dedwydd le:
Golwg arno wna i Gabriel
Hwylio tanau 'r delyn fawr:
*f* O! cydseiniwn ninau 'r anthem,
Anthem cariad ar y llawr. AN.

## DISMISSION. M. 8.7. D.

S. WEBBE, 1740–1816.

*Doh* E♭. M. 66. *D.C.*

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| D :r | m :d | r :m | f :m | L :s | f :m | m :r | d :— |
| D :t, | d :s, | t, :d | r :d | D :d | t, :d | d :t, | d :— |
| M :f | s :m | s :s | s :s | F :s | s :s | s :f | m :— |
| D :d | d :d | s, :d | t, :d | F :m | r :d | s :s, | d :— |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| D' :t | d' :s | l :s .f | m .f :s | L :t | d' :t .d' | t :l | s :— |
| M :r | d :d | d :t, | d .r :m | R :r | d :r .m | r :d | t, :— |
| S :f | s :m | f :r .s | s :s | Fe :s | m.fe :s | s :fe | s :— |
| D :r | m :d | f, :s, | d :d | D :t, | l, :s,.d | r :r | s, :— |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| S :s | m :d | r :m | f :m | S :m | l :s .f | m :r | d :— |
| D :r | d :s, | l,.t, :d | t, :d | D :d | d .r :m .r | d :t, | d :— |
| M :s | s :s | f :s | s :s | S :ta | l .t :d'.l | s :f | m :— |
| D :t, | d :m | f :m | r :d | M :d | f :m .f | s :s, | d :— |

## 912 *Gorchest Cariad.*

*mf* GORCHEST benaf dwyfol gariad,
Ydyw iachawdwriaeth dyn ;
Ffrwyth anfeidrol rasol fwriad,
Cynghor boreu'r Tri yn Un ;
*f* Rhoed tragwyddol seiliau'r cymod,
Yn nyoddefaint Calfari :—
Yr Hwn nid adnabu bechod
*p* Wnaed yn bechod drosom ni !

*mf* Dyma fôr didrai o gysur,
I drueiniaid daear drist,—
Duw mewn heddwch â phechadur
Yn haeddianau Aberth Crist !
*f* Trefn i'n hachub, ac awdurdod
Sel yr orsedd wrthi hi :—
Yr Hwn nid adnabu bechod
*p* Wnaed yn bechod drosom ni !

*mf* Rhyfeddodau anghymarol
Iachawdwriaeth dynolryw,
Ydynt feusydd anherfynol
Myfyrdodau engyl Duw ;
Safant mewn tragwyddol syndod
Uwch marwolaeth Calfari :—
Yr Hwn nid adnabu bechod
*p* Wnaed yn bechod drosom ni !

M.

## 913 *Llef am fywyd.*

*mf* ARGLWYDD ! dyro imi fywyd
Mae fy meiau i mor fawr ;
Fy euogrwydd sy'n cyd-bwyso
A mynyddau mwya'r llawr :
*cres.* Rhad faddeuant, gwawria bellach,
Gwna garcharor caeth yn rhydd—
*mp* Fu'n ymdreiglo mewn tywyllwch,
*f* 'Nawr i weled goleu 'r dydd !

*f* Cyfod, Haul! sy'n rhwygo 'r t'wyllwch,
Chwâl y beiau mwyaf cudd ;
Gyr holl ofnau anghrediniaeth,
Fel y nos o flaen y dydd :
Rho i mi wel'd yr ardal hyfryd—
Man lle mae fy ngobaith gwell ;
Rho' i mi bleser yn yr anial—
Golwg ar y gwledydd pell. W. W

**914** *Awyddfryd y Briodasferch.*

*mf* WELE 'r hafan, wele 'r ardal,
Wele 'r nefol hyfryd wlad!
*p* O'r anialwch 'rwyf ar brydiau
Yn cael trem ar dŷ fy Nhad;
*f* Mae rhyw hiraeth yn fy nghalon
Am gymdeithas bur y nef,
*cres.* Lle mae myrdd yn canu 'r anthem—
Anthem cariad, (*ff*) 'Iddo Ef!'

*mf* O! foreuddydd y briodas!
O! na ddeuai'r ddedwydd awr!—
Gwel'd wynebpryd y Priodfab,
Clywed sain y delyn fawr;
*f* Af dan ganu dros y moroedd,
Hwyliaf tua'r bywyd pur,
Ac anghofiaf hen ganiadau
Gwâg bleserau'r anial dir.

W. W.

**915** *Cariad Iesu.*

*mf* DYMA gariad! pwy a'i traetha?
Anchwiliadwy ydyw Ef;
Dyma gariad, byth ni threiddia
I'w ddyfnderoedd, nef y nef;
*cres.* Dyma gariad gwyd fy enaid
Uwch holl bethau gwael y llawr—
*f* Dyma gariad wna imi ganu
Yn y bythol wynfyd mawr!

*mp* Ymlochesaf yn ei glwyfau,
Ymgysgodaf dan ei groes,
*mf* Ymddigrifaf yn ei gariad—
Cariad mwy na hwn nid oes!
*cres.* Cariad lletach yw na'r moroedd,
Uwch na'r nefoedd hefyd yw—
*f* Ymddiriedaf yn dragwyddol
Yn anfeidrol gariad Duw!

An.

**916** *Awydd i folianu.*

*mf* O! NA byddai cariad Iesu
Megys fflam angerddol gref,
Yn fy nghalon i'w chynhesu,
Fel y carwn inau Ef;
*f* O! na chawn i brofi nerthol
Weithrediadau'r Ysbryd Glân,
Fel y gallwn yn wastadol,
Yn lle cwyno, seinio cân.

*mf* Mi chwenychwn 'nawr gael clywed
Sain caniadau'r dyrfa lân,
Telynorion a cherddorion
Pena 'r nef yn dyrchu'r gân;
*f* De'wch â'r Haleliwia uchel,
De'wch â'r moliant, de'wch â'r bri,
De'wch â'r clodydd oll yn gryno,
I'n Gwaredwr anwyl ni.

J. H., Ll.

**917** *Cariad at yr Anweledig.*

*mf* ANWELEDIG! 'rwy'n dy garu;
Rhyfedd ydyw nerth dy ras—
Tynaist f' enaid â'th hawddgarwch
O'i bleserau pena' i maes:
*f* Ti wnest fwy mewn un mynydyn
Nag a wnaethai 'r byd o'r bron—
*p* Enill iti eisteddfa dawel
*cres.* Yn y galon gareg hon. W. W.

*mf* Yn dy waith y mae fy mywyd,
Yn dy waith y mae fy hedd,
Yn dy waith yr wyf am aros
Tra bwy'r ochr hon i'r bedd;
*cres.* Yn dy waith ar ol myn'd adref,
Trwy gystuddiau rif y gwlith—
*f* Moli 'r Oen fu ar Galfaria—
Dyna waith na dderfydd byth!

An.

**918** *Gwerth y Gair.*

*mf* O! MOR werthfawr yw'r gair perffaith,
Sydd yn d'od o enau Duw!
Gwych a dirfawr iachawdwriaeth
Ynddo dardd: O hynod yw!
Nid all miloedd o aur melyn,
Na'r trysorau goreu sydd,
Foddio'r didwyll wir gredadyn,
Fel diffuant air y ffydd.

*mf* O! mor gyfiawn yw dy gyfraith,
A'th orch'mynion Di, ein Duw!
O! mor hynod ac mor helaeth
Yw dy ras at ddynolryw!
*cres.* Llwydda dy efengyl beraidd,
A dynoetha air dy ras;
*f* O! tywyned dy wirionedd
Oll ar led y ddaear lâs.

B. F.

**919** *Y llef ddystaw fain.*

*mf* D'WED y gair, fy addfwyn Iesu!
Yna f' enaid lawenhâ—
Gair o addewid 'caf fy mhuro
O bob pechod, o bob plâ;
*mp* Gwrendy f' enaid mewn dystawrwydd
Ar dy adlais distaw, main,
*f* Ac fe lama gan orfoledd
Pan y clywo 'th nefol sain.

W. W.

## AUSTRIA. M. 8.7. D.

J. Haydn, 1732—1809.

*Doh* F. M. 66. *D.C.*

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| D :-.r | m :r | f :m | r .$t_1$:d | L :s | f :m | r :m.d | s :— |
| D :-.d | d :$t_1$ | r :d | $t_1$.$s_1$:$s_1$ | $L_1$ :d | r :d | d :d | $t_1$ :— |
| M :-.f | s :s | s :s | f :m | F :s | s :s | l :l | r :— |
| D :-.d | d :$s_1$ | $t_1$ :d | $s_1$ :d | F :m | $t_1$ :d | $f_1$ :$fe_1$ | $s_1$ :— |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| R :m | r .$t_1$:$s_1$ | f :m | r .$t_1$:$s_1$ | S :f | m :-.m | fe :-.fe | s :— |
| $T_1$ :d | $t_1$.$s_1$:$s_1$ | $t_1$ :d | $t_1$.$s_1$:$s_1$ | D :$l_1$.$t_1$ | d :-.d | d :d | $t_1$ :— |
| S :s | s :$t_1$ | r :s | s :$t_1$ | D :r | d :-.l | l :l | s :— |
| $S_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$s_1$.$f_1$ | $M_1$ :$f_1$.$s_1$ | $l_1$ :-.$l_1$ | r :$r_1$ | $s_1$ :— |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| D' :-.t | l :s | l :-.s | s .f:m | R :m.f | s .l:f.r | d :$t_1$ | d :— |
| D :-.d | d :d | d :-.d | r :d | $T_1$ :$t_1$ | d :d.$l_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :— |
| S :-.s | f :m | f :-.s | s :s | S :s | d :l.f | m :r | m :— |
| M :-.m | f :d | f :-.m | $t_1$ :d | $S_1$ :$f_1$ | $m_1$ :$f_1$ | $s_1$ :$s_1$ | d :— |

## 920 *Ffynon gras.*

*mf* TYRED, ffynon gras a rhinwedd,
Enyn ynof nefol dân!
Ffrydiau diball o drugaredd,
Sydd yn galw am uchel gân:
*f* Cyfod f'enaid uwch cymylau,
Agwedd a syniadau'r byd,
Gosod fi ar fryn y bryniau,
Bryn dy gariad pur a drud.

*mf* Yma codaf Ebeneser,
Gras hyd yma a'm daliodd i;
Dysgwyl o'th ddaioni tyner
'Rwyf i dd'od i'm cartref fry:
*cres.* Iesu am ceisiodd pan yn estron,
Dŷg fy enaid caeth at Dduw:
Ef i'm dwyn o law'm gelynion,
Dalodd waed o ddwyfol ryw.

*mf* O! i'th ras mor fawr fy nyled,
Beunydd, beunydd, trwy fy oes;
Boed i'th ras fel cadwyn euraidd,
Byth fy rhwymo wrth dy groes:

*mp* Gwel, tueddol wyf i grwydro,
Ac i'th adael wrth fy mlys;
*f* Myn fy nghalon, par ei selio
Byth â sel dy nefol lys!

Robinson—Cyf.

## 921 *Teilwng yw'r Oen.*

*f* IDDO Ef yr hwn a'n carodd,
Ac a'n golchodd yn ei waed;
Oddiwrth ein holl bechodau,
Ac a'n gwisgodd hyd ein traed;
*cres.* Ac a'n gwnaeth ni yn frenhinoedd,
Ac offeiriaid i Dduw Dad;
*ff* Iddo Ef y bo'r gogoniant
Am yr iachawdwriaeth rad.

*f* Teilwng yw yr Oen a laddwyd
O glodforedd Seion byth;
Gallu, cyfoeth, a doethineb,
Ac anrhydedd mawr dilyth;
*cres.* Iddo Ef sy'n awr yn eistedd
Ar ei orsedd uwch y nen;
*ff* Boed addoliad a gogoniant
Gyda moliant byth. Amen.

An.

Rhif 246. MINNESOTA. M. 8.7. D.

L. Mason, 1792—1872

*Doh* E♭. M. 60. *D.C.*

```
S  :m   |l  :s   |d' :m   |m  :r   |D  :r  |m  :l   |s  :fe   |s  :— ||
D  :d   |d  :d   |m  :d   |d  :t,  |L, :t, |d  :m   |r  :d    |t, :— ||
M  :s   |f  :s   |s  :s   |s  :s   |M  :s  |s  :d'  |t  :l    |s  :— ||
D  :d   |f  :m   |d  :m   |s  :s,  |L, :s, |d  :l,  |r  :r    |s, :— ||

M     :l     |l :se   |l  :d'   |d' :t   |D' :t  |l  :t   |l  :se   |l  :— ||
D.r   :m.r   |d :t,   |m  :m    |m  :m   |M  :m  |m  :r   |d  :t,   |d  :— ||
D'.t  :l.f   |m :m    |m  :l    |l  :se  |L  :se |l  :f   |m  :m    |m  :— ||
L,.t, :d.r   |m :m.r  |d  :l,   |m, :m,  |L, :t, |d  :r   |m  :m,   |l, :— ||

S  :m   |f  :m   |s  :d'   |d' :t   |D' :l  |s  :m   |r  :r    |d  :— ||
D  :d   |r  :d   |r  :m    |m  :r   |D  :d  |r  :d   |d  :t,   |d  :— ||
M  :s   |s  :s   |s  :m.f  |s  :s   |S  :f  |r  :s   |l  :s.f  |m  :— ||
D  :d   |t, :d   |t, :l,   |s, :s,  |M  :f  |t, :d   |f, :s,   |d  :— ||
```

**922** *Dychweliad yr afradlon.*

*mf* PWY yw'r blin bererin acw,
Welaf yn ymdynu'n brudd,
Trwy 'r anialwch tuag adref,
Yn dylawd, a gwlyb ei rudd?
Beth mae'n lefain wrtho'i hunan?
*mp* 'Dad, nid teilwng mwy wyf fi,
Fod yn fab, ond gwas a fyddaf
Os caf ddod o fewn dy dŷ.'

*mf* Beth yw'r adlais hyn a glywaf
Ar delynau aur y nef?
'Teithia 'mlaen, bererin egwan,
Croesaw, croesaw, tua thref!'
*cres.* Mae trigolion gwlad goleuni
Wrth dy wel'd yn llawenhau;
*f* Mae y wisg yn barod iti,
Mae dy Dad yn trugarhau!

*mf* Dos yn mlaen bererin egwan,
Trwy 'r diffaethwch, dos yn mlaen;
Er mor athrist yw dy olwg,
Try dy alar eto'n gân.
*cres.* Llygaid nef sydd ar dy gamrau,
Teithia 'mlaen, bererin gwan!
*f* Ronyn eto, ffrydiwch ddagrau,
Chwi a sychir yn y man.

*mf* Dacw 'i Dad yn dod a gwisgoedd
Hardded a goleuni 'r wawr,
Yn cusanu 'r crwydryn eiddil,
Ar ei wddf yn syrthio i lawr!
*f* Uwch, ac uwch yn awr dyrchafa
Tanau 'r nef eu sain yn nghyd;
*mp* O! a yw dy werth di gymaint!
*f* F'enaid bach! (*mp*) wyt ti mor ddrud?

Daniel Ddu.

**923** *Yr Ymchwiliad.*

*mp* CHWILIO bum y greadigaeth
Eang, trwyddi yn mhob man,
Ceisio gwrthddrych i roi gobaith
Ac ymddiried f' enaid gwan!
Wedi troi dalenau anian
Ol a gwrthol, oll i gyd,
Ni chanfyddais, naddo 'n unman,
Wrthddrych teilwng o fy mryd.

*cres.* Troes fy ngolwg yn fy nagrau
Bellach at yr orsedd wen,
Gwelwn mewn cyfryngol wisgoedd
*p* 'Rhwn ogwyddodd droswy 'i ben!
*mp* Dacw Fe! medd f' enaid euog,
*cres.* Medraf ddarllen yn ei wedd
*mf* Galon lawn o dosturiaethau,
*f* A maddeuant pur a hedd!

An.

Rhif 247. **LLANGAN.** M. 8.7. D.

*Doh* G. M. 80. Alaw Gymreig.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| M :— :r | d :— :m | f :— :s | m :— :d | M :— :f | s :— :s |
| D :— :t$_1$ | d :— :d | d :— :s$_1$ | s$_1$ :— :s$_1$ | D :— :d | d :— :d |
| S :— :f | m :— :s | f :— :r | d :— :m | S :— :d | d :— :s |
| D :— :s$_1$ | l$_1$ :— :s$_1$ | l$_1$ :— :t$_1$ | d :— :d | D :— :l$_1$ | m$_1$ :— :m$_1$ |

| | | *D.C.* | | D.t. | |
|---|---|---|---|---|---|
| f :m :r | m :— :— | D :— :m | d :-.t$_1$:l$_1$ | $^{r}$s :— :s | m :-.r:d |
| d :— :t$_1$ | d :— :— | S$_1$ :— :s$_1$ | s$_1$ :— :f$_1$ | $^{fe}$t$_1$:-.d :r | d :— :d |
| l :s :s | s :— :— | M :— :d | d :— :d | $^{r}$s :— :s | s :— :s |
| f$_1$ :s$_1$ :s$_1$ | d$_1$ :— :— | D$_1$ :— :d$_1$ | m$_1$ :— :f$_1$ | $^{r_1}$s$_1$:-.l$_1$:t$_1$ | d :-.r:m |

| | | | f.G. | | |
|---|---|---|---|---|---|
| L :— :t | d' :— :f | m :— :r | $^{d}$s$_1$:— :— | R :— :f | m :-.r :d |
| D :— :r | d :— :d | d :— :t$_1$ | $^{d}$s$_1$:— :— | S$_1$ :— :t$_1$ | d :-.t$_1$:l$_1$ |
| F :— :f | s :— :l | s :— :f | $^{m}$t$_1$:— :— | T$_1$ :— :r | d :-.r :m |
| F :— :r | m :— :f | s :— :s$_1$ | $^{d}$s$_1$:— :— | S$_1$ :— :s$_1$ | l$_1$ :— :l$_1$ |

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| m :— :l | s :-.m:d | S :— :m | f :l :s .f | m :— :r | d :— :— |
| l$_1$ :— :d | t$_1$ :— :s$_1$ | D :— :d | d :—:d | d :— :t$_1$ | d :— :— |
| d :— :f | r :-.m:m | M :— :s | f :—:s .l | s :— :f | m :— :— |
| l$_1$ :— :f$_1$ | s$_1$ :— :d | D :— :ta$_1$ | l$_1$ :f$_1$ :m$_1$.f$_1$ | s$_1$ :— :s$_1$ | d$_1$ :— :— |

**924** *Y Cristion yn gweled y wlad.*

*mf* MELUS mewn anialwch dyrys,
Ambell drem ar fröydd y wlad
Roddwyd imi gan fy Ngheidwad
Yn dragwyddol anedd rad:
Er pob tegan sy am fy hudo,
*cres.* Fe wna 'r olwg hon i mi
Adael daear, a'i mwynderau
'N dawel am y nefeodd fry.

*mf* Draw i afon donog angeu,
Gwelaf gyrau 'r nefol dir;
Clywaf sain ei delynorion,
Dwndwr ei afonydd pur;
*cres.* Pob rhyw ofid a ddiflana,
A'r Iorddonen hyllt yn ddwy—
*f* 'N awr dechreuaf ar yr anthem,
Hyd nes caffwyf fyned trwy. D. W.

**925** *Bedydd yr Iesu.*

*mf* O FY enaid! sylweddola
Fedydd dy Waredwr mawr,
A gyflawnodd bob cyfiawnder
Dan agoriad nefol wawr.
*mp* Cauodd porth y nef uwch Eden,
A'i hadfydus hanes trist;
*f* Ond agorodd mewn gogoniant,
Uwchben bedydd Iesu Grist!

*mp* O fy enaid! gwel E'n soddi
Yn y ffrwd lifeiriol gref,
Ac yn codi, dan weddio—
Hyn oedd weddus, meddai Ef:—
*mf* Gweddus i'r Un pur, dihalog,
'Rhwn yn siampl ini wnaed,
*cres.* Ddechreu 'i yrfa yn y dwfr,
A'i therfynu yn y gwaed!

*mp* Gwel Ef yn ei ostyngeiddrwydd,
Mewn dinodedd wedi byw,
*mf* Ond yn caffael yn ei Fedydd
Ei egluro 'n wir Fab Duw!—
*cres.* Duw ei hun mewn llef o'r nefoedd
Yn ei arddel ddechreu 'i daith,
*mp* 'R Ysbryd Glân yn gorphwys arno,
*cres.* I'w eneinio Ef i'w waith.

*mf* O fy enaid! dyma'r llwybr—
Dilyn gamrau 'r Iesu gwiw,
Trwy ufudd-dod i'r mabwysiad,
A'r eneiniad dwyfol ryw.
*f* Braint i'r saint yw'r olchfa ddwfr
Trwy y gair, a gwyd bob 'staen;
Gwisgir hwy mewn gynau gwynion—
Nef agored sydd o'u blaen.
S.

Rhif 248. ENGEDI. M. 8.7. D.

*Doh* G. M. 56. J. E. JONES, Carnarvon, 1887

```
L, :t,   |d  :r    |m  :l     |se :l   |M   :m     |f  :m   |d    :r   |m  :—
M, :se,  |l, :t,   |d  :l,.r  |t, :d   |T,  :l,    |l, :l,  |l,   :l,  |se,:—
D  :m    |m  :s    |s  :m.f   |m  :m   |M.r :d     |r  :m   |m    :l,  |t, :—
L, :m,   |l, :s,   |d  :d.r   |m  :l,  |Se, :l,    |r  :d   |l,   :f,  |m, :—

L, :t,   |d  :r    |m  :l     |se :l   |M   :f     |m  :l,  |t,.d :t,  |l, :—
M, :s,   |s, :s,   |s, :l,.r  |t, :d   |L,.d:t,.l, |se,:l,  |l,   :se, |l, :—
D  :r    |d  :t,   |d  :m.f   |m  :m   |M   :r     |r  :d   |m    :r   |d  :—
L, :s,.f,|m, :s,   |d, :d,.r, |m, :l,  |D,  :r,    |m, :f,  |m,   :m,  |l, :—

                                        D.t.
M  :m    |s  :s    |d  :r     |m  :m   |m L:t      |d' :t   |l    :se  |l  :—
S, :l,   |t, :d    |d  :t,    |d  :d   |s,D:m      |m  :f   |m    :m   |m  :—
D  :d    |r  :d    |m  :s     |s  :s   |m L:se     |l  :r'  |d'   :t   |d' :—
D  :l,   |s,.f,:m, |l, :s,    |d  :d,  |d F:m.r    |d  :r   |m    :m   |l, :—

            f.G.
R' :r'   |d' :l m  |f  :m.r   |d  :t,  |L,  :l,    |m  :m.r |d    :t,  |l, :—
F  :r    |s  :f d  |d  :t,    |l, :se, |L,  :l,    |l, :l,  |l,   :se, |l, :—
L  :t    |d' :d' s |d  :m     |m  :m.r |D   :r     |m  :f   |m    :r   |d  :—
F  :s    |m  :f d  |l, :se,   |l, :m,  |F,  :f,    |d, :r,  |m,   :m,  |l, :—
```

## 926 *Iesu dan yr hoelion.*

*mf* O FY enaid! cod dy olwg,
Gwel yn amlwg ben y bryn,
Lle bu Iesu 'r Cyfaill ffyddlon,
Dan yr hoelion dur cyn hyn:
*cres.* Talodd yno swm dy ddyled—
*p* Gwerthfawr waed ei galon friw:
*mf dim.* 'R Oen dieuog yno'n marw,
*p cres.* Minau'r euog yn cael byw!

D. W.

## 927 *Iesu yn ddigon.*

*mf* ARGLWYDD, cadw yn y 'stormydd
F' enaid dan dy aden gu;
Cadw ynof yspryd gweddi,
Nes y delwyf atat Ti;
*mf* Estyn allan fraich dragwyddol,
Dal fi ar y cefnfor maith;
*cres.* Cadw'm llong rhag myn'd yn chwilfriw,
Nes i'm gyrhaedd pen fy nhaith.

*mf* Digon imi ydyw'r Iesu,
Yn y dŵr ac yn y tân;
Digon yw i'm henaid egwan,
Ar y ffordd wrth fyn'd yn mlaen;
*f* Digon yw yn afon angeu;
Digon yn y farn a ddaw;
Ac fe bery byth yn ddigon,
Yn y wlad sy'r ochr draw.

AN.

## 928 *Gweddi am y Dystiolaeth.*

*mf* ARGLWYDD grasol! dyro 'th Ysbryd—
Dysg im' lefain, 'Abba, Dad!'
Rho dystiolaeth o'm mabwysiad,
Gâd im' brofi 'th gariad rhad;
*cres.* Dyro wir foddlonrwydd imi
Fod fy enaid yn dy hedd;
Llanw f' ysbryd â thangnefedd
Cyn im' fyned i fy medd.

*mf* Dyro 'th hoff gymdeithas imi
Tra b'wyf yn yr anial fyd;
Tywys f' ysbryd tua 'r bywyd,
A bydd imi 'n noddfa glyd:
*cres.* Gâd im' wledda gyda 'th deulu—
Gwledda ar dy gariad rhad;
Yn y diwedd dwg fi 'n dawel
Draw i ddedwydd dŷ fy Nhad.

AN.

# LLANSANAN. M. 8.7. D.

Alaw Gymreig.

Doh F. M. 56.

| | | | | | | | D.C. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| M :l | s :l | s :m | d :r | M :l | s :m.r | d :t, | l, :— |
| D :d | d :d | r :s, | l, :t, | S, :d | r :d.t, | l, :se, | l, :— |
| M :m | m :m | r :m | m.fe :s | M :m | r :m.f | m :r | d :— |
| L, :l, | d :l, | t, :d | l, :s, | D :l, | t, :d.r | m :m, | l, :— |

| | | | | | | | D.C. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| L, :t, | d :t,.d | r :d | r :m | L :t | d' :l | t :l | se :— |
| M, :se, | l, :l, | l, :l, | r :t, | M :m | m :m | t, :d | t, :— |
| D :m | m :m | f :m | l :se | M :se | l :m | f :m | m :— |
| L, :m, | l, :l, | r :m | f :m | D :t, | l, :d | r :l, | m :— |

## 929 *Gorphwysfaoedd llonydd.*

*np* ARGLWYDD! gad im dawel orphwys,
Dan gysgodau'r palmwydd clyd,
Lle'r eistedda'r pererinion
Ar eu ffordd i'r nefol fyd;
*cres.* Lle'r adroddant dy ffyddlondeb
Iddynt yn yr anial cras,
*mf* Nes anghofio'u cyfyngderau
Wrth folianu nerth dy ras.

*mf* O! mor hoff yw cwmni'r brodyr
Sydd a'u gwyneb tua'r wlad,
Heb un tafod yn gwenieithio—
Heb un fron yn meithrin brad;
*cres.* Gwlith y nefoedd ar eu profiad,
Adsain hyder yn eu hiaith;
*f* Teimlant hiraeth am eu cartref—
Carant son am ben eu taith.

*mf* Arglwydd! dal ni nes myn'd adref,
Nid yw'r llwybr eto'n faith;
Gwened heulwen ar ein henaid,
Wrth nesau at ben y daith;
*cres.* Doed y nefol awel dyner
I'n cyfarfod yn y glyn,
*f* Nes cael teimlo'n traed yn sangu
Ar uchelder Seion fryn.

EMRYS.

## 930 *Ysbryd gweddi.*

*mf* LLANWER ni ag ysbryd gweddi—
Ysbryd llawn o daerni dwys;
Ysbryd gofyn hyd nes derbyn,
Y bendithion mwya'u pwys:
*cres.* Ysbryd llawn o deimlad bywiog,
Lanwo galon pawb o'r byw;
Boed yn amlwg ar eneidiau,
Weithrediadau Ysbryd Duw.

D. S. E.

## 931 *Anwadalwch pobpeth daearol.*

*mf* O! FY Iesu bendigedig!
Unig gwmni f'enaid gwan,
Yn mhob adfyd a thrallodau,
Dal fy ysbryd llesg i'r lan;
*p* Tra y'm teflir yma ac acw
*cres.* Ar anwadal donau'r byd,
*mf* Cymorth rho i ddal fy ngafael
Ynot Ti, sy'r un ô hyd.

*mp* Rho'f fy nhroed y fan a fynwyf,
Ar sigledig bethau'r byd,
Ysgwyd mae y tir o danaf,
Darnau'n cwympo i lawr o hyd;
*cres.* Ond os caf fy nhroed i sangu
Yn y dymestl fawr a'm chwyth,
*mf* Ar dragwyddol Graig yr Oesoedd,
*f* Dyna fan na sigla byth!

*mp* Pwyso 'r boreu ar fy nheulu,
Colli 'rheiny y prydnawn!
Pwyso eilwaith ar gyfeillion,
Hwythau 'n colli 'n fuan iawn;
Pwyso ar hawddfyd—hwnw 'n siglo,
Profi 'n fuan newid byd:
*cres.* Pwyso ar Iesu!—(*f*)dyma gryfder
Sydd yn dal i'r pwysau 'i gyd!

EBEN FARDD.

## BAVARIA. M. 8.7. D.

*Doh* G. M. 60. MENDELSSOHN, 1809—1847.

|M :-.d |l, :t, |d :r |m :f |M :l |s :-.f |m :d |t, :— ||
|M :-.d |l, :se, |l, :l, |l, :l, |L, :d |t, :-.l, |l, :l, |se, :— ||
|M :-.d |l, :m |m :r |de :r |D :m |r :-.r |d :m |m :— ||
|M :-.d |l, :m, |l, :f, |m, :r, |L, :l, |l, :-.t, |d :l, |m, :— ||

D.t. f.G.

|M :-.d |l, :t, |d :r |m :f |$^{m}$L :r' |d' :-.t |l :se |$^{l}$m :— ||
|M :-.d |l, :se, |l, :l, |l, :l, |$^{l,}$R :f |m :-.f |m :r |$^{d}$s, :— ||
|M :-.d |l, :m |m :r |de :r |$^{d}$F :l |l :-.r' |d' :t |$^{l}$m :— ||
|M :-.d |l, :m, |l, :f, |m, :r, |$^{l,}$R :r |l,.t,:d.r |m :m |$^{l,}$m, :— ||

|T, :t, |m :t, |r :-.d |d :t, |T, :t, |m :t, |r :-.d |d :t, ||
|Se, :se, |l, :se, |t, :-.l, |fe, :se, |Se, :se, |l, :se, |t, :-.l, |l, :se, ||
|M :r |d :r |t, :-.m |re :m |M :r |d :r |t, :-.m |m :— ||
|M, :m, |m, :m, |se, :-.l, |l, :m, |M, :m, |m, :m, |se, :-.l, |m, :— ||

|D :-.s, |l, :l, |f :-.r |d :t, |M :l |m :-.l, |d :t, |l, :— ||
|S, :-.m, |f, :f, |l, :-.l, |l, :se, |L, :d |d :t,.l, |l, :se, |l, :— ||
|M :-.d |d :d |r :-.f |m :m |M :m |m :-.d |m :r |d :— ||
|D, :-.d, |f, :f, |r, :-.r, |m, :m, |D :l, |s, :-.f, |m, :m, |l, :— ||

## 932 *Awyddfryd y Cristion.*

*mf* BRYD, fy Nhad! câf yfed dyfroedd,
Dyfroedd gloywon sy'n iachau?
Pob rhyw bleser wedi darfod,
Ond yn unig dy fwynhau;
*mp* Pwyso 'm henaid ar dy fynwes,
Edrych yn dy wyneb llon,
*cres.* Caru nes anghofio 'r oriau
Sy' imi ar y ddaear hon?

*mf* Bryd caf wel'd y tir dymunol,
Hyfryd baradwysaidd wlad,
Lle mae brodyr imi filiwn,
Lle mae 'Mhriod, lle mae 'Nhad,
*mp* Lle caf orphwys o fy llafur,
Lle caf wella 'm poen, a'm briw,
*cres.* A chael gwledd dragwyddol, gyson,
*f* Fyth yn nghwmni 'm Tad a'm Duw? W. W.

## 933 *Cri am fywyd.*

*mf* DYRO afael ar y bywyd—
Bywyd yw fy nghri o hyd;
Na'd fi gario lamp neu enw
Heb yr olew gwerthfawr, drud:
*f* Adail gref a'r Graig yn sylfaen—
Arglwydd, dyro imi 'n awr;
*cres.* Llanw 'm henaid â dy gariad
Tra bwy'n teithio daear lawr. A. E.

## 934 *Digonedd yn Nghrist.*

*mf* IESU 'n unig yw fy mywyd—
Mwy nag oll yw Ef ei hun;
Nid oes angel iddo 'n debyg—
Nid oes seraph, nid oes dyn;
Pleser, cariad, a llawenydd,
Rodiant ar ei ddeheu law,
*cres.* Ac i'w ŵydd, na phoen, na gofid,
Nac euogrwydd, byth ni ddaw.

*mf* Iesu! llawnder mawr y nefoedd!
Gwrando lef un eiddil, gwan,
Sydd yn gorwedd wrth dy orsedd,
Ac yn codi ei lef i'r lan;
*mp* Mae 'ngelynion heb rifedi
Yn fy nghuro o bob tu,
*cres.* Ac nid oes a all fy achub
Is y nefoedd ond Tydi.

*mf* Yn dy haeddiant 'rwyf yn gyfiawn,
Yn d' oleuni gwela'i 'n glir,
Yn dy wisgoedd dwyfol, dysglaer,
Bydda'i 'n ogoneddus bur;
Yn dy iachawdwriaeth gyflawn,
Er mor egwan wyf yn awr,
*cres.* Ceir fy ngweled, ryw ddiwrnod,
*f* Yn dysgleirio fel y wawr. W. W.

*Doh* F. M. 60. W. Davies, Rhydychen, 1888.

| M :l |l :se |l :m .s|s :f |M.r:d.t,|l,.t,:d.r|m :m |m :— ||
| D .r :m.d |t, :t, |l, :de.m|m :r |M.r:d.t,|l,.t,:d.r|m :l,.d |t, :— ||
| M :m |m :m |m :l |l :l |M.r:d.t,|l,.t,:d.r|m :m .l |se :— ||
| L,.t,:d.l,|m :m.r|de :l, |r :r |M.r:d.t,|l,.t,:d.r|m :d .l,|m, :— ||

| M :l |l :se |l :m .s|s :f |M.r:d.t,|l,.t,:d.r|t, :t, |l, :— ||
| D .r :m.d |t, :t, |l, :de.m|m :r |M.r:d.t,|l,.t,:d.r|se, :se, |l, :— ||
| M :m |m :m |m :l |l :l |M.r:d.t,|l,.t,:d.r|m :m .r|d :— ||
| L,.t,:d.l,|m :m.r|de :l, |r :r |M.r:d.t,|l,.t,:d.r|m :m, |l, :— ||

C.t. f.F.

| t,M :l |l :se |m :d' |d' :t |L :m' |m' :r'.t |l :se |lm :— ||
| m,L, :m |m.re:m |m :m |m :m .r |D :m |m :f |m :m |mt, :— ||
| mL :d' |t :t |l :l |l :se |L :se |l :l .r' |d' :t |d's :— ||
| s,D.t,:l,.d|m.f :m.r|d.t,:l,.d|m :m |F :m .r|d :r |m :m |l m, :— ||

| M :l |l :se |l :m .s|s :f |M.d':t .l|s.f :m.r|d :t, |l, :— ||
| D .r :m.d |t, :t, |l, :de.m|m :r |D .m :m |m.r :l, |l, :se, |l, :— ||
| M :m |m :m |m :l |l :l |L :se.l|l :s.f |m :r |d :— ||
| L,.t,:d.l,|m :m.r|de :l, |r :r |L, :t,.d|r :r |m :m, |l, :— ||

## 935 *Lleferydd Iesu.*

*mf* O! LLEFARA, addfwyn Iesu
Mae dy eiriau fel y gwin,
Oll yn dwyn i mewn dangnefedd
Ag sydd o anfeidrol rin;
Mae holl leisiau'r greadigaeth,
Holl ddeniadau cnawd a byd,
Wrth dy lais hyfrydaf tawel,
*dim.* Yn dystewi, a myn'd yn fud.

*mf* Nis gall holl hyfrydwch natur,
A'i melusdra pena'i maes,
Fyth gymharu â lleferydd
Hyfryd, pur, maddeuol ras:
*cres.* Gad im' glywed swn dy eiriau—
Awdurdodol eiriau'r nef,
Oddi mewn yn creu hyfrydwch,
Nad oes ei gyffelyb ef. W. W.

## 936 *Deisyf Arddeliad.*

*mf* 'RHWN sy'n gyru 'r mellt i hedeg,
Ac yn rhodio brig y dòn,
Ac yn mesur holl ddyfnderau
Temtasiynau 'r ddaear hon—
*cres.* 'Rwyt Ti 'n drech na 'r gwynt a'r storom!—
Hwylia eiddil llesg yn mlaen,
Gyda 'r awel deneu, effro,
O Galfaria, fel o'r blaen! C. E.

*mf* Na fydd, Arglwydd! fel pererin.
F'ai 'n ymdeithio yn y tir—
Yn lletya dim ond noswaith,
A myn'd ymaith amser hir:
Pam y byddi fel yn synu,
Neu ŵr cryf, heb achub dim?
*cres.* Cymer d' allu anorchfygol,
Noetha eto 'th gleddyf llym!

*mf* Hen agorwr beddau llygredd!
Codwr meirw! tyr'd yn mlaen;
Chwytha yn yr udgorn arian—
Concra drwy 'r efengyl lân!
*f* Mae rhyw nerthoedd yn dy enw,
Mae dy Ysbryd fel y tân—
Rhwyga'r dŵr, a llysg y rhwystrau,
Fel y fflamiau 'n myn'd yn mlaen!
J. H., M.

## 937 *Cyfiawnder Crist.*

*mf* O! GYFIAWNDER pur tragwyddol!
O! gyfiawnder maith didrai!
Rhaid i'm henaid noeth, newynog,
Gael yn fuan dy fwynhau:
*cres.* Rho dy wisg ddysgleirwen oleu,
Cuddia 'm noethni hyd y llawr,
Fel nad ofnwyf mwy ymddangos
Fyth o flaen dy orsedd fawr. W.W

# ALEXANDER. M. 8.7. D.

J. ROBERTS, Aberdar, 1821.

*Doh* C. M. 44. *D.C.*

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| L :m' | r' :m' | d'.t :l.t | d' :t | M' :d' | r' :m'.r' | d' :t | l :— | M' :m' | r' :r' |
| M :l | f :m | m :l | l :se | S :f | f :m.f | m :r | d :— | D :s | s :s |
| D' :d' | t :t | l :d' | m' :m' | M' :l | l.se :l | l :se | l :— | S :d' | d' :t |
| L :l | l :se | l :f | m :m | D :f | t, :d.r | m :m | l, :— | D :m | s :s, |

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| d' :d' | t :t | L :m'.r' | d' :d' | r' :r' | m' :— | M' :d' | t :d'.r' | m' :m' | r'.d' :t |
| m :m | m :m | D :m | m :l | l :l | se :— | S :s | s :s | s :s | s .fe :s |
| l :l | l :se | L :se | l :m' | l :l | t :— | D' :d' | r' :d'.t | d' :d' | r' :r' |
| l, :d | m :m | F :m | l :l.s | f :f | m :— | D.r :m.f | s :m.r | d :d' | t .l :s |

:||:

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| t :t | d' :d' | r' :m'.r' | d' :t | M' :d' | r' :m'.r' | d' :t | l :— |
| m :m | m :m | f :m.f | m :m | M :l | l.se :l | l :se | l :— |
| m' :se | l :l | l.se :l | l :se | L :d' | f' :m'.f' | m' :-.r' | d' :— |
| se :m | l :l, | t, :d.r | m :m | D :f | t, :d.r | m :m | l, :— |

## 938 *Erfyn goleuni ar y fordaith.*

*mf* O! IACHAWDWR pechaduriaid!
Sydd â'r gallu yn dy law;
Rho oleuni, hwylia'm henaid
Dros y cefnfor garw draw;
*cres.* Gad i'r wawr fod ar fy ngwyneb,
Rho fy enaid llesg yn rhydd,
Nes i'r heulwen ddysglaer godi,
Tywys fi â'r seren ddydd.

W. W.

## 939 *Ochenaid at Dduw.*

*mp* ETO unwaith mi ddyrchafaf
Fy ochenaid tua'r nef,
Ac a wylaf ddagrau'n hidl
Am ei bresenoldeb Ef:
*mf* Pwy a ŵyr na chaf fy ngwrando
Gan Dywysog mawr y nen,
Ac na ddaw fy nymuniadau
Trist, hiraethlawn, oll i ben?

*mf* Fel y rhed llifogydd mawrion,
Fel y chwyth yr awel gref,
Felly bydded fy ngriddfanau
Yn dyrchafu tua'r nef:
*cres.* Gwn, fy Nuw! nas gelli atal,
Gwn nas gelli roi nacâd
O un fendith îs y nefoedd
Ag sydd imi er lleshad.

W. W.

## 940 *Neb ond Crist yn angeu.*

*mf* NID oes genyf ond dy hunan
Yn arweinydd ffyddlon im',
Tan dy gysgod mae fy noddfa
Yn y'stormydd mwya'u grym;
*cres.* Cadw'm golwg tua'r hafan,
Lle mae'm tynfa, doed a ddel—
Tiroedd hyfryd yr addewid—
*f* Gwlad yn llifo o laeth a mêl.

M. R.

*mf* Yn y dyfroedd mawr a'r tònau
Nid oes neb a ddeil fy mhen,
Ond fy anwyl Briod Iesu,
'Rhwn fu farw ar y pren;
*f* Cyfaill yw yn afon angeu,
Ddeil fy mhen yn uwch na'r dón
Golwg arno wna i mi ganu
Yn yr afon ddofn hon.

D. W.

## DINIWEIDRWYDD. M. 8.7. D.

Alaw Gymreig.

*Doh* G. M. 72. *D.C.*

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| M :-:r | d :-:l, | r :—:d | r :m :- | F :-:m.r | m :-:r | d :-:t, | l, :-:- |
| L, :-:l,.se, | l, :-:l, | l, :se, :l, | l, :se, :- | L, :-:l, | l, :-:l, | l, :-:se, | l, :-:- |
| D :-:m | m :-:m | r :—:m | r :t, :- | R :-:f | m :-:f | m :-:r | d :-:- |
| L, :-:l, | l, :-:d | t, :—:l,.s, | f, :m, :- | R, :-:r | d :-:r | m :-:m, | l, :-:- |

D.t. f.G. *D.C.*

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| (m)L :—:t | d' :—:l | r' :—:d' | t :l :— | L :—:t | d' :—:l | t :—:se | (l)m :—:— |
| (t,)M :—:m | m :—:f | f :—:m | m.r :d :— | M :—:m | m :—:f | f :—:m | (m)t, :—:— |
| (m)L :—:se | l :—:l | l :—:l | se :l :— | L :—:se | l :—:d' | r' :—:t | (d')s :—:— |
| (s,)D :—:m | l :—:f | r :—:l, | m :l, :— | D :—:m | l :—:f | r :—:m | (l,)m, :—:— |

### 941 *Llwyddiant y Gair.*

*mf* ARGLWYDD! rhwyga'r nef, a dis- [gyn
 O'r uchelder purwyn fry,
Fel y toddo'r holl fynyddoedd
 Rhyngom sydd a'th wyneb cu;
*cres.* Esgyrn sychion, gwel eu hamledd,
 Oll mewn camwedd meirw ynt,
*f* Tyred, anadl! 'nawr a chwytha
 'N gryf oddiwrth y pedwar gwynt.

*mf* Gwna dy air fel cledd dau finiog,
 Dòro'n rhywiog ar bob tu,
Rhwng pechadur a'i bechodau—
 Dirfawr eisieu'th gymorth sy';
*cres.* Gordd y gair ar graig y galon,
 Ddryllio greulon faglau'r fall,
*f* Udgorn floedd y Brenin roddo
 Ryddid gwell i bawb heb ball.

*mf* Todded gwres athrawiaeth Alpha
 Farwol oerni 'r galon ddu;
Rhwyd efengyl ddalio 'i llonaid,
 Pechaduriaid gredo 'n llu;
*cres.* Llais y durtur lon~ 'r dyrfa,
 Gwenau 'r nef... dros y byd,
Teulu Salem wrth y delyn—
*f* Iesu 'n cael y mawl i gyd.

GOMER.

### 942 *Duw a digon.*

*f* O! AM nerth i dreulio'm dyddiau
 Yn nghynteddau tŷ fy Nhad;
Byw yn nghanol y goleuni,
 A'r tywyllwch dan fy nhraed;
*cres.* Byw heb fachlud haul un amser.
 Byw heb gwmwl, byw heb boen,
Byw ar gariad anorchfygol,
 Iesu'r croeshoeliedig Oen.

*mf* Dyro olwg ar dy haeddiant—
 Golwg ar dy deyrnas rad,
Brynwyd imi, ac a seliwyd—
 Seliwyd imi â dy waed;
*cres.* Rho i mi gyrchu tuag ati,
 Peidio byth a llwfrhau:
*f* Ar fy nhaith ni cheisiaf genyt,
 Ond yn unig dy fwynhau.

W. W.

### 943 *Ymholiad difrifol.*

*p* COFIA, f'enaid! cyn it' dreulio
 D' oriau gwerthfawr yn y byd,
Cyn it' hedeg, ffwrdd oddi yma,
 P' un a gest ti 'r trysor drud?
Yn mha ardal bydd dy lety?
 Fath bryd hyny fydd dy wedd?
P' un ai llawen ai cystuddiol
 Fyddi 'r ochr draw i'r bedd?

*mp* Mae 'nghyfeillion wedi myned
 Draw yn lluoedd o fy mlaen,
Rhai fu'n teithio dyffryn Baca
 Gyda mi i Salem lân:
Yn y dyffryn tywyll, garw,
*cres.* Ffydd i'r lan a'u daliodd hwy;
Mae'r addewid lawn i minau;
*mf* Pa'm yr ofna'm henaid mwy?

W. W.

944 *Dechreu Oedfa.*

*mf* DISGYN, Iôr! a rhwyga'r nefoedd
Tywallt Ysbryd gras i lawr,
Disgyn fel y toddo 'r bryniau,
Dïosg fraich dy allu mawr:
*f* Rhwyga 'r lleni, ymddysgleiria
Ar dy drugareddfa lân;
Rho dy lais a'th wênau tirion—
Achub bentewynion tân!
*mf* Ti achubaist y rhai gwaethaf,
Annheilyngaf a fu 'n bod,
*cres.* Achub eto—achub yma—
Achub finau er dy glod!
*f* Ti gei 'r mawl pan danio 'r ddaear,
A phan syrthio sêr y nen;
*cres.* Ti gei 'r enw yn dragwyddol—
*ff* Ti gei 'r goron ar dy ben! AN.

945 *Bedydd.*

*mf* ARGLWYDD! dyro yn y Bedydd
Olwg eglur ar dy wedd;
Gad i'm ffydd ymaflyd ynot
Wrth fyn'd trwy y dyfrllyd fedd.
*cres.* D'wed y gair mai Ti a'm piau,
Dyro arnaf fi dy nôd;
Ac fel un o braidd dy gorlan,
I dy fynwes gad im' ddod.
*mf* O! 'r drugaredd fawr a gefais—
Dechreu 'm taith yn ol dy droed!
Ffordd y dwfr a'r gwaed ordeiniaist
Yn ffordd bywyd dyn erioed.
*cres.* Aethost Ti dy hun trwy 'r dyfroedd,
Aethost Ti dy hun trwy 'r gwaed!
Rho dy ysbryd ynof finau,
Fel dilynwyf ol dy draed. S.

946 *Yr Ysbryd Glân.*

*mf* TYRED, Ysbryd yr addewid!
O'r uchelder pur i lawr,
Yn dy ddoniau cadwedigol,
Er ail eni tyrfa fawr;
*f* Rhwyga 'r nef yn awr, a disgyn
Ar bob oedran heb wahân,
Llanw 'r byd a'r eglwys hefyd
Ag effeithiau 'r dwyfol dân.
*mf* Gweithia 'n rymus ar eneidiau,
Galw filoedd i dy dŷ;
*cres.* Gwawried bellach ar y ddaear
Hyfryd ddyddiau Jubili;
*f* Chwythed y deheuwynt nefol
Nes adfywio pawb i gyd,
Fel bo rhinwedd a sancteiddrwydd
Yn teyrnasu dros y byd. AN.

947 *Anghrediniaeth.*

*mf* ANGHREDINIAETH! gad fi 'n llonydd,
Onite mi goda 'm llef,
O'r dyfnderoedd, lle 'rwy 'n gorwedd,
Fyny 'n lân i ganol nef!
*f* Brawd sydd yno'n eiriol droswyf,
Nid wy' 'n anghof nos na dydd;
Brawd a dŷr fy holl gadwynau,
Brawd a ddaw a'r caeth yn rhydd.
*mf* 'Chydig ffydd! p'le 'rwyt ti 'n llechu?
Cymer galon, gwna dy ran,
Obaith egwan! p'le rwyt tithau?
Tyn dy gleddeu gyda'r gwan:
*f* Anghrediniaeth! cil o'r llwybr,
Phery 'r frwydr ddim yn hir;
*mp* Er mai eiddil yw fy enw,
*cres.* Eto i gyd 'rwy'n enill tir! D. W

948 *Ffoi o ddinas distryw.*

*mp* Y MAE 'r oriau yn fy ngalw
'N ddyfal beunydd i bar'toi:
Tân sy'n d'od ar ddinas distryw,
Tua Soar ceisiaf ffoi!
*cres.* Arglwydd! 'mafael ynwy'n fuan,
Onite ni ddeuaf byth—
Tra bo 'r tân yn llosgi Sodom,
Yn y bryniau gwnaf fy nyth! W.W.

949 *Cymer fi.*

*mf* ARGLWYDD grasol! gâd im' brofi
Mai'Ngwaredwr ydwyt Ti;
Maddeu'n llwyr fy holl gamweddau,
Rho i mi brawf o'th gariad cu;
*cres.* Dyro'th Ysbryd i'm dyddanu,
Dyro'th Ysbryd i'm glanhau;
Cymer feddiant llwyr o honof,
Dedwydd fyddaf i barhau. AN.

950 *Gwagder y Byd.*

*mf* O FY enaid! dring i fyny,
Allan o'r anialwch mawr;
Esgyn fry, i fynydd Nebo—
Pam y glyni wrth y llawr?
*cres.* Ti gei yno olwg hyfryd
Ar y teg ardaloedd draw,
A chei brofiad dystaw, eglur,
Cei fyn'd yno maes o law.
*mf* Ti gei wel'd dy hen gyfeillion,
Fu 'n cyd-deithio 'r anial wlad,
Yno 'n gwledda mewn llawenydd,
Ac yn no[illegible] mewn mwynhâd;
*cres.* Aden ffydd a golwg i tithau
Friwsion o'u danteithion hwy,
Nes dy lenwi â dymuniad
Am gael gwledda arnynt mwy.
*mp* Beth yw holl bleserau 'r ddaear,
Beth yw holl deganau 'r byd,
I greadur sydd i farw?
Twyll a gwagedd y'nt i gyd!
*f* Iesu, a'i haeddiant!—dyna drysor
Leinw f' enaid a phob dawn!
Dyged angeu bob peth daear—
Byddaf yn gyfoethog iawn!
D. E., T.



U

## GORPHWYSFA. M. 8.7. D.

*Doh* G. M. 56. J. H Roberts, Mus. Bac., 1877.

```
L,:t,  |d  :t,  |l,.t,:d.r|m  :m  |F  :m.r |m  :l,     |r  :d    |t,  :—
M,:f,  |m, :se, |l,  :l,  |l, :se,|L, :s,  |s, :l,     |t, :l,   |se, :—
D :r   |d  :m.r |d   :l,  |t, :t, |R  :t,  |d  :d      |f  :m    |m   :—
L,:l,.se,|l, :m,|f,  :f,  |m, :m, |R, :s,  |d, :f,     |r, :l,   |m,  :—

L,:t,  |d  :l,  |l,.t,:d.r|m  :m  |S  :l   |s  :m      |d  :r    |m   :—
M,:f,  |m, :se, |l,  :l,  |l, :se,|S, :f,  |r  :s,     |l, :l,   |se, :—
D :r   |d  :m.r |d   :l,  |t, :m  |M  :d   |t, :d      |m  :l,   |t,  :—
L,:l,.se,|l, :m,|f,  :f,  |m, :m, |D, :f,  |s, :d      |l, :f,   |m,  :—

T, :m  |m  :-.r |r   :d   |d  :t, |T, :m   |m  :r      |r  :d    |t,  :—
Se,:-.se,|l, :se,|t, :l,  |l, :se,|Se,:-.se,|l, :se,.l,|t, :l,   |se, :—
M :-.r |d  :t,  |se, :l,.d|m  :m  |M  :m   |m  :m      |m  :m.re |m   :—
M,:-.m,|m, :m,  |m,  :m,  |m, :m, |M  :-.r |d  :t,.l,  |se,:l,   |m,  :—

L, :t, |d  :t,  |l,.t,:d.r|m  :m  |L  :m   |s  :m.r    |d  :t,   |l,  :—
L, :se,|l, :se, |l,  :l,  |l, :se,|L, :d   |r  :d.t,   |l, :se,  |l,  :—
D  :m  |m  :r   |m   :m   |m  :m  |M  :l   |s  :l.f    |m  :m.r  |d   :—
F, :m, |l, :t,  |d   :l,  |m, :m.r|D  :l,  |t, :d.r    |m  :m,   |l,  :—
```

### 951 *Trigfan Duw yn Seion.*

*mf* GOSOD babell yn ngwlad Gosen,
Tyred, Arglwydd! yno'th hun;
Disgyn o'r uchelder goleu,
Gwna dy drigfa gyda dyn;
*cres.* Trig yn Seion, aros yno,
Lle mae'r llwythau'n dod yn nghyd;
Byth na 'mad oddiwrth dy bobl,
Nes yn ulw'r elo'r byd.

*mp* Blinais ar afonydd Babel,
Nid oes yno ond wylo i gyd;
*cres.* Swn telynau hyfryd Seion,
Sydd yn cyson ddwyn fy mryd;
*mf* Tyr'd â ni yn dorf gariadus,
O gaethiwed Babel fawr;
*cres.* Ac nes b'om ar fynydd Seion,
N'ad ni orphwys mynyd awr.

W. W.

### 952 *Holltau'r Graig.*

*mf* GAD im' dreulio f' oriau Arglwydd!
Tra bwyf yn yr anial fyd,
Dan dy gysgod yn ddiogel—
Dyma noddfa dawel, glyd:
Rhedeg mwy yn mhob rhyw drallod,
Wnaf i fynwes Had y wraig,
*cres.* Hyd nes elo'r aflwydd heibio,
*f* Llechu wnaf yn 'holltau'r Graig.'

*mf* Pan fo stormydd mawr yn codi,
Ac yn curo f' enaid gwan;
Yma bellach trof fy ngwyneb,
Dyma'r unig dawel fan;
Pan y toddo'r holl elfenau,
Ac y berwo tonau'r aig;
*cres.* Pan fo anian yn ymddryllio,
*f* Canaf finau'n 'holltau'r Graig."

S. R

### 953 *Daeth yr awr.*

*mf* COFIO'R wyf yr awr ryfeddol—
Awr wirfoddol oedd i fod;
Awr a nodwyd cyn bod Eden,
Awr a'i dyben wedi dod:
*mp* Awr wynebu âg un Aberth,
Awr fy Nuw i wirio'i nerth:
*cres.* Hen awr anwyl prynu 'r enaid!
*f* Awr y gwaed, pwy wyr ei gwerth?

A. G. M.

## PRYDAIN. M. 8.7. D.

Dok A♭. M. 80. Trefnwyd gan J. H. ROBERTS, Mus. Bac., 1889.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| M :— :m | m :— :m | d :— :d | r :t, :— | L, :— :t, | d :— :m |
| L, :— :d | d :— :t, | m, :— :l, | l, :se, :— | L, :— :f, | s, :— :d |
| D :— :m | m :— :m | m :d :l, | f :m :— | D :— :r | d :— :s |
| L, :— :l, | se, :— :se, | l, :— :f, | r, :m, :— | F, :— :r, | m, :— :d, |

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| r :—:d | t, :—:— ‖ | M :— :m | m :— :m | d :— :d | r :t, :— |
| l, :—:l, | se, :—:— ‖ | M, :— :l, | se, :— :t, | l, :— :l, | l, :se, :— |
| f :—:m.re | m :—:— ‖ | M :— :m | m :— :m | m :— :f | f :m :— |
| r, :—:l, | m, :—:— ‖ | M, :— :d | t, :— :se, | l, :-.s, :f,.m, | r, :m, :— |

E♭.t.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| L, :— :t, | d :— :m | r :— :d | t, :—:— ‖ | mL :— :d' | t :— :d' |
| L, :— :se, | l, :— :l, | l, :se, :l, | se, :—:— ‖ | s,D :— :d | r :— :d |
| D :— :m | m :— :d | r :— :m | m :—:— ‖ | mL :— :s | f :— :s |
| F, :— :m, | l, :— :l, | t, :— :d.r | m :—:— ‖ | dF :— :m | r :— :m |

f.A♭.

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| f :—:f | s :m :— | D' :—:t | d' :— :l.s | f :—:s | mt, :—:— ‖ | D :—:r |
| r :—:r | r :d :— | D :—:r | m :f.s :d | r :—:r | ds, :—:— ‖ | S, :—:s, |
| l :—:la | s :s :— | F :—:f | s :— :f.s | l.s :l :t | d's :—:— ‖ | D :—:t, |
| r :—:d | t, :d :— | L, :—:r | d :r.m :f.m | r :—:s, | ds, :—:— ‖ | M, :—:s, |

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| m :—:m | l :— :l | s :m :— | D :— :l, | d :— :t, | l, :—:se, | l, :—:— ‖ |
| s, :—:d | d :— :d | d :d :— | D :— :l, | l, :-.s, :f, | m, :—:r, | d, :—:— ‖ |
| d :-.r :m.s | f :d :f | m :s :— | D :— :l, | m :f.m :r | d :—:t, | l, :—:— ‖ |
| d :— :d | f, :-.s, :l,.t, | d :d :— | D :— :l, | d, :— :r, | m, :—:m, | l2 :—:— ‖ |

### 954 *Seren Bethlehem.*

*mp* UNWAITH, hwyliais ar y cefnfor,
'Storm yn gerth, a'r nos yn ddu;
Minau heb na llyw, nac angor,
Nerth, na gobaith, o un tu;
Pob rhyw ddyfais wedi pallu,
Dim ond soddi yn fy nhrem!—
*cres.* Ar fy ing cyfododd Seren—
*mf* Hon oedd Seren Bethlehem!

*mf* Bu yn lamp arweiniol imi,
Lladdodd ofn y dyfrllyd fedd,
Ac o erchyll safn y weilgi
Dyg fi i borthladd tawel hedd.
*f* 'Nawr mae'n deg, a minau 'n canu,—
F'achub o'r ystorom lem;—
*cres.* Canaf pan bo'r byd yn ffaglu—
Seren!—Seren Bethlehem!

KIRKE WHITE—CYF.

### 955 *Hiraeth am yr hen brofiadau.*

*mp* P'LE mae 'r hen awelon hyfryd
Deimlais gynt wrth daro i maes?
P'le mae 'r hen brofiadau melus
Gefais gynt wrth orsedd gras?
*cres.* P'le mae 'r sêl a'r cariad cyntaf?
P'le mae 'r mawl a dyblu 'r gân?
P'le mae 'r sŵn seraphaidd nefol
Oedd yn denu 'mryd yn lân?

*mf* O! fy Nuw, a'm tirion Arglwydd!
Rho 'r cawodydd pur i lawr,
I ireiddio f' eiddil ysbryd,
Sydd yn sychlyd iawn yn awr:
*cres.* Dyro 'r dylanwadau nefol,
Enyn bob rhyw ddwyfol ddawn;
*f* Rho dy gariad a'th ymgeledd,
Difa 'r llygredd sy' ynwy'n llawn.

W. W.

*Doh* C. M. 48. J. A. Lloyd, 1815—1874.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| L :l .t | d' :t .l | se :l | t :m | L :se .l | t :l .t |
| D :d .r | m :f | m :m .re | m :t, | D .m :r .d | r .f :m .r |
| L :l | l .m' :r' .d' | t :l | se :se | L :t .d' | t :m .f |
| L :l | l :r | m :f | m :m .r | D :t, .l, | r :d .r |

*D.C.*

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| d' :t | l :— | D' :d' .r' | m' :d' | t :d' | r' :t |
| d .m :- .r | d :— | M :m | m :m | m :m | f :m .r |
| m .l :- .se | l :— | L :d' | t :l | se :l | l :se |
| m :m | l, :— | L :l | se :l | m :l, | r :m |

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| L :l .t | d' .r' :m' | r' :d' | t :— | M' :m' .r' | d' :t |
| D .r :m | m :m | f :m | m :— | M :m | m :se |
| L .t :d' .r' | m' :l | l :l | se :— | L :se | l :t |
| L, :l, | l :d | r :l, | m :— | D :m | l :m .r |

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| l :se .l | t :m | L :se .l | t :l .t | d' :t | l :— |
| l .m :m | se :m | M :r .d | r .f :m .r | d .m :- .r | d :— |
| d' .m' :r' .d' | t :se | L :t .d' | t :m .f | m .l :- .se | l :— |
| d :t, .l, | m :m .r | D :t, .l, | r :d .r | m :m | l, :— |

**956** *Llef am wirionedd.*

*mf* AM wirionedd boed ein llafur,
Am wirionedd boed ein llef;
Dim ni thycia ond gwirionedd,
O flaen gorsedd bur y nef;
*cres.* Gwir wrth fyw, a gwir wrth farw,
Fydd yn elw mwy na'r byd ;
Arglwydd grasol ! o'th drugaredd,
Rho wirionedd ini i gyd. An.

**957** *Llwyddiant y Gwirionedd.*

*mf* ARGLWYDD grasol! rho dy fendith
Arnom megys gwlith a gwlaw ;
Dy wirionedd anwyl fyddo
Eto'n llwyddo yn ol llaw :
*cres.* Y gwirionedd draethwyd heddyw,
A gyfodo feirw o fedd ;
*f* Iesu fo yn cael gogoniant,
Am ei haeddiant mawr a'i hedd.

*mp* Arglwydd ! llanw ein heneidiau
O drysorau grasau'r groes ,
Dysg ni garu'r Arglwydd Iesu,
A molianu 'r Hwn a'i rhoes ;
*cres.* Cestyll Satan fyddo'n syrthio,
Iesu'n llwyddo yn mhob lle ;
*f* Myrdd o filoedd fo'n diengyd,
Eto am fywyd ato 'Fe. R. J.

**958** *Deisyf grym i garu Crist.*

*mf* O! AM deimlo'th gariad, Iesu !
Yn ein tynu at dy waith ;
Cariad cryf i gadw'th eiriau,
Nes terfyno angeu'n taith ;
*cres.* Cariad fwrio ofnau allan—
Drygau cedyrn rhagddo'n ffoi,
*f* Fel nas medro gallu'r fagddu
Beri ini'n ol i droi.

*mf* Enyn ynom fflam angerddol
O rywogaeth nefol dân,
Fel y gallom ddweyd yn hylwydd,
'Gwyddost bobpeth, Arglwydd glân !—
*cres.* Gwyddost ein bod yn dy garu ;'
O ! am fedru caru'n fwy ;
*f* Caru fel trigolion gwynfyd—
Caru'n hyfryd megys hwy. Gomfr.

Rhif 257. PRYSGOL. M. 8.7. D. (Afreolaidd.)

*Doh* B♭. M. 69. W. OWEN, Prysgol.

D :d .$s_1$ | $l_1$ :$s_1$ | d :r | m :d | R :r .d | $t_1$ :d | $t_1$ :$l_1$ | $s_1$ :— ||
$M_1$ :$m_1$.$m_1$ | $f_1$ :$m_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$m_1$ | $S_1$ :$s_1$.$fe_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$fe_1$ | $m_1$ :— ||
$S_1$ :$s_1$.d | d :d | d :$t_1$ | d :$s_1$ | $T_1$ :$t_1$.$l_1$ | $s_1$ :m | r :d | $t_1$ :— ||
$D_1$ :$d_1$.$d_1$ | $f_1$ :$d_1$ | $m_1$ :$s_1$ | d :$d_1$ | $S_1$ :$s_1$.$r_1$ | $m_1$ :$d_1$ | $r_1$ :$r_1$ | $m_1$ :— ||

D :d .$s_1$ | $l_1$ :$s_1$ | d :r | m :f | M :m .r | d :r | d :$t_1$ | d :— ||
$M_1$ :$m_1$.$m_1$ | $f_1$ :$m_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $S_1$ :$s_1$.$f_1$ | $m_1$ :$f_1$ | $m_1$ :$r_1$ | $m_1$ :— ||
$S_1$ :$s_1$.d | d :d | d :$t_1$ | d :r | D :d .$t_1$ | d :$l_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :— ||
$D_1$ :$d_1$.$d_1$ | $f_1$ :$d_1$ | $m_1$ :$s_1$ | d :$t_1$ | D :d .$s_1$ | $l_1$ :$f_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $d_1$ :— ||

R :r .,m | r :$t_1$ | r :r.,m | r :$t_1$ | M :m .,f | m :r | d :$t_1$ | $l_1$ :— ||
$S_1$ :$fe_1$.$fe_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $t_1$ :$l_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $S_1$ :$s_1$.$s_1$ | $s_1$ :$f_1$ | $m_1$ :$m_1$.$r_1$ | $d_1$ :— ||
$T_1$ :$l_1$ .$l_1$ | $t_1$ :r | s :fe | s :r | D :d .d | d :$l_1$ | $l_1$ :$se_1$ | $l_1$ :— ||
$S_1$ :$r_1$ .$r_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :r | $t_1$ :$s_1$ | $D_1$ :$d_1$.$d_1$ | $d_1$ :$r_1$ | $m_1$ :$m_1$ | $l_1$ :— ||

D :d .$s_1$ | $l_1$ :$s_1$ | d :r | m :f | M :m .r | d :r | d :$t_1$ | d :— ||
$M_1$ :$m_1$.$m_1$ | $f_1$ :$m_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $S_1$ :$s_1$.$f_1$ | $m_1$ :$f_1$ | $m_1$ :$r_1$ | $m_1$ :— ||
$S_1$ :$s_1$.d | d :d | d :$t_1$ | d :r | D :d .$t_1$ | d :$l_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :— ||
$M_1$ :$d_1$.$d_1$ | $f_1$ :$d_1$ | $m_1$ :$s_1$ | d :$t_1$ | D :d .$s_1$ | $l_1$ :$f_1$ | $s_1$ :$s_2$ | $d_1$ :— ||

**959** *Dyfnderoedd Iachawdwriaeth.*

*mf* BYDD melus gofio y cyfamod
Draw a wnaed gan Dri yn un;
*cres.* Tragwyddol syllir ar y Person
A gym'rodd arno natur dyn;
Wrth gyflawni yr amodau,
*mp* Trist hyd angeu 'i enaid oedd:
*f* Dyma gân y saith ugeinmil
Tu draw i'r llen â llawen floedd.

*mp* Fy enaid trist, (*cres.*) wrth gofio 'r [taliad,
Yn llamu o lawenydd sydd;
Gweled y ddeddf yn anrhydeddus,
A'r pechadur brwnt yn rhydd;
*mp* Rhoi Awdwr bywyd i farwolaeth,
A chladdu 'r Adgyfodiad mawr;
*mf cres.* A dwyn i mewn dragwyddol heddwch
Rhwng nef y nef a daear lawr!

A. G.

**960** *Efe yw yr Iawn.*

*mp* EFE yw 'r Iawn fu rhwng y lladron,
Dyoddefodd yno angeu loes;
Nerthodd freichiau ei ddïenyddwyr,
I'w hoelio 'n greulon ar y groes;
*cres.* Wrth dalu dyled pechaduriaid,
Ac anrhydeddu deddf ei Dad,
*f* Cyfiawnder oedd yn hardd ddysgleirio,
A minau 'n rhydd trwy 'r cymod rhad.

*mp* Fy enaid! gwêl y fan gorweddodd
Pen brenhinoedd, Awdwr hedd!
Y greadigaeth ynddo 'n symud,
Yntau 'n farw yn y bedd!
Rhan a bywyd colledigion,
Rhyfeddod holl angylion nef!
*cres.* Gwel'd Duw mewn cnawd, a'i gydaddoli,
*f* Mae 'r côr yn gwaeddi, (*ff*) 'Iddo Ef!'

A. G.

## Rhif 258. NODDFA. M. 8.7. D. (Afreolaidd.)

*Doh* **F.** M. 56. HUGH JONES, Caernarvon.

```
M :m.r |f :m |r :r |m :d |M :f .s |l :s |f :m |r :— ||
D :d.r |d :d |d :t, |d :s, |D :d .d |d :t, |l,.s,:s,.l, |t, :— ||
S :s.s |d :s |l :s |s :m |S :f .m |f :r |d .r :m .fe |s :— ||
D :d.t, |l, :s, |f, :s, |d :d |D.t,:l,.s, |f, :s, |l,.t,:d |s, :— ||

D :d .r |m :l |s :f |f :m |M :r .d |r :s |s :fe |s :— ||
S, :l,.t, |d :d |d :d.t, |l,.s,:s, |D :t,.l, |s, :s, |d :d |t, :— ||
M :m .s |s :f |m :r |d .r :d |S :s .fe |s :m |m :r |r :— ||
D :l,.s, |d :f, |s, :s, |l,.t,:d |D :s,.l, |t, :d |l, :r |s, :— ||

S :f .m |l :d' |t :l |s :m |D :r .m |f :m |r :r |m :— ||
D :d .d |d :d |m :f |m :d |D :t,.d |s,.d :d.t, |l, :l, |t, :— ||
M :l .s |f :m |s :l .t |d' :s |L.s:f .m |r .d :m |l :l |se :— ||
D :d .d |d :m |d :d |d :d |F.m:r .d |t,.l,:s, |f, :f, |m, :— ||

L :l.t |d' :t .l |s :s .f |m :r |D :r .m |f :m |r :r |d :— ||
M :m.m |m :r |r :t, |d :t, |D :t,.d |d .s,:s,.d |d :t, |d :— ||
L :l.se |l :f |s :s |s :s |S :f .m |d .r :m .s |l :s .f |m :— ||
D :d.t, |l, :r |t, :s, |d :s, |M :r .d |l,.t,:d |f, :s, |d :— ||
```

### 961 *Haeddiant Crist.*

*mp* PECHADUR aflan yw fy enw,
O ba rai y pena'n fyw;
Rhyfeddaf byth! fe drefnwyd pabell
Im' gael yn dawel gwrdd â Duw:
*mf* Yno y mae yn llon'd ei gyfraith
I'r troseddwr i gael gwledd;
*cres.* Duw a dyn yn gwaeddi, Digon!
Yn yr Iesu, yr aberth hedd.

*mf* Anturiaf ato yn hyderus,
Teyrnwialen aur sydd yn ei law;
Estyniad hon sydd at bechadur,
Ni wrthodir neb a ddaw:
Af yn mlaen dan waeddi, Pechais!
Af, a chwympaf wrth ei draed,
*cres.* Am faddeuant, am fy ngolchi,
Am fy nghânu yn y gwaed.

A. G.

### 962 *Dymuniad am Sancteiddrwydd.*

*mp* LLWYBR cwbl groes i natur
Yw fy llafur yn y byd;
Ei deithio wnaf, er hyny 'n dawel,
Ond imi gael dy wyneb pryd;
*cres.* Codi 'r groes, a'i chyfri'n goron,
Mewn gorthrymderau, llawen fyw;
Ffordd union, er mor arw,
I'r ddinas gyfaneddol yw.

*mf* Mae fy nghalon am ymadael
A phob eilunod, fach a mawr,
Am fod arni 'n argraphedig
Ddelw gwrthddrych uwch y llawr,
*f* Anfeidrol deilwng i'w addoli,
Ei garu a'i barchu yn y byd:
Bywyd myrdd, o safn marwolaeth,
A gafwyd yn ei angeu drud.

A. G.

**963** *Ffyddlondeb Duw i'w Eglwys.*

*mf* COFIA, Arglwydd! dy ddyweddi,
Llama ati fel yr hydd;
Ac na âd i'w holl elynion
Arni 'n hollol gael y dydd:
*cres.* O! dadguddia y colofnau
Wnaed i'w chynal yn y nos—
*mf* Addewidion diamodol
Duw, (*p*) ar gyfrif gwaed y groes!

*mf* Mae bod yn fyw yn fawr ryfeddod
Mewn ffwrneisiau sydd mor boeth;
*cres.* Ond mwy rhyfeddod, wedi 'mhrofi,
Y dof o'r cystudd fel aur coeth:
*mf* Amser cânu, diwrnod nithio—
Eto 'n dawel heb ddim braw!
*f* Y Gŵr sydd imi yn ymguddfa
Sydd â'r wyntyll yn ei law!

*mf* Perarogli mae fy nardus,
Wrth wledda ar y cariad rhad;
Sel yn tanio 'n erbyn pechod—
Caru delw sancteiddhâd:
Tynu ymaith law a llygad,
Ynghyd âg uchel drem i lawr:
*cres.* Neb yn deilwng o'i ddyrchafu,
*f* Ond fy Iesu—Frenin mawr! A. G.

**964** *Adfeiliad Seion.*

*mp* O! NA bai fy mhen yn ddyfroedd,
Fel yr wylwn yn ddidrai,
Am fod Seion, lu banerog,
Yn ngwres y dydd yn llwfrhau!
Mae 'r llwynogod ynddi 'n trigo,
I ddifwyno 'r egin grawn;
A'r Seceina yn ymadaw
O foreuddydd hyd brydnawn!

*mf* Deffro, Arglwydd! gwna rymusder;
Cofia lŵ 'r cyfamod hedd!
Gwêl dy enw mawr dan orchudd—
Y tystion sydd yn wael eu gwedd:
*cres.* Dywed air a'u cwyd i fyny,
Ti yw 'r Adgyfodiad mawr!
Argraphiadau d' enw newydd
Ddysgleirio arnynt fel y wawr.
A. G.

**965** *Dyfroedd yr Iachawdwriaeth.*

*mf* O! RHWYGA 'r tew gymylau duon,
Sy'n cuddio gwedd dy wyneb gwiw:
Nid oes bleser a'm dyddana
Ond yn unig Ti, fy Nuw!
*cres.* Môr didrai o bob trugaredd
Yw 'th iachawdwriaeth fawr ei dawn,
A lanwodd ac a lifodd allan
Ar Galfaria un prydnawn.

*mf* O! am yfed yma beunydd
O ffrydiau 'r iachawdwriaeth fawr,
Nes fy nghwbl ddisychedu
Am ddarfodedig bethau 'r llawr;
*cres.* Byw dan ddysgwyl am fy Arglwydd,
Bod pan ddelo 'n effro iawn
I agoryd iddo 'n ebrwydd,
A mwynhau ei ddelw 'n llawn.

*mf* Ffrydiau tawel, byw, rhedegog,
O dan riniog tŷ fy Nuw,
Sydd yn llanw, ac yn llifo,
O fendithion o bob rhyw—
*cres.* Dyfroedd gloyw fel y grisial,
I olchi 'r euog, nerthu 'r gwan,
*f* Ac i gânu'r Ethiop duaf
Fel yr eira yn y man. A. G.

**966** *Y Gobaith gwynfydedig.*

*mf* OS rhaid wynebu 'r afon donog,
Mae un i dori grym y lli'—
Iesu! f' Archoffeiriad ffyddlawn!
Dyna ddigon byth i mi!
*cres.* Yn ei waed caf waeddi, 'Concwest
Ar angeu, uffern, byd, a'r bedd!'
*f* A thragwyddoldeb i'w glodfori,
Yn ogoneddus ar ei wedd.

*mf* Yno caf ddyrchafu 'r Person
A osododd Duw yn Iawn,
Heb ddychymyg, llen, na gorchudd—
Am henaid ar ei ddelw 'n llawn,
*f* Yn nghymdeithas y dirgelwch
Dadguddiedig yn ei glwy'—
Addoli 'r Mab i dragwyddoldeb,
Heb golli 'ngolwg arno mwy!
A. G.

**967** *Ymgais y Cristion.*

*mf* PAN fo'm henaid fwyaf gwresog,
Yn tanllyd garu 'n fwyaf byw,
Y mae 'r pryd hyny 'n fyr o gyrhaedd
Perffaith sanctaidd gyfraith Duw:
*cres.* O! am nerth i'w hanrhydeddu,
Trwy dderbyn iachawdwriaeth rad,
*mp* A'r cymundeb mwyaf diddig,
Yn hyfryd felus yn y gwaed!

*mf* Addurna 'm henaid â dy ddelw,
Gwna fi 'n ddychryn yn dy law
I uffern, llygredd, a chnawdolrwydd,
Wrth edrych arnaf yma a thraw;
*f* O! am gymdeithasu â'r enw!
Enaint tywalltedig yw,
Yn halltu 'r byd, gan berarogli
O hawddgar ddoniau Crist, fy Nuw.
A. G.

## Rhif 259. DIES IRÆ. M. 8 au. 3 llin.

*Doh* **F.** M. 66. Dr. F. Hiller, 1811—1885.

| L :-.l | s :-.s | r :m | f :— | m :— | L :-.l | s :-.s |
| L :-.l | s :-.s | r :m | f :— | m :— | D :-.d | t, :-.t, |
| L :-.l | s :-.s | r :m | f :— | m :— | M :-.m | m :-.m |
| L, :-.l, | s, :-.s, | r, :m, | f, :— | m, :— | L, :-.l, | m, :-.m, |

*D.C.*

| r :m | f :— | m :— | T :-.l | s :m | d :r | t, :— | l, :— ||
| t, :t, | l, :— | se, :— | T, :-.t, | d :s, | l, :l, | l, :se, | l, :— ||
| t, :t, | r :d | t, :— | R :-.r | m :d | f :r | m :r | d :— ||
| s, :s, | r, :— | m, :— | F, :-.f, | m, :m, | l, :f, | m, :— | l, :— ||

*p* M. 66. *cres.*

| R :-.r | r .,r :r .,ma | ma :— | r :— | M :-.m | m .,m :m .,f |
| T, :-.t, | t, .,t, :t, .,d | d :— | t, :— | D :-.d | d .,d :d .,d |
O! o'r fath wyl-o a'r cyn- hyrf - u, Fydd pan fydd o'r meirw'n
| S :-.s | s .,s :s .,s | s :— | s :— | S :-.s | s .,s :s .,la |
| S, :-.s, | s, .,s, :s, .,d | d :— | s, :— | D :-.d | d .,d :d .,f |

*f* C.t.

| f :— | m :— | feT :-.t | t .,t :t .,d' | d' :— | t :— |
| d :— | d :— | reSe :-.se | se.,se :se.,l | l :— | se :— |
tyrf - u! Eu - og fyd at Dduw'n dy- nes - u!
| la :— | s :— | t M' :-.m' | m'.,m' :m'.,re' | re' :— | m' :— |
| f :— | d :— | t,M :-.m | m .,m :m .,l | l :— | m :— |

D.t.m. *cres.* *f* M. 60.

| de'T :-.t | t .,t :t .,d' | d' :— | t :— || D' :l | s :m |
| s F :-.f | f .,f :f .,f | f :— | f :— || M :f | m :d |
Rho dru-gar-ed O fy Ie - su! Llef - af hedd - yw
| m'R' :-.r' | r'.,r' :r'.,r' | r' :— | r' :— || D' :d' | d' :s |
| l S :-.s | s .,s :s .,la | la :— | s :— || L :f | d :m |

*mp* *dim.*

| l :-.l | se :— | D' :l | s :m | s :— | — :s | s :— | — :— ||
| d :r | m :— | M :m | d :d | r :— | — :r | m :— | — :— ||
wrth dy draed, Golch fy en - aid yn - dy waed.
| l :l | t :— | L :l | d' :d' | d' :— | t :t | d' :— | — :— ||
| f :f | m :— | L, :d | m :l | s :— | — :s | d :— | — :— ||

**968** *Dydd mawr ei ddigter Ef.*

*mf* DYDD y llid—y llid llosgedig!
Tawdd y byd yn llyn berwedig:
Pobpeth dirgel fydd weledig.

*f* Bloedd yr Udgorn a gynhyrfa
Feddau 'r byd, a chwyd y dyrfa;—
At yr Orsedd bydd eu gyrfa.

*mf* Llyfr mawr y Farn a ddygir,
Beiau 'r byd yn hwn ddadblygir,
Tynged pawb yn awr amlygir.

*f* Uwchaf Frenin! trwy'th haeddianau,
Ti achubaist fyrdd miliynau;—
Ffynon rasol! (*mp*) achub finau.

*p* Ceisiaist fi mewn dirfawr gynl,
Rhoist dy werthfawr waed i'm prynu;
*cres.* Paid, O! paid anghofio hyny.

*mf* Cedwaist Mair, y feddianedig,
*cres.* Cedwaist leidr croeshoeliedig;
*f* Rhoist i'm obaith bendigedig.

*p* Pan fo 'th wawdwyr collfarnedig
Yn cael myn'd i'r llyn llosgedig,
*mf* Dwg fi gyda 'th rai cadwedig.

*mp* Yn y llwch yr wyf yn glynu,
Griddfan 'r ydwyf yn fy nghyni;
*mf* Yn fy niwedd cwyd fi fyny.
O! 'r fath wylo, &c. Cyf. S.

 LLANTRISANT. M. 8 au. 4 llin.

*Doh* A. M. 56. Alaw Gymreig.

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| D :$t_1$ | $l_1$ :$s_1$ | d :r | m :d | M :m | m :s | f :m | r :d |
| $S_1$ :$s_1$ | $f_1$ :$m_1$ | $m_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$m_1$ | $M_1$ :$t_1$ | $l_1$ :$s_1$ | $l_1$ :$s_1$ | $f_1$ :$m_1$ |
| M :m | d :d | d :$t_1$ | d :d | D :m | d :d | d :d | $t_1$ :d |
| $D_1$ :$m_1$ | $f_1$ :$d_1$ | $l_1$ :$s_1$ | d :d | $L_1$ :$se_1$ | $l_1$ :$m_1$ | $f_1$ :$d_1$ | $s_1$ :$d_1$ |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| S :f | m :r | d :$t_1$ | $l_1$ :$s_1$ | $L_1$ :$t_1$ | d :r.m | f :m | r :d |
| D :d.$t_1$ | d :$t_1$ | $l_1$ :$s_1$ | $f_1$ :$r_1$ | $F_1$ :$s_1$ | $l_1$ :$l_1$.d | d :d | $t_1$ :d |
| M :s | s :s | m :m | d :$t_1$ | D :m | m :f.s | l :s | f :m |
| M :r | d :$s_1$ | $l_1$ :$m_1$ | $f_1$ :$s_1$ | $F_1$ :$m_1$ | $l_1$ :$f_1$.$m_1$ | $r_1$ :$m_1$.$f_1$ | $s_1$ :$d_1$ |

969 *Rhagoriaeth Crist.*

*mf* NID oes gwrthddrych ar y ddaear,
I'w gyff'lybu i'r Iesu hawddgar;
Mae trysorau ynddo'i hunan
Fwy na gwerth y byd yn gyfan.

*cres.* Enw'r Iesu yn oes oesoedd
Fydd difyrwch nef y nefoedd;
Bydd tragwyddol sôn am dano
Wedi i bobpeth arall beidio.

*f* O! na allwn garu'r Iesu
Yn fwy ffyddlon a'i was'naethu;
Dweyd yn dda mewn gair am dano,
Rhoi fy hun yn gwbl iddo. AN.

*cres.* Iesu ei hunan yw fy nefoedd,
Yn y byd ac yn oes oesoedd;
Nef y nefoedd yw ei garu,
Ei fwynhau a'i wir folianu.
T. J.

970 *Clodforedd y gwaredigion.*

*f* CANED pechaduriaid mawrion,
Fe gaed noddfa i lofruddion;
Noddfa glyd rhag llid dialydd,
Noddfa rad yn ngwlad y cystudd.

*f* Canwn mwy am waredigaeth
Heb ei hail, i blant marwolaeth;
Talodd Iesu ein dyledion,
A gorchfygodd ein gelynion.

*cres.* Caned nef a daearolion
Sain Hosanna i Frenin Seion;
Llawn tosturi yw E'n wastad,
Nid oes diwedd ar ei gariad. AN.

971 *Rhinweddau marwolaeth Crist.*

*p* BRAWD fu farw ar Galfaria,
*cres.* I droseddwyr gael diangfa;
*mf* Fe â myrdd i wlad y gwynfyd,
Trwy farwolaeth fy Anwylyd.

*mf* Ffynon loyw darddodd allan
Ar y croesbren i rai aflan;
Rhinwedd hon wna rai ffieiddia',
*cres.* Cyn b'o hir mor wyn a'r eira.

*f* Maes o law bydd torf aneiri'
Yn y nef a'u cân am dani;
Oll a'u tanau am y tyna'
'N hyfryd seinio Haleliwia.
T. L., C.

972 *Gwaredigaeth a bob trallod.*

*mp* OS rhaid yfed dyfroedd Mara,
Yn yr anial ar fy ngyrfa,
*mf* Nertha Di, fy Nhad a'm Harglwydd,
F' ysbryd gwan mewn byd o dramgwydd.

*mp* Er fy nghuro'n nhrigfa dreigiau,
Suddo'n fynych dan y tonau; [ddydd,
*mf* Fe ddaw'r hyfryd ddedwydd wawr-
*cres.* Heb dywyllwch yn dragywydd. AN.

Rhif 261. ERIN. M. 8 au. 4 llin.

*Doh* A♭. M. 60. W. JENKINS, 1886.

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| M:m | r :d | $t_1$ :d | m :— | r :— | D :m | s :m | r :d | $l_1$ :— | $s_1$ :— |
| D :d | $t_1$ :$l_1$ | $se_1$:$m_1$ | $s_1$ :— | $s_1$ :— | $S_1$ :$l_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$fe_1$ | $s_1$ :— |
| S :s | f :m | m :d | d :— | $t_1$ :— | M :d | r :d | $t_1$ :d | m :r.d | $t_1$ :— |
| D :d | $s_1$ :$l_1$ | $m_1$ :$l_1$ | $s_1$ :— | $s_1$ :— | D :$l_1$ | $t_1$ :d | $s_1$ :$m_1$ | $d_1$ :$r_1$ | $s_1$ :— |

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| M:s | s :f | r :d | r :— | m :— | $L_1$ :d | d :d | r :m | r :— | d :— |
| $S_1$:$ta_1$ | $l_1$ :$l_1$ | $s_1$ :$m_1$ | $l_1$ :— | $se_1$ :— | $L_1$ :$s_1$ | $l_1$ :$s_1$ | $s_1$ :$s_1$ | $l_1$:$s_1$.$f_1$ | $m_1$ :— |
| D :d | d :d | $t_1$ :d | $l_1$ :— | $t_1$ :— | D :s | f :d | $t_1$ :d | d :$t_1$ | d :— |
| D :$m_1$ | $f_1$ :$f_1$ | $s_1$ :$l_1$ | $f_1$ :— | $m_1$ :— | $L_1$ :$m_1$ | $f_1$ :$m_1$ | $r_1$ :$d_1$ | $f_1$:$s_1$ | $d_1$ :— |

## 973 *Tywysog Bywyd.*

*mf* O! NA chawn i olwg hyfryd
Ar ei wedd, Dywysog bywyd!
Tegwch byd, â'i holl bleserau,
Yn ei ŵydd a lwyr ddiflanai.

*mf* Melus odiaeth yw ei heddwch,
Anghymarol ei brydferthwch:
Ynddo 'n rhyfedd cydlewyrcha
Dwyfol fawredd a mwyneidd-dra.

*cres.* Uchelderau mawr ei Dduwdod,
A dyfnderoedd ei ufudd-dod,
Grea synu fyth ar synu
Yn nhrigolion gwlad goleuni. D. C.

## 974 *Hunanymholiad.*

*mf* ARGLWYDD! llefaf arnat beunydd,
Am wirionedd yn fy nghrefydd;
Tua'r bedd o hyd 'rwy'r tynu,
*cres.* Rho i mi arwydd er daioni.

*mp* Beth dâl proffes, heb adnabod
Edifeirwch am fy mhechod?
Wylo dagrau, heb alaru,
Nid yw'n arwydd er daioni.

*mf* O! am ysbryd gostyngedig,
Calon friw yn prisio'r Meddyg:
Bywyd gweddaidd, ysbryd gweddi,—
*cres.* Hyn fydd arwydd er daioni. T. T.

## 975 *Melusion.*

*mp* MELUS ydyw y myfyrdod [dod;
Am ddynoliaeth Crist, a'i Dduw-
Melus meddwl am ei gariad,
*cres.* Melus cael o hono brofiad.

*mf* Melus iawn yw cân o foliant
Pan bwy'n profi gwir faddeuant;
Melus cael, trwy waed y cymod,
*cres.* Hedd i lanw fy nghydwybod.

*mp* Pan y'm curir gan y tonau,
Gwawd y byd, a gorthrymderau;
Melus cael o'r babell briddlyd
*cres.* Olwg glir ar dir y bywyd.

*mf* Melus cofio 'r boreu rhyfedd
Y gadawaf wely llygredd;
*cres.* Melus brofaf, er fy ngwynfyd,
Heddwch Duw yn well na'r bywyd.
J. T.

## 976 *Iesu tu hwnt i bob dymuniad.*

*mf* IESU! fy anwylaf wrthddrych,
Gobaith f' enaid 'rwy'n dy chwenych;
Ti mae'm dagrau yn ymofyn,
Cri fy meddwl yw dy erfyn.

*mf* Ti wyt felus faeth y galon,
Ffynon fywiol, goleu gwiwlon;
Wyt tu hwnt i rym ein cariad,
Wyt tu hwnt i bob dymuniad.

*mf* Pan ymweli â'n calonau,
Mae dy wedd yn rhoi ini oleu!
Nid yw'r byd i gyd ond sothach,
Fflam dy gariad sydd yn gryfach.

*cres.* Anwyl Iesu! rho ini brofiad
Helaeth, helaeth, o dy gariad;
Dyro ini 'th bresenoldeb,
A hyfrydwch gwedd dy wyneb.
T. J.

Rhif 262. BREUDER BYWYD.

G. F. HANDEL, 1685—1759, trefnwyd gan J. H. ROBERTS, Mus. Bac.

*Doh* E♭. M. 72.

```
M:—|m :—|m :—|—:m | m :r .m|f :m |r :—|—: | F :—|f :s.l|f :—|—:l
D :—|d :—|d :—|—:d | d :t,.d|r :d |t,:—|—: | R :—|r :m.f|r :—|— :f
S :—|s :—|s :—|—:s | s :s   |s :s |s :—|—: | S :—|s :—  |s :—|s :—
D :—|d :—|d :—|—:d | d :d   |t,:d |s,:—|—: | S,:—|s,:—  |s,:—|s,:—

s :f |m :r ,m.f|m :—|—: | S :—|s :—|s :—|—:s.l | ta :ta |ta :l
m :r |d :t,,d.r|d :—|—: | M:—|m :—|m :—|—:m.f | s :s   |s :f
s :s |s :s     |s :—|—: | D':—|d':—|d':—|—:d'  | d':d'  |d':d'
s,:s,|s,:s,    |d :—|—: | D :—|d :—|d :—|d :—  | d :d   |d :d
```

B♭.t.

```
|s :—|—:S  | s :f |—:m |m :r | :s    | s :f.m|f :m |r s,:—|—:
|m :—|—:M  | m :r |—:d |d :t,| :m    | m :r.d|r :d |t m,:—|—:
|d':—|S :— | s :— |s :— |s :—|s :s   | s :s  |s :s |s d :—|—:
|d :—|D :— | s,:— |s,:— |s,:—|s,:s,  | s,:s, |s,:s,|s d,:—|—:
```

d.f. A♭.

```
D :—|r :—|m :—|—:f   | m :r.d|r :t, |d :—|—:  | d R :—|r :—
S,:—|s,:—|s,:—|—:l,  | s,:s, |f,:r, |m,:—|—:  | fe Se,:—|m, :b,
D :—|t,:—|d :—|d :—  | d :s, |l,:s, |s,:—|—:  | l T, :—|se,:l,
M,:—|s,:—|d :—|d,:—  | d,:m, |f,:s, |d,:—|—:  | r M,:—|m, :—
```

E♭.t.

```
|r :—|—:m    | m :r .d |t, :-.l,|l r:—|—: | M:—|m :-.f,s|m :—|—:m
|se,:—|t,:—  | d :t,.l,|l, :se, |l r:—|—: | D :—|d :-.r.m|d :—|—:d
|t,:—|m :—   | m :f    |t, :m   |d f:—|—: | S :—|s :—    |s :—|s :—
|m,:—|se,:—  | l,:r,   |m, :m,  |l r:—|—: | D :—|d :—    |d :—|d :—

r    :d |f :m |r :—|—: | S :—|d':—|s :—|—:s | f :m.r|r :-.d |d :—|—:
l,.t,:d |t,:d |t,:—|—: | D :—|m :—|d :—|—:d | t,:d  |d :t,  |d :—|—:
l    :s |s :s |s :—|—: | S :—|s :—|s :—|s :— | s :s  |s :f   |m :—|—:
f    :m |r :d |s,:—|—: | M:—|d :—|m :—|m :— | r :d  |s,:- s,|d :—|—:
```

977

*Breuder Bywyd.*

*mp* DYRNFEDD yw ein dyddiau yn y byd,—
Boreu darth, ddiflana gyda'r dydd:
*cres.* Tua 'r bedd ymdeithio 'r ym yn nghyd,
I fro 'r cysgodion ac i'r trigfanau cudd,
*mf* Yn y pridd mae sail y babell freg,
Buan iawn malurir hi i'r llawr;
Syrth y tŷ ar ei breswylydd teg,
*cres.* Yntau ffy i'r tragwyddolfyd mawr.

*mf* Mab y dyn yn ei ogoniant ddaw,
Engyl fyrdd yn osgordd gydag Ef;
Saif y ddaear ger ei fron mewn braw,
A rhydd ei meirw i fyny wrth ei lef.
*f* Iddo 'n sedd, ymffurfia 'r cwmwl gwyn,
Fflachia 'r mellt, fil-myrdd, o gylch ei draed;
*ff* Llyfr y Farn ddadguddia i'r bydoedd syn,
Deulu 'r Oen, a olchwyd yn ei waed.

S.

*Doh* G. M. 66. Alaw Gymreig.

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D.r | m :m :r | d :— :R.m | f :f :m | r :— ‖ | M.f | s :s :f | |
| :D | d :d :t, | l, :— :T, | d :d :d | t, :— ‖ | D | r :t, :l, | |
| :M.f | s :s :f | m :— :S | l :l :s | s :— ‖ | S | r :r :d.r | |
| :D | d :d :s, | l, :— :S, | f, :f, :d, | s, :— ‖ | D | t, :s, :l,.t, | |

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| m :d :r.m | f :m :r | d :— ‖ | M.f | s :s :f | m :— :M.f |
| s, :l, :d | l,.t,:d :t, | d :— ‖ | D | d :m :r | d :— :D |
| m :m :l.s | f :s :s.f | m :— ‖ | S.f | m :s :s | s :— :M |
| d :l, :f,.m, | r, :m,.f :s, | d, :— ‖ | D | d :d :d.t, | d :— :D |

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| s :s :f | m :— ‖ | S | l :l :l | s :m :d | f :m :r | d :— ‖ |
| d :t, :l, | s, :— ‖ | D | d :d :d | d :s, :l, | d :d :t, | d :— ‖ |
| m :r :d.r | m :— ‖ | M | f :f :f | m :d :m | l :s :f | m :— ‖ |
| s, :s, :l,.t, | d :— ‖ | D | f, :f,.s,:l,.t, | d :d :l, | f, :s, :s, | d, :— ‖ |

## 978 *Gwerth ffydd.*

*mf* 'RWY'N gweled bob dydd
Mai gwerthfawr yw ffydd—
Pan elwy' i borth angeu
Fy angor a fydd!
*f* Mwy gwerthfawr im' yw
Na chyfoeth Periw;
Ei gwrthddrych a'm cynal
Ddydd dïal ein Duw!

*mf* Y cysur i gyd
Sy'n llanw fy mryd,
Fod genyf drysorau
Uwch gwybod y byd;
Ac er bod hwy 'nghudd,
Nas gwel hwynt ond ffydd,
*f* Ceir eglur ddadguddiad
O honynt ryw ddydd.

I. AB RHISIARD.

## 979 *Teilwng yw yr Oen.*

*f* DEWCH frodyr, un fryd,
Molianwn yn nghyd
Ein Priod a'n Prynwr,—
Iachawdwr y byd;
*cres.* Ein swydd a fydd sôn
Am gariad yr Oen,
A ddygodd ein penyd,
*mp* Ddyoddefodd ein poen.

*mf* Duw mawr ydoedd E',
Yr Arglwydd o'r ne',
A ddaeth fel Oen llariaidd
*p* I farw'n ein lle;
*mf* Tra byddom ni byw
Ein dyled ni yw
*f* Mynegu rhinweddau
A doniau Mab Duw.

*mp* Fe ddaeth yn ŵr tlawd,
Fe wisgodd ein cnawd,
*cres.* I fod yn Waredwr
I ni, ac yn Frawd;
*f* Llu nefoedd a llawr
Molienwch E'n fawr,
Am roi dros ei ddefaid
Ei fywyd i lawr.

D. J., C.

## 980 *Rhinwedd angeu Calfaria.*

*mf* IS nefoedd ni bu
'R fath fendith i mi
Ag angeu fy Iesu
Ar Galfari fry;
Rhyfeddod y byd
Yw angeu mor ddrud,
*f* A gwreiddyn caniadau
'R ffyddloniaid i gyd!

*mf* Fy enaid i sydd,
Yn awr nos a dydd,
Am ganmol yr Iesu
A'm rhoddodd yn rhydd:
*cres.* Fe 'm cododd i'r lan
Pan oeddwn yn wan,
*f* Amlygodd f' Anwylyd
Fy rhyddid a'm rhan.

*f* Af bellach yn hy'
Tua'r Ganaan sydd fry,
Mi wela'r addewid
Yn gadarn o'm tu;
*cres.* A geiriau fy Nuw
Sy'n gadarn o ryw—
Fe dd'wedodd cawn goncro
'Ngelynion a byw.

*f* Trwy 'r byd y bo sôn
Am bwrcas ei boen,
A chaned pob teulu
Mai teilwng yw 'r Oen.
*cres.* Mi wela 'n ei glwy'
Gyflawnder sy' fwy
Na meithder y moroedd,
Er lleted y'nt hwy.

W.

## 981 *Cymod trwy y gwaed.*

*mf* TROWCH, gwelwch i gyd,
Dros fânau 'r holl fyd,
Iachawdwr pechadur,
A'i prynodd mewn pryd.
*cres.* Ein heddwch mawr yw
Gwaed gwerthfawr Oen Duw,
O rwymau marwolaeth
*f* Cyfododd yn fyw.

*mf* Y cymod a wnaed,
Trwy rinwedd ei waed,
A thrwy ei farwolaeth
Cawn Satan tan draed.
*mp* Ei lafur a'i loes,
Er griddfan ar groes,
*cres.* Yn fywyd i'r euog
A'r truan y troes.

An.

## 982 *Rhinwedd gwaed y groes.*

*f* FY Iesu mwy fydd,
Fy noddfa bob dydd—
O ddyfnder pydewau,
Fe'm rhoddodd yn rhydd.
*mf* Ni feddaf iachâd,
*cres.* Un dim ond ei waed;
*f* Fy heddwch a'm haeddiant,
Fy nerth a'm parhad.

*mf* Rhyw afon a gaed,
O ddŵr ac o waed;
O'r orsedd ddysgleirdeg
Mae'n rhedeg yn rhad,
*cres.* I wella fy mriw,
Fy meiau bob rhyw,
*f* A chànu fy enaid
Er dued ei liw.

*f* Boed yma fy nyth,
A'm bywyd i byth,
Yn nghlwyfau'r Oen tyner,
A'i lawnder di-lyth.
*cres.* Ac yma caf fyw,
Er croesau bob rhyw,
A'm henaid yn llawen,
Dan aden fy Nuw.

An.

## 983 *Gwynfydedig yw y meirw.*

*mf* GWYNFYD y rhai sydd
Yn meirw mewn ffydd,
Eu Harglwydd a'u derbyn
Ar derfyn eu dydd;
*cres.* Cânt orphwys i gyd
Yn harddwych eu pryd,
Uwch blinder trallodus
Enbydus y byd.

*mf* I'w blino ni ddaw
Un bradwr na braw,
Na nos yn oes oesoedd
I'r lluoedd gerllaw:
*cres.* Eu goleu'n dêg iawn,
A'u llewyrch yn llawn,
Yw Iesu grasusol
A'i ddwyfol wir ddawn.

*f* Bydd hyfryd eu hiaith
Wrth foli Duw'n faith,
Heb deimlo dim dolur
Na chur, na phoen chwaith;
*cres.* Cânt weled heb gudd,
Yn dirion bob dydd,
Ogoniant y Duwdod!
Rhyfeddod a fydd.

An.

Rhif 264. HUNGERFORD. M. 5.5.8. D.

*Doh* E♭. M. 96. H. J. GAUNTLETT, Mus. Doc., 1806–1876.

:M |s :f .m|r :R.m|f :m .r |m :M |s :f .m|d' :t.l |s :— |—

:D |d :t,.d|t, :T, |d :d .t,|d :D |d :t,.d|d :d.d |t, :— |—

:S |s :s .s|s :S |l :s .s |s :S |s :s .s|l :s.fe|s :— |—

:D |m :r .d|s, :S, |f, :s,.s,|d :D |m :r .d|l, :r.r |s, :— |—

:R .m|f :m .r |m :T.d'|r' :d'.t |d' :S.f|m .f:s .l|s .m:r |d :— |—

:T,.d|r :d .t,|d :R.m|f :m .r |m :R |d :d .f|m .d:t, |d :— |—

:S |l :s .s |s :S.d'|t :d'.s |s :S |s :ta.l|d'.s:f |m :— |—

:S .m|r :s,.s,|d :S.m|r :s,.s,|d :T, |d .r:m .f|s .s:s, |d :— |—

## 984 *Yr Oen.*

*f* MOR deilwng yw'r Oen,
*mp* Fu farw mewn poen,
*cres.* Er mwyn i droseddwyr gael byw;
*mf* Trwy rinwedd ei waed,
*cres.* Mawr heddwch a wnaed,
*f* Cymodwyd gelynion â Duw.

*mf* Pan gododd Mab Duw
O'i feddrod yn fyw,
*cres.* Dinystriodd holl gryfder y ddraig;
*f* Gorchfygodd trwy'i waed,
Bob gelyn a gaed,
*cres.* Cydganed preswylwyr y graig.

*f* Pan ddelo'r holl saint
O'r cystudd a'r haint,
Uwch trallod a phechod a phoen;
*cres.* Fe fydd yr holl nef
A llafar un llef,
*ff* Yn canu mai teilwng yw'r Oen.

CYNDDELW.

## 985 *Merch Seion.*

*mf* MERCH Seion ryw ddydd,
Mwy hawddgar a fydd
Ei thegwch na thoriad y wawr;
*cres.* A'i gwisg yn fwy hardd
Nag Adda'n yr ardd,
Fe fydd ei gogoniant yn fawr.

*mf* Yn wir fe fydd hon
Yn dawel a llon,
Mewn mantell cyfiawnder yn byw;
*cres.* Yn eistedd i lawr,
Ar orsedd wen fawr,
Yn ochr ei Brenin a'i Duw.

AN.

## 986 *Ffynon Calfaria.*

*mf* AR groesbren, brydnawn,
Cyfiawnder ga'dd Iawn,
*cres.* A'r gyfraith anrhydedd 'r un dydd:
Trwy rinwedd y gwaed
Boddlonwyd y Tad:—
*f* Mae merch yr Amoriad yn rhydd!

*mf* Ar Galfari fryn,
Agorwyd cyn hyn
*cres.* Ryw ffynon ryfeddol ei rhin;
Hi hollol lanhâ
Aflendid a phla,
*f* Hi gàna yr Ethiop yn wỳn!

*mf* Y gwan mae 'n gryfhau,
Er cymaint ei fai,
*cres.* I sefyll wrth Sinai 'n ddi-gryn;
Mae 'n symud â'i hedd,
Fraw angeu a'r bedd,
A'u hofnau—heb adael yr un!

D. C.

## 987 *Cyfaill ar y daith.*

*mf* ANTURIAF yn mlaen,
Trwy ddyfroedd a thân,
Yn dawel yn nghwmni fy Nuw;
Er gwaned fy ffydd,
*cres.* Enillaf y dydd,
*f* Mae Ceidwad pechadur yn fyw.

*mf* Mae f'enaid yn llon,
A'm pwys ar ei fron:
Er maint fy nhrallodau, daw'r dydd
*cres.* Caf hedeg yn glau
Uwch gofid a gwae,
*f* Yn iach o'm cadwynau yn rhydd!

AN

 SALOME. M. 8 au. 8 llin.

Alaw Gymreig.

*Doh* G. M. 60. *D.C.*

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | d :s, :d | m :m :r.d | r :— :M | d :s, :d | m :m :r | d :— |
| :S, | s, :s, :s, | s, :d :s,.l, | t, :— :S, | s, :s, :l, | d :d :t, | d :— |
| :D | d :t, :d | d :s :s.fe | s :— :M | m :r :m | s :s :f | m :— |
| :D, | m, :s, :m, | d, :d :t,.l, | s, :— :D | d :t, :l, | s, :m, :s, | d, :— |

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| :M | s :m :d | f :l :m | r :— :M | s :m :r | d :m :fe | s :— |
| :D | r :d :s, | d :d :d | t, :— :D | r :d :t, | l, :d :d | t, :— |
| :S | s :s :m | f :f :s | s :— :S | s :s :s.f | m :l :l | s :— |
| :D | t, :d :d.ta, | l, :f, :d | s, :— :D | t, :d :s, | l, :l, :r | s, :— |

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| :S.d' | s :m :d | f :l :m | r :— :D | m :m :l | s :m :r | d :— |
| :D | d :d :s, | f, :d :d | t, :— :L, | t, :d :d | d :d :t, | d :— |
| :M | s :s :m | d :f :s | s :— :M | se :l :d | m :s :f | m :— |
| :D | m :d :d.ta, | l, :f, :d | s, :— :L, | m, :l, :f, | s, :s, :s, | d, :— |

**988** *O lafur ei enaid y gwel.*

*mf* 'O LAFUR ei enaid y gwel,'
Yr Iesu, fy Mhrynwr, a'm Brawd;
*cres.* Nid ofer y lludded, a'r poen,
Pan yma 'n pabellu mewn cnawd:
*f* Rhyw dyrfa aneirif a ddaw,
O gonglau tywyllaf y byd,
A'u gwisgoedd yn wynach na'r haul,—
*ff* I'r Iesu rho'nt foliant i gyd.

*mf* Paganiaid pob gwlad dan y nef
Yn gywir ga weled yn dod,
*cres.* I bwyso drwy ffydd ar ei Iawn,
A'i ganmol tra 'r nefoedd yn bod:
*f* 'Efe a ddiwellir,' medd Duw,
'R addewid bob sill ddaw i ben;
Ymleda 'i lywodraeth yn mlaen,
Dros gyrau y ddaear a'r nen.
W. F. D.

**989** *Rhyfeddodau cariad Crist.*

*f* O GARIAD! O gariad mor rhad!
O! foroedd o gariad mor fawr!
Mab uniganedig y Tad
Ddysgynodd o'r nefoedd i'r llawr:
Cymerodd ei wneuthur yn gnawd—
Dynoliaeth a Duwdod yn un:
*p* Bu farw ar groesbren dan wawd,
Yn lle ei elynion ei hun! D. J.

**990** *Ffynon i bechod ac aflendid.*

*mf* CAED ffynon o ddŵr ac o waed,
I olchi rhai duon eu lliw,
Ei ffrydiau a redodd yn rhad
I'r ardal lle'r oeddwn yn byw,
Er cymaint o rwystrau ga'dd hon,
*cres.* Grym arfaeth a'i gyrodd yn mlaen
*f* I olchi tŷ Ddafydd o'r bron,
Jerusalem hefyd ddaw'n lân. E. J.

**991** *Duw yn Noddfa.*

*f* DUW Israel sy'n noddfa a nerth,
Yn hawdd mewn cyfyngder i'w gael;
Mewn adfyd, pwy draetha ei werth?
Mor barod y gweryd y gwael!
*cres.* Am hyny, pe siglai y byd,
Pe treiglid mynyddau i'r môr,
Er tyrfu y dyfroedd ynghyd,
Nid ofnwn yn nghysgod ein Iôr.

*f* O! gwelwch, genhedloedd i gyd,
Weithredoedd rhyfeddol yr Iôr—
Gorchuddir holl wyneb y byd
A heddwch fel tonau y môr;
*cres.* Rhyfeloedd a beidiant dros byth—
Ni chyfyd creulondeb ei llef;
*ff* Anthemau, mil amlach na 'r gwlith,
A genir i Frenin y nef! EMRYS.

## BOZRA. M. 8 au. 8 llin.

*Doh* B♭. M. 96. JOHN JONES (Eos Bradwen), 1888.

```
:S, |s, :- |m, :s, |d :- |r :m |l, :- |- :R |r :- |m :r |d :- |t, :l, |s, :- |- ||
:M, |m :- |m, :m, |m, :- |s, :s, |f, :- |- :Fe, |s, :- |s, :s, |s, :- |fe, :fe, |s, :- |- ||
:D |d :- |d :d |d :- |t, :d |d :- |- :D |t, :- |d :r |m :- |r :d |t, :- |- ||
:D, |d, :- |d, :m, |l, :- |s, :d, |f, :- |- :R, |s, :- |d :t, |l, :- |r, :r, |s, :- |- ||

:S, |s, :- |m, :s, |d :- |r :m |l, :- |- :L, |f :- |m :r |m :- |r :d |d :- |- ||
:M, |m, :- |d, :m, |l, :s, |f, :m, |f, :- |- :F, |f, :- |s, :l, |s, :- |f, :m, |m, :- |- ||
:D |d :- |d :d |d :- |t, :d |d :- |- :D |d :- |d :d |d :- |t, :s, |s, :- |- ||
:D, |d, :m, |l, :s, |f, :m, |r, :d, |f, :- |- :F, |l, :- |s, :f, |s, :- |s, :s, |d, :- |- ||

:S, |r :- |r :m |f :- |m :r |m :- |- :M |m :d |t, :l, |r :- |d :d |t, :- |- ||
:S, |s, :- |s, :s, |l, :- |s, :s, |s, :- |- :Se, |m, :- |se, :l, |l, :- |l, :l, |se, :- |- ||
:S, |t, :- |t, :d |d :r |d :t, |d :- |- :T, |d :m |r :d |f :- |m :m |m :- |- ||
:S, |s, :- |f, :m, |l, :t, |d :s, |d :- |- :M, |l, :- |m, :f, |r, :- |l, :l, |m, :- |- ||

:S, |d :- |d :r |m :- |r :d |f :- |- :R |s :- |f :r |d :- |m :r |d :- |- ||
:S, |s, :- |s, :s, |m, :ta, |l, :s, |l, :- |- :L, |s, :- |l, :l, |s, :- |s, :f, |m, :- |- ||
:D |m :- |m :r |d :- |d :d |d :- |- :D |d :- |d :f |m :- |d :t, |d :- |- ||
:M, |d, :- |d :t, |l, :s, |f, :m, |f, :- |- :F, |m, :- |f, :f, |s, :- |s, :s, |d, :- |- ||
```

**992** *Pwy yw Hwn yn dyfod o Edom?*

*f* PWY welaf o Edom yn d'od,
Mil harddach na thoriad y wawr,
Yn sathru dan wadn ei droed
Elynion yn lluoedd i'r llawr?
*mp* Ei wisg wedi ei lliwio gan waed,
Ei saethau a'i gleddyf yn llym;
*cres.* Ei harddwch yn llanw 'r holl wlad,
*f* Yn ymdaith yn amlder ei rym!

*mf* 'Myfi, 'r hwn wyf Alpha cyn byd,
Wyf gadarn i ladd, ac iachau!
Fy ngeiriau a safant i gyd
Pan ballo ffyddlondeb pob rhai!'
*p* Ond pam mae dy wisgoedd yn waed,
A'th gleddyf cyn goched ei fin,
*cres.* Fel un a fu 'n sathru dan draed
Y gwinwryf yn ngwinllan y gwin?

*mf* 'Wrth weled y fyddin mor fawr,
Dan arfau yn llawnion o lid,
Yn llanw holl wyneb y llawr,
Y bobl a giliodd i gyd!
A'm gadael yn unig, heb ail,
I sefyll yn ngwyneb fy nghâs,
Gelynion cyn amled a'r dail
Yn llanw holl gyrau y maes.

*cres.* 'Mi godais i fyny fy llaw—
Ymleddais, (*f*) enillais y dydd;
Fy holl waredigion a ddaw,
A'm caethion a roddir yn rhydd!
*cres.* Enillais fath goncwest trwy waed,
Mae genyf lywodraeth mor fawr,
Hyd eithaf trigfanau fy Nhad,
*ff* Mae'n cyrhaedd o'r nefoedd i'r llawr!'

**993** *Ail Ran.*

*mf* PA feddwl, pa 'madrodd, pa ddawn,
Pa dafod all osod i maes,
Mor felus, mor helaeth, mor llawn,
Mor nerthol ei gariad a'i ras?
*f* Afonydd sy'n rhedeg mor gryf,
Nas dichon i bechod na bai
*cres.* Wrthsefyll yn erbyn eu llif
*ff* A'n llanw ardderchog di-drai!

*mf* Fel fflamiau angerddol o dân
Yw cariad f' Anwylyd o hyd;
Fe losgodd bob rhwystrau o'i flaen,
Fe yfodd yr afon i gyd!
*f* Ymaflodd mewn dyn ar y llawr!
Fe 'i dygodd â'r Duwdod yn un
*cres.* A'r pellder oedd rhyngddynt mor fawr—
*ff* Fe'i llanwodd â'i haeddiant ei hun!

J. W.

## Rhif 267. ST. ANDREWS. M. 8 au. 8 llin.

L. MASON, 1792—1872.

*Doh* G. M. 92. *D.C.*

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :$S_1$ | d :— \|d :d | r :— \|r :r | m :— \|— :F | s :— \|d :d | f :— \|m :r | d :— \|— | |
| :$S_1$ | $s_1$ :— \|$l_1$ :$l_1$ | $t_1$ :— \|$t_1$ :$t_1$ | d :— \|— :D | d :— \|$l_1$ :$l_1$ | d :— \|d :$t_1$ | d :— \|— | |
| :M | m :— \|m :m | s :— \|s :s | s :— \|— :D | s :— \|m :m | l :— \|s :f | m :— \|— | |
| :D | d :— \|$l_1$ :$l_1$ | $s_1$ :— \|$s_1$ :$s_1$ | d :— \|— :$L_1$ | $m_1$ :— \|$l_1$ :$l_1$ | $f_1$ :— \|$s_1$ :$s_1$ | $d_1$ :— \|— | |

*D.C.*

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | s :— \|m :s | s :— \|f :m | r :— \|— :R | d :— \|d :r | m :— \|m :fe | s :— \|— |
| :D | d :— \|d :d | d :— \|$t_1$ :d | $t_1$ :— \|— :$T_1$ | $l_1$ :— \|$l_1$ :$t_1$ | d :— \|d :d | $t_1$ :— \|— |
| :M | s :— \|s :s | s :— \|s :s | s :— \|— :F | m :— \|m :s | s :— \|s :d | r :— \|— |
| :D | m :— \|d :m | m :— \|r :d | $s_1$ :— \|— :$S_1$ | $l_1$ :— \|$l_1$ :$s_1$ | d :— \|d :$l_1$ | $s_1$ :— \|— |

### 994 *Ffynon agored.*

*mf* RHYW ffynon rinweddol o waed,
Agorwyd ar Galfari fryn,
I olchi'r aflanaf a gaed,
A chánu y duaf yn wyn;
*f* Rhyw ffynon ryfeddol yw hon,
Mae'n rhoddi i gleifion iachad;
Dewch iddi dylodion yn llon,
Cewch yma adferiad yn rhad.

*mf* Mae'n ffynon agored heb gêl,
I bawb gael d'od iddi bob pryd;
Mae'n rhydd i bwy bynag a ddêl,
I gael o'i rhinweddau o hyd:
*f* Mae nerth i rai gweiniaid i'w gael
O ffynon anfeidrol y groes,
Hi olchodd, hi wellodd heb ffael,
Bob un a ddaeth iddi'n mhob oes.

R. J.

### 995 *Genedigaeth Crist.*

*f* LLAWENYDD fo'n llanw pob gwlad,
A bloeddied y bobloedd yn nghyd,—
Cyflawnwyd addewid y Tad,—
Fe gafwyd Iachawdwr y byd!
*cres.* Angylion, yn beraidd eu llef,
A ganant mewn mawredd a bri,
Am eni Tywysog y nef,
Yn Methle'm yn Geidwad i ni!

*f* O! gariad anfeidrol at ddyn! [cnawd,
Mab Duw yn ymddangos mewn
Yr Unig-anedig, ei hun,
I'r truan bechadur, yn Frawd!
*mp* Rhyfeddwn dosturi ein Duw!
*cres.* A molwn ei enw'n ddibaid;—
Mae gobaith i'r gwaethaf gael byw,—
*f* Mae Arglwydd y bywyd o'n plaid!

M.

### 996 *Cyflawniad y Gyfraith.*

*f* CYFLAWNWYD y gyfraith i gyd,
Fe ddofwyd ei llid heb fy lladd,
Cyfiawnder, wrth hir ofyn Iawn,
Ei daliad yn gyflawn a ga'dd,
*cres.* Cyfiawnder a'r gyfraith sy'n awr
Yn edrych i lawr yn ddi-lid;
Mae'r priodoleddau mewn hedd
Yn gwaeddu 'Trugaredd' i gyd!

E. J.

### 997 *Dilyn y Bugail.*

*f* DILYNAF fy Mugail o'm bodd [byd,
Trwy amharch a gw'radwydd y
A dygaf ei ddirmyg ar g'oedd,
Gan gyrhaedd tua'r nefoedd o hyd;
*cres.* Mi rodiaf, trwy gymorth ei ras,
Y llwybr a gerddodd fy Nghun:
Nid rhyfedd os gwawdir y gwas,
Fe wawdiwyd fy Arglwydd ei hun!

*f* 'Does arnaf ddim c'wilydd o'i groes,
Ei groes yw fy nghoron a'm clod:
Ei fywyd i'm gwared a roes—
Fy Ngheidwad a'm carodd erioed.
*mp* Dyoddefodd waradwydd a phoen,
A'r felldith ar Galfari fryn;
*cres.* F' anrhydedd yw canlyn yr Oen—
Yr Oen a gystuddiwyd fel hyn.

*f* Ond, O! y gogoniant a'r hedd,
A'r dirfawr orfoledd o hyd,
Sy'n aros tu arall i'r bedd,
Ei ffyddlon ganlynwyr i gyd!
*cres.* Eu dagrau a'u gw'radwydd a dry
Yn fôr o lawenydd ar frys;
Anfeidrol eu gwynfyd hwy fry,
Yn nheyrnas eu Harglwydd a'i lys.

B. F.

Rhif 268. BRYNHYFRYD. M. 8 au. 8 llin.

Alaw Gymreig.

*Doh* G. M. 80. *D.C.*

:D | m :– |m :m | s :– |f :m | r :– |– :M | f :l |s :m | s :f |m :r | d :– |– ||
:M, | s,:– |s,:s, | s,:– |s,:s, | s,:– |– :S, | l, :d |d :d | d :– |d :t, | d :– |– ||
:D | d :m |s :m | r :– |d :d | t,:– |– :D | d :f |s :d | l :– |s :f | m :– |– ||
:D | d :– |d :d, | t,:– |d :d | s,:– |– :D | l, :f, |m, :l, | f,:– |s,:s, | d :– |– ||

:M | s :– |s :m | l :– |l :s | s :– |– :M | s :– |s :m | s :– |f :m | r :– |– ||
:S, | s,:– |d :d | d :– |d :r | d :– |– :S, | d :t, |d :d | d :– |t,:d | t,:– |– ||
:D | r :– |m :s | f :– |f :r | m :– |– :S | s :r |m :s | s :– |s :s | s :– |– ||
:D | t,:– |d :d | f,:s, |l,:t, | d :– |– :D, | m, :s, |d :d | m :– |r :d, | s,:– |– ||

:S, | d :– |d :r | m :– |m :f | s :– |– :S | d :– |f .s :l | s :m |r :– | d :– |– ||
:S, | s,:– |l,:t, | d :– |d :l, | s,:– |– :S, | s,:d |d :d | d :d |t,:– | d :– |– ||
:S | m :– |m :s | s :– |s :d | r :t, |d :R | m :– |f :f | m :s |f :– | m :– |– ||
:S, | d :– |l,:s, | d :– |d :d | t,:s, |l,:T, | d :–.t, |l,.s,:f, | s,:s, |s,:– | d,:– |– ||

## 998

*Agor y Seliau.*

*f* O! CYFOD, ferch Seion! a gwel
Dy freintiau godidog yn awr;
Datodir it' sêl ar ol sêl— [wawr:
Myn'd rhagddi 'n oleuach mae 'r
*cres.* Mewn cân, gorfoledda, mae 'n bryd,
Dy Frenin yn awr sydd yn d'od,
Yn ngherbyd ei gariad trwy 'r byd—
I'w enw 'n dragwyddol bo 'r clod!

*f* Troir atat gyflawnder y môr—
Daw Carmel a Saron yn un;
Brenhinoedd y ddaear, â'u 'stôr,
Anrhegant yr Iesu 'n gytûn;
Daw 'r bwystfil a'r anghrist i lawr,
Eu gorsedd a fwrir i'r llyn;
A syrthia y Fabilon fawr!
Bydd miloedd yn moli am hyn!

AN.

## 999

*Yr Arglwydd a gyfododd yn wir.*

*f* YR Arglwydd a gododd yn wir,
Wel, dyna sail gywir y gân,
Pob ardal o'r ddaear cyn hir
A'i foliant a lenwir yn lân;
*cres.* Datododd holl gloiau y glyn—
Y dyffryn sy'n dychryn plant Duw;
Yn nghanol ei wely deffrodd,
Ac yna cyfododd yn fyw.

*f* Fe gododd ein Bugail o'r bedd,
Ar ol bod yn gorwedd yn gaeth;
I'w briod gwnaeth lwybr i'r wledd,
A rhyfedd dangnefedd a wnaeth;
*cres.* Nid Iesu mewn bedd sydd yn bod,
Ond yn y nef uchod mae'n awr;
Cyfododd, eglurodd ei glod,
Ca'dd gyflawn ollyngdod o'r llawr.

E. J.

## 1000

*Clod i Dduw am yr Efengyl.*

*f* DYRCHAFWN ogoniant ynghyd,
Mewn seiniau soniarus yn awr.
I Grëwr a Phrynwr y byd,
Am ddoniau a breintiau mor fawr;
*cres.* Mae geiriau yr Iôr yn ein hiaith,
Efengyl yr hedd yn ein gwlad,
A'r Ysgol Sabbothol ar waith,
Yn dysgu myrddiynau yn rhad.

*f* Ei foli wneir byth yn y nef,
Gan engyl, seraphiaid, a saint;
Yn llawen dyrchafant eu llef,
Am gariad anfeidrol ei faint:
*cres.* Cydunwn â hwy yn y gân—
Trugarog i ninau yw Duw;
Dadganwn ei glodydd ar dân,
Am fodd i ni, feirwon, i fyw.

AN.

Rhif 269. HEDD. M. 8 au. 8 llin.

Alaw Gymreig.

*Doh* C. M. 80. *D.C.*

```
:L  |d':— |t  :l  |m':— |r' :d' |t :— |D':r' |m':— |m':r' |d':— |d':t  |l  :— |— ||
:M  |l :— |se :l  |l :m |m  :m  |m :— |M :s  |s :— |l :l  |l :— |l :se |l  :— |— ||
:D' |m':— |r' :d' |l :— |se :l  |se:— |L :t  |d':— |m':f' |m':— |m':r' |d' :— |— ||
:L, |l :— |m  :f  |d :— |t, :l, |m :— |L :s  |d':— |d :r  |m :— |m :m  |l, :— |— ||

:L  |m':— |r' :d' |t :— |d' :l  |t :— |L :t  |d':t |l :se |l :t |d':r' |m' :— |— ||
:L  |l :— |se :l  |se:— |l  :m  |se:— |L :se |l :se|l :m  |d :m |m :s  |s  :— |— ||
:D' |d':— |r' :m' |m':— |m' :m' |m':— |D':m' |m':r'|d':t  |l :se|l :t  |d' :— |— ||
:L  |d':— |t  :l  |m :— |l, :d  |m :— |F :m  |l,:t,|d :m  |f :m |l :s  |d' :— |— ||

:M' |m':— |m' :r' |d':— |r' :d' |t :— |D':r' |m':— |m':r' |d':— |d':t  |l  :— |— ||
:Se |l :— |l  :se |l :— |f  :m  |m :— |M :s  |s :— |l :l  |l :— |l :se |l  :— |— ||
:T  |d':— |l  :t  |l :— |l  :l  |se:— |L :t  |d':— |m':f' |m':— |m':r' |d' :— |— ||
:M  |l :— |d  :m  |f :— |r  :l, |m :— |L :s  |d':— |d :r  |m :— |m :m  |l, :— |— ||
```

## 1001

*Seion yn dyfod o'r Anialwch.*

*mf* RHYFEDDOL gwel'd Seion yn d'od
Trwy gystudd a thrallod i'r lan,
A'i thynfa mor gywir ei nôd,
A'r olwg sydd arni mor wan:
Fel mwg y mae'n esgyn i'r nef,
Er cryfed awelon y cnawd;
*cres.* Dyrchafa 'i hochenaid a'i llef
At orsedd ei Brenin a'i Brawd.

*mf* Rhyfeddol yw gweled rhai gwael—
Rhai aflan, a ffiaidd, a ffol,
Yn canu mewn gobaith am gael—
Llwyr adael eu llygredd ar ol:
*f* Rhyfeddach eu gweled rhyw ddydd,
Yn llaw eu Gwaredydd yn d'od,
O bob rhyw gaethiwed yn rhydd,
I ganu'n dragywydd ei glod.
R. J., W.

*mp* Fy enaid sychedig i sydd,
Wrth deithio dros fryniau mor faith,
Yn dysgwyl yn dawel bob dydd
Cyfarfod â diwedd fy nhaith;
*cres.* Fel darffo fy ngofid, a'm gwae,
Fy nhrallod, fy mlinder, a 'mhoen,
*f* A dechreu 'm gorfoledd didrai—
Caniadau tragwyddol i'r Oen. W.W.

## 1002 *Fy Mhrynwr Byw.*

*mf* MI wn fod fy Mhrynwr yn fyw,
A'm prynodd â thaliad mor ddrud:
Fe saif ar y ddaear, gwir yw,
Yn niwedd holl oesoedd y byd:
*cres.* Er ised, er gwaeled fy ngwedd,
Teyrnasu mae Mhrynwr a 'Mrawd;
Ac er fy malurio'n y bedd
*f* Caf eto ei wel'd yn fy nghnawd.

*mf* Boed arno fy ngolwg bob dydd,
A'i Aberth anfeidrol ei werth;
Gwir Awdwr, Perffeithiwr fy ffydd,
Fe'm cynal ar lwybrau blin, serth!
*cres.* Fy enaid! ymestyn yn mlaen,
Na orphwys nes cyrhaedd y tir—
*f* Y Ganaan dragwyddol a'i chân,
Y Sabboth hyfrydol yn wir. T. J.

## 1003 *Yr Ymgnawdoliad.*

*mf* MAB Duw ymddangosodd mewn cnawd,
Fe wisgodd holl natur y dyn,
Y Cyfaill anwylach na brawd,
Ei gariad melusach nâ'r gwin;
*cres.* A'i wyneb mil harddach nâ'r wawr,
Ei aberth mwy gwerthfawr na'r byd:
*f* Fe dalodd bob dyled i lawr,
Fe groesodd 'r ysgrifau i gyd. J.W.

## Rhif 270. GETHSEMANE. M. 8 au. 8 llin.

J. H. Roberts, Mus. Bac., 1879.

Doh B♭. M. 80. D.C.

```
:M1 | l1 :– | l1 :t1 | d :– | t1 :l1 | t1 :– | – :T1 | d :r | m :l1 | t1 :d.r | d :t1 | l1 :– | – ||
:M1 | m1 :– | m1 :m1 | m1 :– | f1 :d1 | m1 :– | – :M1 | m1 :s1 | s1 :l1 | l1 :– | l1 :se1 | l1 :– | – ||
:D | d :– | l1 :se1 | l1 :– | l1 :l1 | se1 :– | – :Se1 | l1 :t1 | d :d | f :– | m :r | d :– | – ||
:L1 | l1 :– | d1 :m1 | l2 :d1 | r1 :f1 | m1 :– | – :M1 | l1 :s1 | d1 :f1 | r1 :– | m1 :m1 | l2 :– | – ||

:T1 | d :– | d :d | r :– | r :r | m :– | – :D | m :– | d :r | m :d | t1 :l1 | t1 :– | – ||
:Se1 | l1 :– | l1 :m | s1 :– | s1 :s1 | s1 :– | – :S1 | s1 :– | s1 :s1 | s1 :– | f1 :l | se1 :– | – ||
:M | m :– | m :l1 | t1 :– | t1 :t1 | d :– | – :M | d :– | d :t1 | d :m | r :d | m :– | – ||
:M1 | l1 :– | l1 :l1 | s1 :– | s1 :s1 | d1 :– | – :D | d :– | m1 :s1 | d1 :– | r1 :f1 | m1 :– | – ||

:M | s :– | m :f | s :– | f :m | r :– | – :R | d :r | m :l1 | t1 :d.r | d :t1 | l1 :– | – ||
:S1 | s1 :– | s1 :s1 | s1 :t1 | l1.s1 :s1 | s1 :– | – :Se1 | l1 :se1 | l1 :l1 | l1 :– | l1 :se1 | l1 :– | – ||
:D | r :– | d :r | m :r | d.r :d | t1 :– | – :M | m :r | d :d | f :– | m :r | d :– | – ||
:D | t1 :– | d :d | d :s1 | l1.t1 :d | s1 :– | – :M1 | l2 :t2 | d1 :f1 | r1 :– | m1 :m1 | l2 :– | – ||
```

**1004** *Cofio y dyoddefaint.*

*mp* WRTH gofio 'i riddfanau'n yr ardd,
A'i chwys fel defnynau o waed—
Aredig ar gefn oedd mor hardd,
A'i daro â chleddyf ei Dad—
*cres.* Ei arwain i Galfari fryn,
A'i hoelio ar groesbren o'i fodd;
*mf* Pa dafod all dewi am hyn?
*dim.* Pa galon mor galed na thôdd?

T. L.

**1005** *Calfaria.*

*mp* CALFARIA a gochwyd â gwaed,
Gwaed rhyfedd Emmanuel yw:
Messia yn aberth a wnaed,—
Pech-aberth dros ddynion i Dduw:
*cres.* Cyfiawnder a gochodd ei gledd,
Yn mynwes ddihalog yr Oen;
*f* Daeth bywyd, maddeuant, a hedd,
I ninau trwy rinwedd ei boen.

An.

**1006** *Cymdeithas y Saint.*

*mf* O! FUGAIL yr Israel a'u Duw,
Hyfrydwch fy enaid i gyd;
Cael mwy o'th gymdeithas i fyw,
Yw hiraeth fy nghalon o hyd:
*cres.* Am borfa hyfrydaf dy braidd,
'Rwyf heddyw'n ymofyn yn brudd,
*f* Lle'u porthir, lle'u cedwir mewn hedd,
*mp* Rhag poethder a dwysder y dydd.

*mf* O nifer dy braidd gad im' fod,—
Nid ydwyf yn chwenych dim mwy;
Cael byw yn y byd er dy glod,
A'm cydogoneddu â hwy:
*cres.* Yn lloches y Graig gwnaf fy nyth,
Nes derfydd pob gofid a phoen,
*f* A gorphwys 'rol hyny dros byth
*mp* Yn dawel yn mynwes yr Oen.

An.

**1007** *Golwg ar gyrau'r wlad.*

*mf* DWY aden colomen, pe cawn,
Mi grwydrwn, mi hedwn yn mhell;
I gopa bryn Nebo mi awn,
I weled ardaloedd sydd well:
*cres.* A'm golwg tu arall i'r dŵr,
Mi dreuliwn fy nyddiau i ben,
*f* Dan ganu wrth gofio y Gŵr
*p* Fu farw dan hoelion ar bren.

*mf* 'Rwy'n tynu tuag ochr y dŵr,
Bron gadael yr anial yn lân;
Mi glywais am goncwest y Gŵr,
A holltodd yr afon o' mlaen.
*cres.* Fe dreiglodd y maen oedd dan sel,
Fe gododd yn gadarn i'r lan;
*f* Mi a'i caraf Ef, deued a ddel.
Mae gobaith i'r truan a'r gwan.

T. W.

# ELLIOT. M. 9.8.

JOHN ELLIS, Llaurwst, 1750—1834.

*Doh* A. M. 60. *D.C.*

```
:D     |d  :s, :d    |m  :s  :m  |d  :r  :D     |m  :d  :d.l,   |s, :d  :r  |d  :—  ||
:S,    |s, :s, :l,   |d  :d  :s, |s, :s, :M,    |m, :m, :l,.f,  |s, :m, :f, |m, :—  ||
:M     |m  :r  :m    |s  :d  :d  |d  :t, :D     |t, :l, :d      |d  :d  :t, |d  :—  ||
:D     |d  :t, :l,   |s, :m, :d, |m, :s, :L,    |se,:l, :f,     |m, :s, :s, |d, :—  ||

:M     |d  :r  :m    |r  :d  :t, |l, :s, :L,.t, |d  :s, :d      |m  :d  :m  |s  :—  ||
:S,    |d  :s, :s,   |s, :s, :s, |fe,:s, :F,    |s, :s, :s,     |s, :l, :l, |t, :—  ||
:D     |m  :t, :d    |r  :m  :r  |d  :t, :R     |m  :d  :m      |s  :m  :d  |r  :—  ||
:D     |l, :s, :d    |t, :d  :r  |r, :m, :R,    |d, :m, :d,     |d  :d  :l, |s, :—  ||

:F     |m  :r  :d    |m  :s  :m  |d  :r  :D     |m  :d  :d.l,   |s, :d  :r  |d  :—  ||
:L,.s, |s, :s, :m,   |s, :d  :s, |s, :s, :M,    |m, :m, :l,.f,  |s, :m, :f, |m, :—  ||
:D.r   |d  :t, :d    |d  :d  :d  |d  :t, :D     |t, :l, :d      |d  :d  :t, |d  :—  ||
:L,.t, |d  :s, :l,   |s, :m, :d, |m, :s, :L,    |se,:l, :f,     |m, :s, :s, |d, :—  ||
```

## 1008 *Dirgelwch y groes.*

*f* O! DEUED trigolion y ddaear
  I edrych i Galfari fryn,
I weled dirgelwch annhraethol,
  Rhyfeddol i'w gofio 'r ol hyn;
*mp* Mab Duw, Awdwr bywyd, ar groesbren,
  Yn trengu mewn gwendid a chri:
Y Meddyg yn gwaedu dan boenau—
*mf* Y balm a rydd iechyd i ni.

T. J.

## 1009 *Cyfraith Seion.*

*mf* YN Seion mae cyfraith ragorol,
  Gan Dduw yno 'n rheol fe 'i rhoed;
Un weddus, ddaionus i ddynion;
  Ni bu deddf mor union erioed:
Dim mwy, a dim llai, na chyfiawnder
  Ni ofyn, ni chymer ychwaith:
Heb fod gyda 'r Iesu mewn undeb,
  Ni dderbyn ein gwyneb na 'n gwaith.

*mf* Pe byddai fy ngolwg yn berffaith,
  Mi welwn y gyfraith i gyd,
Darllenwn hi 'n eglur bob mynyd
  Yn mywyd Gwaredwr y byd.
Ac hefyd, wrth ddarllen y gyfraith,
  Mi welwn Dduw perffaith heb ball:
Os Iesu, neu 'r gyfraith, a welwn,
  Y naill a ddarllenwn drwy 'r llall!

E. J.

## 1010 *Trugaredd i'r afradlon.*

*mf* TRUGAREDD a ddyg o dir estron
  Y truan afradlon i'w fro;
Pan ydoedd ar drengu o eisieu,
  Yn mhell o'i chyffiniau ar ffo:
Trugaredd â modrwy addurnodd
  Yr adyn na haeddodd un hedd;
Trugaredd i'r tŷ a'i gwahoddodd,
  Trugaredd arlwyodd y wledd.

*mf* Trugaredd sy'n galw y gelyn
  Ystyfnig, a chyndyn, a chàs,
At orsedd y nefoedd i blygu,
  A chanu i'r Iesu a'i ras:
*f* Trugaredd yw testyn y nefoedd,
  Trugaredd wnaeth luoedd yn lân,
Trugaredd yw gwledd y pechadur,
  Ei obaith, ei gysur, a'i gân.

EBEN FARDD.

## 1011 *Llwyddiant y deyrnas.*

*f* Y GAREG a dorwyd o'r mynydd,
  Ar fyrder a leinw'r holl fyd;
Ymdreigla drwy'r amryw deyrnasoedd,
  A lleinw'r ardaloedd i gyd;
*cres.* Hi ddryllia holl dduwiau 'r Paganiaid,
  O'r diwedd hwy gwympant i'r llawr;
Helaethu wna teyrnas y gareg,
  A'i chynydd fel mynydd fydd mawr.

AN:

## Rhif 272. BETHEL. M. 9.8.

*Doh* **F.** M. 66. Alaw Gymreig.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| :D | m :m :l | s :m :d | m :r :D | m :m :l |
| :S, | s, :d :d | t, :d :l, | d :t, :D | d :d :d |
| :M | m :m :f | r :d :m | s :s :M | s :d :f |
| :D | d :l, :f, | s, :l, :l, | s, :s, :D | d :l, :f, |

| | | *D.C.* | | |
|---|---|---|---|---|
| s :m :r | d :— ‖ | M | l :l :d' | t :se :t |
| d :d :t, | d :— ‖ | D | d :m :l, | t, :t, :r |
| m :s :f | m :— ‖ | D | m :m :m | f :m :m |
| s, :s, :s, | d :— ‖ | D | l, :d :l, | r :m :m, |

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| l :m :M | l :l :d' | t :se :t | l :— ‖ | D' | s :m :l |
| d :l, :T, | l, :d :m | r :t, :r | d :— ‖ | D | r :d :d |
| m :m :Se | m :m :l | f :m :se | l :— ‖ | M | s :s :f |
| l, :d :R | d :l, :l, | r :m :m, | l, :— ‖ | L, | t, :d :f, |

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| s :m :d | m :r :D | m :m :l | s :m :r | d :— ‖ |
| t, :d :d | d :t, :L, | t, :d :d | d :d :t, | d :— ‖ |
| r :d :m | s :s :M | m :m :f | m :s :f | m :— ‖ |
| s, :l, :d | s, :s, :L, | se, :l, :f, | s, :s, :s, | d :— ‖ |

### 1012 *Bywyd trwy Angeu Crist.*

*mf* RHYFEDDOD i Alpha ac Omega,
Creawdwr y ddaear a'r ne',
Gymeryd ein natur, a'n tlodi,
A marw ar bren yn ein lle;
*f* Dyrchafer ei enw 'n dragwyddol
Gan bob rhyw genhedlaeth, ac oes;
*cres.* Cydganed y ddaear a'r nefoedd
Am angeu anfeidrol y groes.

*f* Ni gawsom y gwerthfawr Fessïa—
Ymgeledd y clwyfus a'r gwan;
Fe roddodd ei hunan o'i wirfodd
I'r tlawd a'r colledig yn rhan;
Trugarog Samaritan ydyw
Sy'n rhwymo archollion y gwael;
*cres.* Pob peth angenrheidiol, fy enaid,
Sydd ynddo 'n dragwyddol i'w gael.

*f* Efe sydd yn cau, ac yn agor;
Efe sydd yn lladd, a bywhau;
Yr enaid mae Ef yn ei glwyfo,
Mae 'n sicr o dd'od i'w iachau;
*cres.* I ddatod gweithredoedd y diafol,
Daeth Brenin y nefoedd i lawr—
*ff* Cwymp, f' enaid, yn mreichiau 'i drugaredd,
Mae 'n foddlawn dy dderbyn yn awr.
M. R.

### 1013 *Angeu heb ei Golyn.*

*f* O ANGEU! pa le mae dy golyn?
O uffern! ti gollaist y dydd!
Y Baban a anwyd yn Methle'm
Orchfygodd bob gelyn y sydd;
Ni raid i blant Seion ddim ofni
Myn'd adref dan ganu i'w gwlad—
Eu ffordd sydd yn rhydd tuag yno,
A hono gysegrwyd (*p*) â gwaed!

*mf* Mae 'r ddaear yn cilio o'm golwg,
A'r nefoedd yn agor o'm blaen—
Mi glywaf soniarus delynau
Angylion yn beraidd eu cân;
*f* Seraphiaid, rhowch fenthyg adenydd,
Mae f' enaid am hedeg i'ch plith!
*ff* O angeu! pa le mae dy golyn?
O uffern! ni lwyddi di byth! AN.

# CRUGYBAR. M. 9.8.

*Doh* G. M. 84. Alaw Gymreig, cyng. J. C. Williams, New Tredegar.

:D | m :— |m :m | m :s |— :m | d :r |— :D | s :l |—:s .l
:S, | d :— |d :d | d :d |— :d | d :t, |— :D | ta, :l, |—:d
:M | s :— |s :s | s :m |— :s | fe :s |— :M | d :f |—:s .f
:D | d :— |d :d | d :d |— :d | l, :s, |— :L, | m, :f, |—:m,.f,

*D.C.*

| s :m |— :r | d :— |— || S | s :— |f :m | l :— |f :l
| d :d |— :t, | d :— |— || D | d :— |t, :d | d :— |d :d
| m :s |— :f | m :— |— || M | s :— |s :s | f :— |l :f
| s, :s, |— :s, | d :— |— || D | m :— |r :d | f :— |f :f

| l :s |—:F | m :s |—:l | l :—|s :m | r :—|— || D | m :—|m :m
| d :d |—:T, | d :d |—:d | d :—|d :d | t, :—|— || S, | d :—|d :d
| f :m |—:S | s :m |—:f | f :—|s :s | s :—|— || M | s :—|s :s
| d :d |—:S, | d :d |—:f, | f, :—|m, :d, | s, :—|— || D | d :—|d :d

| m :s |—:m | d :r |—:D | s :l |—:s .l | s :m |—:r | d :—|—
| d :d |—:d | d :t, |—:D | ta, :l, |—:d | d :d |—:t, | d :—|—
| s :m |—:s | fe :s |—:M | m :f |—:s .f | m :s |—:f | m :—|—
| d :d |—:d | l, :s, |—:L, | s, :f, |—:m,.f, | s, :s, |—:s, | d :—|—

## 1014 *Ffrydiau gorfoledd y gwaredigion.*

*f* MAE ffrydiau 'n gorfoledd yn tarddu
O ddysglaer orseddfainc y Ne';
Ac yno esgynodd ein Iesu,
Ac yno yr eiriol Efe;
*cres.* Y gwaed a foddlonodd gyfiawnder,
Daenellwyd ar orsedd ein Duw,
Sydd yno 'n wastadol yn erfyn
I ni, y troseddwyr, gael byw.

*f* Cawn esgyn o'r dyrys anialwch,
I'r nefol Baradwys i fyw;
Ein henaid lluddedig gaiff orphwys
*mp* Yn dawel ar fynwes ein Duw:
*cres.* Diangfa dragwyddol geir yno
Ar bechod, cystuddiau, a phoen
*f* A gwledda i oesoedd diderfyn
Ar gariad annrhaethol yr Oen.

*f* O fryniau Caersalem ceir gweled,
Holl daith yr anialwch i gyd:
Pryd hyny daw troion yr yrfa,
Yn felus i lanw ein bryd;
*cres* Cawn edrych ar stormydd, ac ofnau,
Ac angeu dychrynllyd, a'r bedd,
A ninau'n ddiangol o'u cyrhaedd,
Yn nofio mewn cariad a hedd.
D. C

## 1015 *Bedydd fy Arglwydd.*

*mf* MI welaf yn medydd fy Arglwydd
Ogoniant gwir grefydd y groes—
Y claddu, a'r codi'n Dduw cadarn,
'Rol gorphen ei lafur a'i loes:
*cres.* Mae'n ddarlun o angeu'r Cyfryngwr,
A gerfiwyd mewn cyfrol o ddŵr;
Mae Seion yn cadw'r portread
I gofio am gariad ei Gwr.
A. G. M.

## 1016 *Cynydd y Deyrnas.*

*f* YR holl freniniaethau a dreulir,
A'r ddelw falurir i lawr;
Y gareg a leinw 'r holl wledydd—
Ei chynydd fel mynydd fydd mawr:
*cres.* Ceir gweled cenhedloedd y ddaear
Yn dyfod o bedwar cŵr byd—
Ymofyn y ffordd tua Seion
Y bydd ei drigolion i gyd! P. J.

Rhif 274. CYFAMOD. M. 9.8.

*Doh* C. M. 60. Alaw Gymreig.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| :M | l .l :— :l | d' .l :— :t | se .l :— :T | d' .d' :— :m' |
| :M | l .l :— :m | m .m :— :f | m .d :— :M | m .m :— :m |
| :M | l .l :— :d' | l .l :— :r' | t .l :— :Se | l .l :— :l |
| :M | l .l :— :l, | l, .d :— :r | m .l, :— :M | l .l :— :d |

| | D C. | | | |
|---|---|---|---|---|
| r' .d' :— :t | l :— | T | d' .d' :— :d' | r' .r' :— :r' |
| f .m :— :r | d :— | M | m .m :— :m | s .s :— :s |
| l .l :— :se | l :— | Se | l .l :— :l | t .t :— :t |
| r .m :— :m | l, :— | M | l .l :— :l | s .s :— :s |

| | | | | M. 72. | |
|---|---|---|---|---|---|
| m'.m' :— :T | d'.d' :— :l | r'.r' :— :d' | t :— | M' | m' :r' :d' |
| s .s :— :Se | l .m :— :l | se.se :— :l | se :— | L | l :se :l |
| d'.d' :— :T | l .l :— :m' | m'.m' :— :m' | m' :— | M' | m' :m' :m' |
| d'.d' :— :M | l .l :— :d' | t .t :— :l | m :— | D' | d' :t :l |

| | M. 60. | | | |
|---|---|---|---|---|
| t :d' :l | se :l :T | d'.d' :— :m' | r'.d' :— :t | l :— |
| se :l :r | m :m :Se | l .l :— :l | se.l :— :se | l :— |
| m' :m' :l | t :d' :M' | m'.m' :— :m' | m'.m' :— :m'.r' | d' :— |
| m :d :f | m :l, :M | l .l :— :d' | t .l :— :m | l :— |

**1017** *Gwaredigaeth trwy Grist.*

*mf* O! AGOR fy llygaid i weled
Gogoniant dy arfaeth a'th air;
Mae'n well i mi gyfraith dy enau
Na miloedd o arian ac aur;
*cres.* Y ddaear a'n dân a'i thrysorau,
Ond geiriau fy Nuw fydd yr un;
*f* Y bywyd tragwyddol yw 'nabod
Fy Mhrynwr yn Dduw ac yn ddyn.

*mf* Rhyfeddod a bery'n ddiddarfod
Yw'r ffordd a gymerodd Efe,
I achub pechadur colledig,
*p* Trwy farw ei hun yn ei le!
*f* Fe safodd fy Mreniu ei hunan,
Gorchfygodd awdurdod y ddraig;
Ein Blaenor gallnog ni ydyw—
*ff* O! caned preswylwyr y graig.

M. R.

**1018** *Dyfroedd Bywiol.*

*mf* O! ARWAIN fy enaid i'r dyfroedd,
Y dyfroedd sy'n afon mor bur;
Y dyfroedd a dorant fy syched,
Er cymaint fy lludded a'm cur:
*cres.* Y dyfroedd tragwyddol eu tarddiad,
Y dyfroedd heb waelod na thrai,
Y dyfroedd a olchant fy enaid,
Er dued ac amled fy mai.

*mf* O! deuwch, O! deuwch i'r dyfroedd,
Mae Crist yn eich gwahodd yn gu;
I yfed o'r afon redegog,
Sy'n tarddu dan riniog y tŷ:
*cres.* Oddi yno mae'r afon sy'n addas
I loni hardd ddinas ein Duw
*f* Yn deilliaw yn ffrydiau diddiwedd,
O'r ffynon sy'n beraidd ddŵr byw.

T. J.

**1019** *Taro Cyfaill.*

*mp* GWEL'D cleddyf cyfiawnder yn deffro,
Oedd ryfedd, i daro Mab Duw!
Gwneyd T'wysog y nef yn anafus
Er mwyn i rai beius gael byw!
*cres.* Dysgleirdeb gogoniant ei Berson,
Ac Unig-anedig y Tad,
Yn ngafael deddf fanwl ofynion,
*f* I ni ddod yn rhyddion yn rhad!

E. J.

Rhif 275. **HANOVER.** M. 10.10.11.11.

W. Croft, Mus. Doc., 1677–17

Doh B♭. M. 72. — F.t. — f.B♭.

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S, | d :d :r | m :— :s | d :r :t, | d :— :$^{r}$S | l :s :f | m :— :s | f :m :r | $^{d}$s, :— |
| :M, | s, :s, :s, | s, :— :s, | l, :l, :s, | s, :— :$^{s,}$D | d :d :t, | d :— :d | d :d :t, | $^{d}$s, :— |
| :S, | m :d :t, | d :— :r | m :f :r | m :— :$^{t,}$M | f :s :s | s :— :s | l :s :f | $^{m}$t, :— |
| :D, | d, :m, :s, | d :— :t, | l, :f, :s, | d, :— :$^{s,}$D | f :m :r | d :— :m, | f, :s, :s, | $^{d}$s, :— |

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :T, | d :r :m | d :l, :f | m :r :d | s :— :S, | l, :t, :d | r :s, :m | l, :r :t, | d :— |
| :Se, | l, :l, :se, | m, :l, :s, | s, :s, :fe, | s, :— :S, | f, :f, :s, | t, :s, :s, | f, :l, :s, | s, :— |
| :M | m :f :t, | l, :d :r | m :t, :d | t, :— :D | d :f :m | r :t, :d | d :f :r | m :— |
| :M, | l, :f, :m, | l, :l, :t, | d :t, :l, | s, :— :M, | f, :r, :d, | s, :s, :d, | f, :r, :s, | d, :— |

## 1020

*Mawl i'r Oen.*

*f* LLU dysglaer y nef, yn dyrfa gytun,
Wrth orsedd yr Oen, a blygant bob un,
Gan fwrw eu coronau i lawr wrth ei draed,
Am olchi pechadur a'i gànu 'n y gwaed.

*f* Er lleisio eu cân drwy lysoedd yr Iôr,
Am oesau o rif mân dywod y môr,
Nid yw hi ond dechreu ; mor beraidd ei blas,
Yn ngenau angylion, yw anthem rhad ras !

*mf* Ai dystaw fydd dyn, am rinwedd y gwaed ?
Ai dystaw fydd dyn, a brynwyd yn rhad ?
*f* O Seion ! boed moledd dy enaid yn gân,
Dy galon yn gariad, dy dafod yn dân.

*ff* Chwi weision yr Ion, byth bythoedd na thewch,
Ei enw ar led, yn uchel mawrhewch ;
Cyhoeddwch drwy 'r gwledydd o'r ddaear i'r nen,
Mae Gwr dirmygedig Calfaria sydd Ben. An.

## 1021

*Gwisgaist ogoniant a harddwch.*

*f* DADGANAF dy glod, O Arglwydd fy Nuw !
Dy wyrthiau a'th nerth sydd hynod eu rhyw ;
D'ogoniant a'th harddwch a welir drwy'r byd,
A phobpeth a greaist sydd ryfedd i gyd.

*f* Goleuni o bell a roddaist uwch ben ;
A thaenaist y nef o amgylch fel llen ;
Y ser a'r planedau, a'r wybr las, faith,
Sy'n dadgan trwy 'r bydoedd, dy fawredd a'th waith.

*cres.* Gogoniant i'r Tad, a greodd y byd ;
Gogoniant i'r Mab, a'n prynodd mor ddrud ;
Gogoniant i'r Ysbryd, a'n pura 'n ddilyth ;
I'r Drindod mewn Undod, rhown foliant dros byth. An.

*Doh* C. M. 72. W. KNAPP, 1698—1768.

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D' | d':t :l | s :s :d' | r':d':t | d':— | R' | m':r':d' | t :d':r' | d':t :l | s :— |
| :M | s :s :f | m :s :m | f :m :r | m :— | S | s :s :s.fe | s :s :s | m :r :d | t,:— |
| :S | d':r':d'.r' | m':r':d' | l :s :s | s :— | T | d':r':r' | r':m':r' | s :s :fe | s :— |
| :D | m :s :l .t | d':t :l | f :s :s | d :— | S | d':t :l | s :m :t, | d :r :r | s,:— |

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | l :s :l.t | d':d':t | d':d':r' | m':— | R'.m' | f':m':r' | d':t :d' | r':d':t | d':— |
| :D | f :s :f | m :s :f | m :m :s | s :— | S | f :s :r | s :f :m | l :s :f | m :— |
| :D' | d' :d':f | s :d':r' | d':l :t | d':— | R' | d':d':l | s :r':d' | f':m':r' | d':— |
| :M | f :m :r | d :m :s | l :l :s | d':— | T | l :s :f | m :s :l | f :s :s, | d :— |

## 1022

*Ffynon Calfaria.*

*mf* Y FFYNON agorwyd ar Galfari fryn,
Sydd eto yn golchi y duaf yn wyn;
*cres.* Hi gánodd fyrddiynau o'r duaf eu lliw;
*f* Maent heddyw yn Salem yn canmol eu Duw.

Am hyny'n hyderus, er cymaint fy mai,
Af finau i'r ffynon i gael fy nglanhau;
*mp* Er maint yw halogrwydd holl feiau fy mron,
*f* Mae rhinwedd digonol i'm golchi yn hon. AN.

## 1023

*Brenhiniaeth Crist.*

*f* Y BYD gorfoledded, teyrnasu mae'r Ior;
A chydlawènyched ynysoedd y môr:
Cymylau a th'wyllwch a guddiant ei wedd,
Cyfiawnder a heddwch yw trigfan ei sedd.

*mf* Fe lysg ei elynion o amgylch bob un,
Ei fellt a lewyrchant, a'r ddaear a grŷn;
Mynyddoedd y ddaear a doddant fel cŵyr,
Yn ngwyddfod Jehofa, diflanant yn llwyr.

*f* Y nef a fynega'i gyfiawnder yn hy',
A gwel'd ei ogoniant wna'r ddaear a'i llu;
*cres.* Goruchel yw 'r Arglwydd, uwch nefoedd a llawr,
Ac uwch yr holl dduwiau ei enw sydd fawr.

*ff* Chwi, saint, gorfoleddwch, dyrchefwch eich Duw,
Mae'n haeddu addoliad pob enaid sy'n fyw;
Wrth goffa'i sancteiddrwydd adseinied eich llef
Mewn moliant soniarus o'r ddaear i'r nef. AN.

## 1024

*'Iddo Ef.'*

*f* I FRENIN y nefoedd, tra 'r bydoedd yn bod,
Y byddo 'r anrhydedd, y mawredd, a'r clod;
*cres.* Enyned gorfoledd trwy 'r ddaear a'r nef,
Mewn anthem dragwyddol o fawl 'Iddo Ef.' CYNDDELW.

Rhif 277. JOANNA. M. 11 au. 4 llin.

*Doh* A. M. 60. *D.C.* Alaw Gymreig.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :D | l, :f, :r | t, :s, :d.r | m :m :r | d :— | D | m :m :s | m :d :d |
| :M, | f, :f, :l, | s, :s, :s,.l, | s, :s, :s, | m, :— | S, | d :s, :s, | s, :m, :m, |
| :D | d :l, :f | r :t, :d | d :d :t, | d :— | M | s :s :r | d :d :d |
| :D, | f, :f, :r, | s, :s, :m,.f, | s, :s, :s, | d, :— | D | d :d :t, | d :d :d, |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| m :m :s | r :— | M | d :l, :r | t, :s, :d.r | m :m :r | d :— |
| s, :l, :s, | s, :— | Se, | l, :l, :l, | s, :s, :s,.l, | s, :s, :f, | m, :— |
| d :d :d | t, :— | T, | d :d :r | r :t, :d | d :d :t, | d :— |
| d :l, :m, | s, :— | M, | l, :l, :f, | s, :s, :m,.f, | s, :s, :s, | d, :— |

1025

*Rhinwedd Marwolaeth yr Oen.*

*f* O GARIAD! O gariad! anfeidrol ei faint,
Fod llwch mor annheilwng yn cael y fath fraint—
Cael heddwch cydwybod, a'i chlirio trwy 'r gwaed,
A chorph y farwolaeth, sef pechod, dan draed.

*mf* Nis gallai 'r holl foroedd byth olchi fy mriw,
Na gwaed y creaduriaid er amled eu rhyw;
*cres.* Ond gwaed y Messia a'm gwella 'n ddi-boen;
Rhyfeddol yw rhinwedd marwolaeth yr Oen.

*f* Cydganed y ddaear a'r nefoedd ynghyd
Ogoniant tragwyddol i Brynwr y byd;
Molianed pob enaid fy Arglwydd ar gân,
Am achub annheilwng bentewyn o'r tân.

*cres.* Mae'r Jubil dragwyddol yn ymyl yn awr,
Aeth heibio 'r tywyllwch, fe dorodd y wawr;
Daw gogledd a dwyrain, gorllewin a de,
Yn lluoedd i foli Tywysog y ne'. M. R.

1026

*Molwch yr Arglwydd.*

*f* MOLIENWCH yr Arglwydd, efe yw ein Tad,
Ei enw sy'n deilwng o barch a mawrhâd;
Y mae ardderchawgrwydd ei Hanfod fawr Ef,
Uwchlaw yr holl ddaear, uwchlaw yr holl nef.

*mf* Efe sy'n dyrchafu ei bobl mewn braint;
Efe yw gogoniant a mawl ei holl saint:
*f* Ei Israel dewisol—chwychwi sydd yn byw
Yn llewyrch ei wyneb, (*ff*) molienwch eich Duw. HIRAETHOG.

1027

*Bedydd.*

*mf* MAE'R bedydd osododd yr Arglwydd ei hun,
*p* Yn ddarlun o'i loesau angeuol dros ddyn;
*cres.* Y claddu, a'r codi'n fuddugol o'r bedd:
*f* Ni gadwn y darlun nes gwelom ei wedd.

*f* Diolchwn i'w enw am ddarlun mor gu,
*dim.* I'w ddangos yn suddo yn nyfnder y lli';
*mf* Pan ddygir ni ato i gartref yr hedd,
*cres.* Y drych ni bydd eisieu, (*f*) cawn weled ei wedd. E. R.

Rhif 278. CAERNARFON. M. 11 au. 4 llin.

*Doh* **E.** M. 72. Alaw Eglwysig.

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | s :m :d | d :$t_1$ :d | r :m :f | m :– | M | m :r :s | s :fe :s | l :t :l | s :– |
| :D | $s_1$ :$s_1$ :$s_1$.$fe_1$ | $s_1$ :$s_1$ :d | d :d :$t_1$ | d :– | D | d :$t_1$ :r | m :r :r | m :r :d | $t_1$ :– |
| :M | r :d :d | r :r :d | l :s :s | s :– | S | s :s :s | $d^1$ :l :s | s :s :fe | s :– |
| :D | $t_1$ :d :$l_1$ | $s_1$ :$s_1$.$f_1$ :$m_1$ | $f_1$ :$s_1$ :$s_1$ | d :– | D | $s_1$ :$s_1$ :$t_1$ | $l_1$ :r.d :$t_1$ | d :r :r | $s_1$ :– |

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :S | s :m :d | $d^1$ :t :l | s :m :d | r :– | M | f :m :s | l :s :d | m :m :r | d :– |
| :R | m :d :d | d :d :d.r | m :d :d | $t_1$ :– | D | r :d :d | d :d :d | d :d :$t_1$ | d :– |
| :S | s :s :l | l :s :f | m :m :s.fe | s :– | S | s :s :m | f :s :m | s :s :f | m :– |
| :$T_1$ | d :d :$l_1$ | $f_1$ :–.$s_1$ :$l_1$.$t_1$ | d :d :$l_1$ | $s_1$ :– | D | $t_1$ :d :d | $f_1$ :$m_1$ :$l_1$ | $m_1$ :$s_1$ :$s_1$ | d :– |

## 1028

*Buddugoliaeth Crist.*

*mf* YR afon a lifodd rhwng nefoedd a llawr,
*cres.* Yw sail fy ngorfoledd a'm cysur yn awr;
Ar fynydd Calfaria, caed concwest a hedd;
A 'Mhriod sy'n cadw agoriad y bedd.

*f* Dewch, bellach, dechreuwn, mae'n ddigon o bryd,
I seinio caniadau i Brynwr y byd;
Efe wnaeth y cymod ac iddo bo'r clod,
Bydd canu am dano tra'r nefoedd yn bod.

*cres.* Ni gawsom y Cyfaill ffyddlonaf sy'n bod,
'R addewid a roddodd ni thorodd erioed;
Er byw'n ei ogoniant yn nghanol y nef,
Mewn awr o gyfyngder fe wrendy ein llef.

W W

## 1029

*Y Tad wrth y llyw.*

*mf* O! BLENTYN y nefoedd, paham mae dy fron
Mor ofnus wrth weled gwyllt ymchwydd y don?
Mae'r dyfnder du, tywyll, yn rhuo, gwir yw;
*cres.* Ond diogel yw'th fywyd, (*p*) mae'th Dad wrth y llyw.

*mf* Daw'n fuan orfoledd diddiwedd i'th ran,
Draw'n dysgwyl mae'th geraint oddeutu y lan;
Y dysglaer lys acw, dy hoff gartref yw;
*cres.* Mae Canaan yn ymyl, (*p*) a'th Dad wrth y llyw.

*f* Cwyd bellach dy hwyliau, mae'r awel o'th du;
'Rwyt bron myn'd i fynwes dy fwyn Brynwr cu:
*cres.* Mae'th angor yn ddiogel, a'th Gadben yn fyw;
Mae'th fâd yn y porthladd, a'th Dad wrth y llyw.

S. R.

## 1030

*Cân y Gwaredigion.*

*mf* FE 'm llyncwyd i fyny mewn syndod i gyd,
Wrth feddwl am angeu Iachawdwr y byd;
*cres.* Trysorau o gariad, trysorau o ras,
Na fedr angylion eu gosod i maes!

W. W

## Rhif 279. GORPHENWYD. M. 12 au. 4 llin.

D. Lewis, Llanrhystyd.

*Doh* F. M. 84, *twice.* C.t.

```
:D  | m :m  |— :d  |f  :— |f  :f  |f  :m  |r  :d  |s  :— |m :M |(r)s  :— |s :s
:S, | d :d  |— :s, |d  :— |d  :t, |d  :— |s, :s, |t, :— |d :D |(s)d  :— |f :f
:M  | s :s  |— :m  |l  :— |l  :s  |d  :— |f  :m  |r  :— |m :S |(s)d' :— |t :t
:D  | d :d  |— :d  |f, :— |f, :s, |l, :— |t, :d  |s, :— |d :D |(t)m  :— |r :r
```

F.f.

```
|l  :— |s  :d' |d' :t  |l  :t  |d' :— |(d')s  || M |m :— |s  :f  |f :— |m :m
|f  :— |m  :s  |s  :— |f  :f  |m  :— |(m)t,  || D |d :— |r  :t, |d :— |d :s,
|d' :— |d' :d' |r' :— |r' :r' |d' :— |(d')s  || S |s :— |s  :s  |l :— |s :m
|d  :— |d  :m  |s  :— |s  :s  |d  :— |(d)s,  || D |d :— |t, :s, |d :— |d :d
```

```
|l  :— |l :l |l :— |se :L  |f :l  |m  :r  |m :s  |d' :l  |s  :— |f  :m  |r  :— |d ||
|d  :r |m :r |d :— |t, :L, |r :— |d  :t, |d :r  |m  :d  |d  :— |d  :d  |d  :t, |d ||
|m  :— |m :f |m :— |m  :M  |f :l  |s  :s  |s :f  |m  :f  |s  :— |l  :l  |r  :f  |m ||
|l, :t,|d :r |m :— |m  :De |r :— |s, :s, |d :— |d  :f, |m, :— |f, :f, |s, :— |d ||
```

## 1031

*Gorphenwyd.*

*mf* 'GORPHENWYD!'—(*cres.*) pwy ddywed wrth fodd calon Seion?
O'i fodd a'i 'r Un anwyl, (*p*) i le ei elynion!
*cres.* Pe myrdd mwy y pechod, yr Iawn sy' ddigonol;
*f* Ond effaith ei rinwedd ga 'r enaid crediniol.

*mf* Tywalltwyd y ffrydlif ar glogwyn Calfaria,
Wna dduaf bechadur, (*cres.*) yn wynach na'r eira!
*p* Ys duodd yr haul, (*cres.*) daeth goleu godidog;
*mf* Condemniwyd y barnydd! (*f*) rhyddhawyd yr euog!

*mf* 'Gorphenwyd!'—(*cres.*) tarawyd y Graig! (*f*) wele ffynon!
*mp* Mae noddfa 'n y gwanu!—(*mf*) mae nef yn y goron!
*cres.* Mae cân yn ei wylo, a balm yn ei ddagrau,
*f* A bywyd tragwyddol yn deilliaw o'i angeu!

*mf* 'Gorphenwyd!'—(*cres.*) mae pob prophwydoliaeth yn gyfan,
A mêl yn ngwaelodion sur waddod y cwpan!
*f* Haleliwia i'r Oen! ei boen a ddybenwyd,—
*cres.* Dechreuer yr anthem—'Gorphenwyd!' 'Gorphenwyd!'

R. P.

## 1032

*Llais rhad Ras.*

*mf* LLAIS hyfryd rhad ras sydd yn gwaeddi 'Diangfa!'
*cres.* Yn nghlwyfau Mab Duw, i bechadur, mae noddfa!
*mf* I olchi aflendid a phechod yn hollol,
Ei waed Ef a redodd yn ffrydiau iachusol.

*mf* 'Rol tirio yn ddiogel i'r tawel aneddau,
*cres.* Ni seiniwn ei glodydd ar euraidd delynau;
*f* Trwy 'r nefol ardaloedd ni a'i molwn byth bythol
Wrth rodio ar lenydd yr afon dragwyddol.

D. C.

## Rhif 280. CRAIG Y TYLE. M. 12 au. 6 llin.

*Doh* C. M. 69. GWILYM CRAIG Y TYLE.

```
:M | l  :l  :t  | d' :d' :t  | l  :m' :r' | d' :t  :R' | d' :t   :l | l  :se :m'
:M | m  :m  :m  | m  :m  :m  | m  :m  :f  | m  :m  :M  | m  :m.r:d  | m  :m  :m
:M | l  :d' :se | l  :d' :r' | m' :l  :l  | l  :se :T  | l  :se  :l | d' :t  :l
:M | d  :l, :m  | l  :l, :t, | d  :d  :r  | m  :m  :Se | l  :m   :f | m  :m.r:d
```

```
| m'.r':d'.t :l .se | l  :l  || T  | d' :d' :l  | t  :t  :d' | r' :r' :t  | d' :d' :L
| f    :m    :m .r  | d  :d  || M  | m  :m  :l  | se :se :l  | l  :s  :s  | s  :s  :L
| l    :m'.r':d'.t  | l  :l  || Se | l  :d' :m' | m' :m' :d' | d' :t  :r' | m' :m' :D'
| r    :m    :m     | l, :l, || M  | l  :l, :d  | m  :m  :l  | f  :s  :s  | d  :d  :F
```

```
| m' :m' :d' | r' :r' :m' | f' :m' :re' | m' :m' || R' | d' :d'.r':d'.r' | t  :t    :t.d'
| l  :se :m  | s  :s  :s  | f  :s  :l   | s  :s  || Se | l  :m    :m     | m  :m    :m
| d' :t  :l  | t  :t  :d' | d' :t  :t   | t  :t  || T  | l  :l    :l     | se :se.l :se
| m  :m  :l  | s  :s  :d' | l  :t  :t,  | m  :m  || M  | l  :l    :l     | m  :m.f  :m
```

```
| r' :r' :t  | d' :d' :M   | l  :l.t:d'.r' | m' :m' :l  | t  :l  :se | l  :l  ||
| f  :f  :f  | m  :m  :M   | l  :l  :l     | l  :se :l  | f  :m  :m  | m  :d  ||
| t  :t  :r' | d' :d  :Se  | l  :l  :l     | t  :t  :m' | r' :d' :t  | d' :l  ||
| r  :s  :s, | d  :d  :M.r | d  :f  :f     | m  :m  :d  | r  :m  :m  | l, :l, ||
```

## 1033

*Eheda, Efengyl!*

*mf* EHEDA, eheda, efengyl dragwyddol,
Ar edyn y wawrddydd yn gyflym a nerthol!
*cres.* Cyhoedda trwy'r hollfyd fod cymod â'r nefoedd,
Darostwng yn rasol gyndynrwydd y bobloedd!
*f* O! d'wêd am yr haeddiant a gaed ar Galfaria,
*cres.* A'r ffynon wna'r Ethiop yn wynach na'r eira.

*mf* Dirgelion y nefoedd ddadguddiwyd yn helaeth,
Fod Crëwr y bydoedd yn gwisgo dynoliaeth;
*cres.* Er arbed yr euog, i'r Iesu, Jehofah,
Offrymu ei hunan ar fynydd Calfaria!
*f* O! d'wed am yr haeddiant a gaed ar Galfaria,
*cres.* A'r ffynon wna 'r Ethiop yn wynach na'r eira.

*mf* Gwna 'r anwar yn llariaidd, a'r creulawn yn dirion,
Trwy 'r cymod â'r nefoedd, gwna heddwch rhwng dynion.
*cres.* Cyhoedda fod man i'r blinderog i orphwys,
A thywys y crwydriaid yn ol i baradwys.
*f* O! d'wêd am yr haeddiant a gaed ar Galfaria,
*cres.* A'r ffynon wna 'r Ethiop yn wynach na'r eira.

D. C.

## Rhif 281. Y PRYNEDIGAETH. M. 5.5.7.7.7.9.

*Doh* B♭. M. 80. ://: Alaw Americanaidd.

:L, | d :— | d :l, | t, :— | t, :— | d :— | d :l, | t, :— | t, :—
:M, | m, :— | m, :l, | se, :— | se, :— | l, :— | l, :m, | m, :— | m, :—
:D | l, :— | d :m | m :— | m :— | m :— | m :l, | se, :— | se, :—
:L, | l, :— | l, :d | m :— | m, :— | l, :— | l, :d, | m, :— | m, :—

M :d | r :m | r :d | t, :t, | l, :— || L, :t, | d :d | t, :l, | m :— | R :d
M, :— | m, :l, | l, :— | l, :se, | l, :— || M, :se, | l, :l, | m, :l, | se, :— | M, :m,
L, :— | se, :l, | f :— | t, :m.r | d :— || M :m | m :m | m :l, | t, :— | L, :m
D, :$l_2$ | $t_2$ :d, | r, :— | m, :m, | $l_2$ :— || D, :m, | l, :l, | s, :f, | m, :— | L, :l,

r :m | r :d | t, :— | D :r | m :— | d :m | r :d | t, :t, | l, :— | — ||
s, :s, | s, :m, | m, :— | M, :m, | m, :— | l, :l, | l, :— | l, :se, | l, :— | — ||
r :d | t, :l, | se, :— | L, :t, | d :— | m :l, | f :m | m :r | d :— | — ||
t, :d | s, :l, | m, :— | L, :l, | l, :— | $l_2$ :d, | r, :$l_2$ | m, :m, | $l_2$ :— | — ||

### 1034 *Crist a'i aberth.*

*mp* A WELSOCH chwi Ef?
A welsoch chwi Ef?
*cres.* Iesu, fy Mhrynwr a'm Duw!
*mf* Dros droseddwyr fel myfi,
Rhoes ei hun ar Galfari,
*cres.* Trwy gyfiawnder fy Meichiau caf fyw,

*pp* Hoeliwyd yr Aberth,
Hoeliwyd yr Aberth,
Iesu'r addfwynaf oedd fud!
*mf* 'R Hwn sy'n taenu'r nef fel llen,
*dim.* A ogwyddodd yno'i ben,
*cres.* I wneyd cymod dros bechod y byd.

*mp* Rhwng nef a daear,
Rhwng nef a daear,
Tair awr o fawr ing a ga'dd!
Fe ataliai'r haul ei wedd,
Pan gymerai Prynwr hedd
*rall.* Ei ddirmygu, ei wawdio, a'i ladd.

*mp* T'wyllwch ymdaenodd,
T'wyllwch ymdaenodd,
T'wyllwch aeth dros yr holl wlad:
*mf* Wele'r creigiau cedyrn iawn
A holltasant, y prydnawn
Y croeshoeliwyd Anwylyd y Tad.

### 1035 *Ail Ran.*

*p* DACW fy Meichiau!
Dacw fy Meichiau!
*mf* Difai yw offrwm ein Pen!
*p* Arno Ef y rhoed fy nrwg,
Fe aeth dan y dwyfol ŵg,
Dyg fy nghosp yn ei gorph ar y pren.

*mf* Wedi llwyr dalu,
Wedi llwyr dalu,
Gyda'r cyfoethog bu E';
Peraroglau gore'u sawr
Roisant gyda'm Harglwydd mawr,
Ac mewn bedd na bu neb oedd ei le.

*mf* Heddyw mae'n eiriol,
Heddyw mae'n eiriol,
*cres.* Eiriol dros wael ddynol ryw,
Gan ddywedyd, 'O! fy Nhad,
Gwel fy nwylaw a fy nhraed!
Mi a'u prynais, O! gâd iddynt fyw.

*mf* 'Cânt, os dychwelant,
Cânt, os dychwelant,
Anwylaf Fab, er dy fwyn;
*cres.* Os wynebant ataf Fi,
Ac os credant ynot Ti,
*f* I dragwyddol fwynhâd cânt eu dwyn.'

D. C. IEU.

Rhif 282. HARLECH. M. 7.3.

*Doh* G. M. 76. J. D. JONES, 1825–1870.

:D | d :r | m :l | s :m | r :d | r :– | – || D | d :r | m :l | s :m | r :r | d :– | – ||
:$S_1$ | $l_1$:$t_1$ | d :d | $t_1$:d | $s_1$:$l_1$ | $t_1$:– | – || $S_1$ | $s_1$:$t_1$ | d :d | $t_1$:d | $l_1$:$s_1$ | $m_1$:– | – ||
:M | m :s | s :f | r :d | r :m.fe | s :– | – || M | s :f | m.s:f | r :d | d :$t_1$ | d :– | – ||
:D | $l_1$:$s_1$ | d :$f_1$ | $s_1$:d | $t_1$:$l_1$ | $s_1$:– | – || D | m :r | d :$f_1$ | $s_1$:$l_1$ | $f_1$:$s_1$ | $d_1$:– | – ||

:M | m :r | d :$t_1$ | $l_1$ :m | —:S | s :f | m :r | d :s | —:M | f :s | l :s
:$L_1$ | $l_1$:$se_1$ | $l_1$ :$m_1$ | $b_1$ :$se_1$ | —:$S_1$ | d :$t_1$ | d :$s_1$ | $l_1$ :$t_1$ | —:$S_1$ | d :d | d :$t_1$
:D | m :m | m :m | $l_1$ :$t_1$ | —:M | s :s | s :s | d :r | —:D | d :m | f :r
:$L_1$ | d :$t_1$ | $l_1$ :$s_1$ | $fe_1$:$m_1$ | —:D | m :r | d :$t_1$ | $l_1$ :$s_1$ | —:D.$ta_1$ | $l_1$:$s_1$ | $f_1$ :$s_1$

f :m | r :d | $t_1$ :— | — || $S_1$ | d :r | m :l | s :m | r :r | d :— | — ||
d .$s_1$:$s_1$ | $s_1$ :$m_1$.$fe_1$ | $s_1$ :— | — || $S_1$ | $s_1$ :$t_1$ | d :d | $t_1$ :d | $l_1$ :$s_1$ | $m_1$ :— | — ||
d .r :m.f | s :d | r :— | — || R | m :s | s :f | r :d | d :$t_1$ | d :— | — ||
$l_1$.$t_1$:d | $t_1$ :$l_1$ | $s_1$ :— | — || $F_1$ | $m_1$ :$r_1$ | $d_1$ :$f_1$ | $s_1$ :$l_1$ | $f_1$ :$s_1$ | $d_1$ :— | — ||

## 1036 *Trefn i faddeu pechod.*

*mf* CAED trefn i faddeu pechod,
Yn yr Iawn;
Mae iachawdwriaeth barod
Yn yr Iawn;
Mae'r ddeddf o dan ei choron,
*cres.* Cyfiawnder yn dweyd, 'Digon!'
A'r Tad yn gwaeddi 'Boddlon!'
Yn yr Iawn;
*f* A 'Diolch byth,' medd Seion,
Am yr Iawn.

*mf* Symudodd Iesu'r gollfarn,
Llawenhawn;
Ein cymorth sy ar Un cadarn,
Llawenhawn;
Mae heddyw alwad ato,
*cres.* Mae bythol fywyd ynddo;
Ni chollir neb a gredo—
Llawenhawn!
*f* Gan lwyr ymroddi iddo—
Llawenhawn!

W. W., LL.

## 1037 *Y wlad well.*

*mf* AWN drosodd ar ein cyfer,
Tua'r wlad;
Tu draw i bob cyfyngder,
Tua'r wlad;
I nofio mewn dyddanwch,
*cres.* Llawenydd byth heb dristwch,
Uwch cyrhaedd aflonyddwch;
Tua'r wlad,
*f* Dewch, etifeddion heddwch,
Tua'r wlad.

*mf* Mae gwaredigaeth Seion,
Yn nesâu,
O! canwn, bererinion,
Mae'n nesâu:
Mae'r haul yn rhifo'r dyddiau,
*cres.* Daw terfyn i'n blinderau,
Y wlad tuhwnt i angeu
Sy'n nesâu,
*f* Yr etifeddiaeth oreu
Sy'n nesâu.

M. R.

## 1038 *Dysg i mi dy ffyrdd.*

*mf* O DDUW! dysg imi rodio,
Yn dy ffyrdd,
Dy Ysbryd a'm tywyso
Yn dy ffyrdd;
*mp* Mae'r byd a'i swynion hudol,
*cres.* Yn llawn peryglon marwol,
O! cadw fi'n wastadol,
Yn dy ffyrdd;
*f* Mae diogelwch bythol
Yn dy ffyrdd.

M.

